# HYFFORDDWR

YR

# EFRYDYDD,

NEU

# ARWEINYDD I HUNAN-WELLIANT,

YN DDWY RAN.

*Gan* JOHN MILLS, *(Ieuan Glan Alarch,)*
AWDWR Y GRAMADEG CERDDORIAETH.

*Penaf peth yw doethineb: cais ddoethineb; ac â'th holl gyfoeth cais ddeall.*—SOLOMON.

ALBION-WASG:

LLANIDLOES, ARGRAFFWYD DROS YR AWDWR,
GAN JOHN JONES.

I'w gael gan yr Awdwr yn Llanidloes, yn Swyddfäau y Cyhoeddiadau Misol, a chan Lyfrwerthwyr Cymru yn gyffredin.

MDCCCXXXIX.

I'R

PARCHEDIGION LEWIS EDWARDS, A. C.,

A DAVID CHARLES, G. C.,

Athrawon Athrofa y Bala,

**Y Cyflwynir y Gwaith hwn,**

Fel gwir arwydd o barch a chyfeillgarwch, yn nghyda syniadau uchel am eu dysgeidiaeth eang a chywir, a defnyddiad yr unrhyw i'r dybenion a'r gwasanaeth goraf,

GAN EU HANNHEILWNG

GYFAILL,

YR AWDWR.

# RHAGYMADRODD.

FY NGHYDWLADWYR HYNAWS;

Fy unig reswm dros gyhoeddi HYFFORDDWR YR EFRYDYDD yw, nad oes yr un llyfr yn ein Hiaith hyd yn hyn, wedi ei amcanu i ateb y dyben yr amcenir i'r Hyfforddwr ei gyflawni. A bod arnom wir angenrheidrwydd, fel Cenedl, am lyfr o gyffelyb natur, sydd yn wirionedd rhy amlwg i neb allu ei wadu. Canys cyn cychwyn i unrhyw daith ddyeithr, y mae yn angenrheidiol cael cyfarwyddiadau priodol i arwain yn ddiogel yn y ffordd. Trwy hyny arbedir llawer o draul, o amser, ac o drafferth; ac arweinir y teithiwr yn fwy uniongyrchiol a sicr at y nôd. Dyma brif ddyben HYFFORDDWR YR EFRYDYDD, ac nid gormod yw dweyd, yr etyb yr amcan yn gyflawn.

Cydnebydd yr awdwr yn rhwydd mai nid gwaith cyntefig ydyw, ond mai cyfieithiad a detholiad yw o waith amryw, yn nghyda rhai sylwadau a darnau cyntefig.

Y rhan gyntaf sy gyfieithiad hollol o waith enwog y Parch J. Todd, o America; a'r ail yn ddetholiad, yn benaf, o weithiau Campbell, Watts, Locke, Chambers, &c. Felly nid yw yr HYFFORDDWR yn ddim amgen na chrynoad o geinion yr awduron a gydnabyddir yn Ewrop ac America fel rhai o brif enwogion yr oesoedd.

Mewn perthynas i'r cyfieithiad a'r iaith, hyderwn y rhoddant foddhad cyffredinol. Fe allai mai nid anmhriodol yma fyddai ailadrodd golygiad byr un berniad cyhoeddus, yr hwn a ddywed fel y canlyn :—"Darllenasom Todd yn Saesoneg gyda'r hyfrydwch a'r buddioldeb mwyaf, a da genym weled nad yw ei sylwadau yn COLLI DIM O'U DILLYNDER MEWN DIWYG GYMREIG. Y mae yr iaith yn bur, ac eto yn ddealladwy, heb y clampiau o eiriau clogyrnaidd a thywyllion sydd yn anffurfio ysgrifeniadau rhai a fynent fod yn awduron yn Nghymru."

Ein prif ddymuniad yw, am iddo fod o les a buddioldeb cyffredinol i'n Cenedl; ac yn wir, y mae genym le cadarn i feddwl y bydd felly. Ac fe ddywed un berniad cyhoeddus, y bydd "yn fwy tebyg o lesâu y genedl ieuanc ymofyngar ag sydd yn awr yn cyfodi i fyny yn Nghymru, NA DIM *a gyhoeddwyd, efallai, erioed o'r blaen.*"

Dan obaith a hyder cryf mai felly y bydd, y gorphwys ar hyn o bryd, fy nghydgenedl hawddgar,

Eich annheilwng wasanaethydd,

I. G. ALARCH.

*Llanidloes,*
*Mawrth* 22, 1839.

# CYNWYSIAD.

## RHAN I.

## RHAN II.

### PENNOD I.



### PENNOD II.



### PENNOD III.



### PENNOD IV.



### PENNOD V.

# HYFFORDDWR YR EFRYDYDD,

ETC. ETC.

## PENNOD I.

DYBEN CYFFREDINOL—ANGENRHEIDRWYDD AM GYFARWYDDIADAU—ATHRYLITH—RHEOLI Y MEDDWL—AMYNEDD—CYNTEFIGRWYDD—FFURFIO Y FARN—Y NATUR DDYNOL—HUNAN-ADNABYDDIAETH—Y COF—DIWEDDGLO.

.I Y MEDDWL dynol yw y danghosiad mwyaf ysplenydd o allu a dyfais y Meddwl Anfeidrol o unrhyw beth y gwyddom am dano. Y mae wedi ei greu a'i osod yn y byd hwn i gael ei addysgu erbyn sefyllfa uwch mewn bodoliaeth. Yma y mae ei alluoedd yn dechreu ymagori. Y dyben mawr a ddylai fod mewn golwg wrth hyfforddi y fath feddwl, ydyw galluogi yr enaid i gyflawni ei ddyledswydd yn y byd hwn, ac i sefyll ar dir manteisiol pan y cymer ei ehediad o'r bywyd byr yma i fyw am oes yr oesoedd tudraw i'r bedd.

II. Y mae ambell lanc yn awr a phryd arall fel Ferguson, yr hwn a allai nodi yn fanwl sefyllfaoedd y ser gydag edaf a phellen, wrth fugeilio y defaid; a gwneyd oriawr bren â chyllell. Ond y mae anghreifftiau o'r fath yma yn anaml iawn. Y mae yn angenrheidiol i'r rhan fwyaf gael cefnogaeth i'w cynal—dysgiad i'w cynorthwyo—a chyfarwyddiadau i'w harwain. Ychydig a fu erioed, y mae yn debyg, a gyflawnasant hanner cymaint ag y bwriadasant, ac, efallai, a ddylasent ei wneyd. Un rheswm am hyny ydyw hyn:—Y mae efrydyddion yn treulio llawer iawn o amser cyn cyraedd y profiad sydd yn angenrheidiol iddynt. Pan yr edrychwyf yn ol ar y dyddiau pryd yr oeddwn yn efrydydd, yr wyf yn gweled i mi fyned yn gyfeiliornus mewn un man, a chamgymeryd mewn man arall—yma y collais gyfleusdra hoff, ac yna y dysgais arfer ddrwg, neu y derbyniais dueddiad cyfeiliornus. Ac weithiau teimlwyf alar dwys nad allaf fyned yn ol a dechreu bywyd eto, a dwyn fy mhrofiad presenol gyda fi.

Diamau fod lluaws yn awr yn cael eu haddysgu mewn gwahanol leoedd, na chyrhaeddant ddim byd yn neillduol byth. Y mae yn debyg nad all rhai; ond y mae y rhai hyny yn bur anaml. Ychydig iawn sydd, nad allant gyraedd tir uchel mewn rhyw ddysg neu gilydd. Ac y mae yn debyg fod y rhan fwyaf a ddarllenant y tudalenau hyn yn teimlo awydd, i raddau mwy neu lai, i gael eu haddasu i fod yn wir ddefnyddiol yn eu tymmor byr ar y ddaear. Ond y maent yn anwybodus am y ffordd. Y maent gwedi eu hamgylchu âg hudoliaethau a pheryglon—yn dra thueddol i annghofio pob cefnogaeth a chymhelliad—ac felly yn gwibio rhwng ofn a gobaith, a rhwng ymroad a digalondid.

Nid oes yr un dyn, pa mor enwog bynag y byddo o ran ei gyraeddiadau—o ran ei arferion efrydyddol—neu o ran ei allu i ddefnyddio yr hyn a wyr,—na ofidia wrth gofio yr hyn a aeth heibio, ac na addefa yn rhwydd iddo wastraffu llawer darn o'i amser gwerthfawr, a gadael i gyfleusderau aml fyned ymaith ar goll dros byth. Ond pe buasai iddo afaelu yn y cyfleusderau byr hyny, a chasglu yn nghyd yr holl ddarnau amser a gollwyd, gallasai dreiddio mewn ymchwiliadau i faesydd newyddion; ac, fel yr anfarwol Bacon, gruglwytho trysorau anmhrisiadwy mewn gwybodaeth. Y mae yr enwogion galluog a fuont o'n blaen gwedi gadael trysorau yn etifeddiaeth i ni. Ac y mae yr aur puraf i'w gael, ond cloddio am dano. Y fath wahaniaeth dirfawr sy rhwng yr Indiad noeth yn dawnsio mewn llawenydd wrth gael pluen newydd i'w gwisgo ar ei ben, a meddyliau y fath ddynion a Newton a Boyle. Ond beth sydd yn gwneyd y gwahaniaeth? Y mae digon o feddwl yn y gwylltddyn. Y mae ei enaid yn debyg i gareg farmoraidd—y mae yn ddefnydd godidog; ond nid yw y cerfiwr erioed wedi gosod ei gŷn arno. Ni chafodd meddwl y gwylltddyn erioed ei ddysgyblu trwy efryd: ac felly mewn cymhariaeth y mae fel y bual, heb ddim yn neillduol ynddo ond nerth a ffyrnigrwydd.

Nid fy amcan yn bresenol yw trin y cwestiwn, a ydyw eneidiau dynion yn gydradd yn naturiol, ai nad ynt? Pe gellid profi i sicrwydd fod hyny yn bod, ni fyddai o un defnydd yn y byd, gan fod peiriannaeth

eu cyrff mor wahanol, fel nad allai yr un hyfforddiant eu dwyn yr un fel. Ond meddyliwyf y gellir sicrhau hyn, fod gan bawb yn gyffredin ddigon o allu naturiol i ragori mewn rhyw beth. Efallai nas rhagorwch mewn gwyddoniaeth *(mathematics)*, nac fel ysgrifenydd, nac areithiwr; ond yr wyf yn hollol gredu fod pob un o'm darllenwyr yn alluog i ragori mewn rhyw bwnc; ac yn sicr o wneyd hefyd, os bydd yn ffyddlawn tuag ato ei hun.

Pan y rhoddwyd Clavius gyntaf dan ofal y Jesuitiaid, nid oedd dim hynod yn perthyn iddo, ond ei bendewrwydd. Er i'r athrawon yma ei brofi dro ar ol tro, yr oedd y cwbl yn ofer. Ond bychan yr oeddent yn meddwl mai yr anrhydedd o fod yn athrawon iddo ef, a ddyrchafai eu hurdd hwynt yn ngolwg y byd. O'r diwedd gwnaeth un o'r tadau brawf arno mewn mesuriaeth, yr hyn oedd yn cyd-daro mor gywir â'i athrylith, fel y daeth yn un o brif wyddonwyr yr oes.

Mi a welais fachgen bychan unwaith yn dringo mellt-lath,* a miloedd yn edrych arno mewn syndod. Yr oedd y gwynt yn chwythu yn gryf, a'r wialen yn crynu ac yn ysgwyd: ond i fyny yr aeth, nes cyraedd y droell ar y brig, yn nghylch 195 troedfedd oddiwrth y ddaear. Dysgwyliai pawb ei weled yn cwympo bob meidyn *(moment)*. Ond i chwanegu y rhyfeddod yn ddirfawr, esgynodd i'r droell, a chwyfiodd ei freichiau bychain yn y gwynt, gan droi mor chwyrn a'r droell. Ar ol aros yno am dro, daeth i lawr wrth ei bleser. Yr oedd gan hwn feddwl digon galluog i gyflawni gorchestwaith; er hyny ni chlybuwyd dim am dano hyd yn hyn. Ond paham? Naill ai y mae ei feddwl heb gael ei ddiwyllio *(cultivate)*, neu y mae ei athrylith heb ei arwain i ffrydle priodol.

III. Yr wyf wedi defnyddio gair peryglus, er ei fod yn hen iawn: y gair *athrylith*. Y mae llawer yn dwyn eu hunain i fyny mewn arferion afreolus a digrif, gan dybied fod y cyfryw yn anwahanol oddiwrth athrylith. Y mae rhai dynion yn meddwl nad oes dim yn dangos athrylith yn well na gwneyd pethau cyffredin mewn

* Gwialen haiarn yn nglyn âg adeilad, i'r dyben o arwain y mellt i'r ddaear rhag ei niweidio.

dull annghyffredin. Y mae Dean Swifft, yn ei deithiau, yn adrodd am genedl gyflawn yn meddu yr athrylith yma. Na wnewch un ymdrech byth i geisio dangos athrylith, ac na hònwch hawl i'r fath nodweddiad. Ychydig o'r fath yma a enir i'r byd; ac o'r ychydig hyny, er eu bod yn wrthddrychau cenfigen ac efelychiant, ychydig eilwaith sydd yn gadael y byd yn ddoethach neu yn well na'r hyn y cawsant o. Nid dyben efryd yw chwilio am athrylith; ond cymhwyso meddyliau cyffredin i fod yn ddefnyddiol. Nid oes dim a chwennychir yn fwy gan lawer dyn ieuanc, na'r nodweddiad o fod yn athrylithgar; a thybia llawer un fod diffyg amynedd i lafurio yn galed, ac i wneyd ymchwiliad dwfn, yn arwydd sicr o athrylith; pryd yr oedd gwir athrylith Syr Isaac Newton yn addef, gyda lledneisrwydd boneddigaidd, mai yr unig wahaniaeth rhwng ei feddwl ef a meddyliau pobl ereill oedd, fod ganddo ef fwy o amynedd. Gall fod genych feddwl da, barn gywir, dychymyg bywiog, neu olygiadau eang; ond coeliwch fi, y mae yn bur debyg nad oes genych athrylith, ac na ddeuwch byth i ddim enwogrwydd ond trwy ymroad diflin. Gan hyny, beth bynag a feddiennir genych byth, rhaid ei fod yn ffrwyth llafur—llafur caled a diflino. Gellwch gael cyfeillion i'ch lloni yn y blaen, a llyfrau ac athrawon i'ch cynorthwyo, yn nghyda lluaws o gyfnerthwyr; ond cofiwch, er y cwbl, mai eich gwaith chwi eich hunan yw llywodraethu a dysgyblu eich meddwl. Nid oes neb a all wneyd hyn yn eich lle. Ac nid oes dim yn y byd hwn o nemawr werth, os na thelir am dano â llafur. Sicrha Johnson, os myn neb fod yn feistr ar yr iaith Saesonig, bod yn rhaid iddo roi ei ddyddiau a'i nosweithiau i ddarllen Addison. Ond y mae hyn yn fwy sicr—os myn rhyw un fod yn wir alluog, rhaid iddo lafurio am hyny. Nid oes gwir ragoroldeb, heb efrydiad amyneddgar. Nid yw y rhai hyny ag ydynt gwedi codi yn awr a phryd arall yn y byd, heb addysg nac efryd, gwedi taenu ond goleuni pur amheuol, a hwnw ond megys dros feidyn.

Gosodwch hyn i lawr fel gwirionedd di-eithriad, fod yn rhaid i ni lafurio am yr hyn oll a gawn; ac nad oes dim yn werth ei feddiannu na'i gynyg i ereill, os na fydd yn costio dim i ni. Dywed Gilbert Wakefield

wrthym, iddo ef ysgrifenu ei gofiant ei hun *(cyfrol fawr, wythblyg)* mewn chwech neu wyth niwrnod. Ni chostiodd nemawr iddo ef; ac, fel y mae yn naturiol meddwl, nid yw yn werth dim i ereill. Gellwch ystwyro *(yawn)* ugeiniau o'r fath lyfrau i fodoliaeth: ond pwy a fyddai yn ddoethach neu yn well oddiwrthynt? Yr ydym oll yn hoffi yr aur, ond yn ofni cloddio am dano. Yr wyf wedi meddwl lawer gwaith, fod arwyddair un o brif ysgolheigion America yn un hynod o addas. Mor agos ag y gallwyf gofio, llun mynydd ydyw, a dyn wrth ei waelod, ei het a'i hugan ar y llawr wrth ei ymyl, a chaib yn ei ddwylaw; ac fel y mae yn ceibio, ergyd ar ol ergyd, ymddengys ei olwg amyneddgar yn debyg i'w eiriau, *Peu et peu*, Yn ychydig ac ychydig. Felly y mae gyda'r efrydydd —y mae gorchestion mwyaf y meddwl yn cael eu cyflawni yn raddol ar un llaw, a diflino ar y llaw arall.

IV. Nod blaenaf addysg ydyw rheoli y meddwl. Y mae fel llwdn wrth natur, yn wyllt a dilywodraeth. Cymered unrhyw ddyn (nad yw wedi darostwng ei feddwl i raddau mwy neu lai) ryw bwnc i geisio ei fyfyrio ef yn ddwys ac i oleuni; y canlyniad fyddai, nad allai ef ddim dal ei feddwl ar y pwynt. Y mae yn hedeg ac yn gwibio ymaith. Y mae yn ei droi yn ol drachefn. Ond ar unwaith, bron yn ddiarwybod iddo, y mae yn cael ei hunan i ffwrdd eilwaith. Chwanega y drefn eto, nes o'r diwedd y mae yn ei rhoddi i fyny mewn digalondid, neu yn syrthio i gwsg. Clywais ddyn ieuanc yn achwyn unwaith, nad allai byth gadw ei feddwl yn sefydlog ar y pwynt; "Y mae yn treiglo ymaith, fel baril oddiwrth y pin;" a lled awgrymodd y gallai hyny fod oddiwrth fawredd ei feddwl ei hun. Ond yr oedd ef yn llawer mwy difrif wrth roddi y deongliad yma, nag oedd ei gymdeithaswyr wrth ei dderbyn. Pa nifer o feddyliau mawrion a fyddai yn y byd, pe bae arwydd o'r fath yma i ymddiried arno!

Y mae yn fwy o bwys i'r efrydydd ieuanc barotoi ei feddwl yn iawn erbyn amser dyfodol, na thrysori cruglwyth o wybodaeth. Fe fydd y greal yn sicr o lenwi: ac nis dylem fod yn rhy chwannog i'w lanw, tra yn ei barotoi i'w ddefnyddio. Y gorchwyl mawr yn bresenol

yw, gosod y meddwl ar lwybr y gellir teithio ynddo er budd trwy yr oes. Rhaid i chwi feddwl yn awr am gynyddu tra byddoch byw. Gan hyny, ymdrechwch ddysgu yn awr arferion efrydol, fel y bo eich gwaith yn efrydu yn ateb y gwir ddyben. Yr oedd Newton, pan yn bump a phedwar-ugain oed, yn diwygio ei Amseryddiaeth: ac yr oedd Waller yn ddwy a phedwar-ugain, heb golli dim o dân ei awen farddonol.

Gwnewch o yn brif amcan, bod yn alluog i osod a dal eich ystyriaeth ar destyn eich myfyrdod. Y mae y sawl a all wneyd hyn wedi gorchfygu llawer anhawsder mawr; a'r sawl nad all ei wneyd, ofer iddo ddysgwyl llwyddiant neillduol mewn unrhyw ran o'i efryd. I gyraedd yr iawn nod mewn myfyrio, rhaid i'r holl feddwl ddisgyn ar y pwynt. Os bydd rhyw wrthddrych yn chwareu ar y dychymyg, heblaw yr unig un a ddylai, y mae y meddwl wedi ei ranu, a thrwy hyny yn colli ei effaith.

Nid yw yr hyn a elwir yn gyffredin yn ddansoddiad *(abstraction)* mewn myfyrio, yn ddim amgen na bod y bryd wedi ymgymeryd yn hollol â'r hyn a fo mewn llaw, fel nad yw y meddwl yn dal sylw ar ddim tuallan iddo ei hun. Gwyddom am un o'r dynion mwyaf a gynyrchodd unrhyw wlad erioed, ei fod unwaith wedi ei feddiannu gymaint gan ei destyn wrth efrydu arno, fel yr aeth ei geffyl trwy lyn o ddwfr yn ddisylw iddo; ac er fod y dwfr yn cuddio y cyfrwy, eto yr oedd yn hollol anwybodus pa fodd yr oedd wedi gwlychu. Yr wyf yn crybwyll hyn, nid er cymeradwyo y fath ddansoddiad, ond i ddangos y bydd yr hwn a fyddo â'i fryd wedi ei sefydlu, ac yn gallu ei sefydlu pan y myno, yn ddilys o lwyddo yn ei efryd. Gadewch i mi ddywedyd wrthych, cyn myned yn mhellach, nad ellwch byth lywodraethu y bryd, os arferwch ymollwng gyda'ch blys a'ch nwydau. "Nid all yr un dyn," ebai un berniad rhagorol, "gyflawni dyledswyddau ei natur gyda manyledd a chysondeb, os bydd yn cael ei lywodraethu gan ei flys. Yr hwn a ddymunai fod uwchlaw rheolaeth pethau allanol, rhaid iddo yn gyntaf fod uwchlaw ei nwydau." Pam y mae y bachgen sydd â swm mawr ganddo ar ei lech, yn cuchio, yn dileu; yn dechreu eilwaith, ac yn digaloni? Nid yw eto

wedi dysgu llywodraethu ei fryd. Yr oedd yn dechreu yn rhagorol, ac yn myned yn mlaen felly, hyd nes i ryw dyb newydd ymsaethu i'w feddwl, neu ryw wrthddrych newydd ddenu ei lygaid; ac yna collodd y drefn yn y fan. Pam y mae y gair Groeg neu Ladin yna wedi eich dyrysu gymaint, fel y bu raid i chwi droi i'r geirlyfr ddeg neu ddeuddeg o weithiau? a phaham yr ydych yn edrych arno eto fel un dyeithr, pan y dylasech fod yn eithaf cydnabyddus âg ef? Y rheswm yw, am nad ydych eto wedi cyraedd yn hollol y gallu i sefydlu eich bryd. Buasai y gair yna wedi ei gofio er ys amser maith, oni buasai fyned heibio y meddwl fel cysgod pan edrychwyd arno.

Ond odid mai yr anhawsder i gaethiwo y meddwl oedd yr achos i Demosthenes gau ei hunan mewn ogof dywell er mwyn efrydu. Y mae hyn (mi feddyliwyf) yn egluro y ffaith, fod pob dyn a ddifeddiennir o'i olwg, yn rhagori mewn meddyliad, ac yn dangos mwy o nerth meddwl nag o'r blaen. Gwelais fechgyn lawer gwaith yn cymeryd eu llyfrau ar ddiwrnod hafaidd, gan wibio o'r tŷ i'r ardd neu y gelli, ac yn ol eilwaith, yn llawn anesmwythdra, gan ddysgwyl y buasai cyfnewidiad lle yn rhoddi gallu newydd iddynt ar eu bryd crwydrol, ac yn lleihau yr anesmwythdra annarluniadwy sy mor gysylltedig â'r ymdrechion cyntaf i ddarostwng y meddwl. Y mae yn annichonadwy i chwi ddianc oddiarnoch eich hunan; gan hyny y ffordd oraf ydyw, i chwi ymneillduo i'ch ystafell, ac yno roddi eich meddwl ar ryw dasg galed, ac ymdrechu â hi nes ei gorchfygu; ac wedi i chwi gael y crwydriad i ufyddhau i chwi unwaith, fe fydd yn fwy parod i wneyd hyny y tro nesaf.

V. Rhinwedd o'r un dras eto yw amynedd; ac hebddo nid ellir dweyd fod y meddwl wedi ei ddysgyblu. Y mae llafur ac ymchwiliad amyneddgar, nid yn unig yn hanfodol i lwyddo mewn efryd, ond hefyd yn sicrwydd anffaeledig y llwyddir. Y mae y dyn ieuanc mewn perygl rhag teimlo y dyg ef ryw beth newydd i oleuni. Y mae ei ysbryd yn nwyfus, a'i obaith yn dra gwresog. Nis gwyr am y teimlad gofidus sydd yn nglŷn â chael ei orchfygu ganddo ef ei hun. Efe a ruthra ar y byd ar unwaith, gan daro âg ergydion cawr,

tra nad yw ei fraich ond eiddo plentyn. Nid yw ef i ddringo yn raddol i fyny y mynydd—i aros blynyddau o hunan-ddysgyblaeth, efryd amyneddgar, a llafur caled—nac ydyw ef! ond cyn i chwi erioed feddwl, fe fydd ar gopa y mynydd uwchaf, mewn teimlad goruchel, yn edrych i lawr ar yr ymlusgwyr islaw! Fel hyn y mae lluaws yn difrodi eu hamser, ac yn darnio eu hoes ymaith, i wneyd dim; ond dysgwyl am adeg fanteisiol i gyflawni rhyw beth mawr ac ardderchog. Pan y delont allan, rhaid fod hyny mewn rhyw ymdrech mawr. Nid yw y goeden i dyfu yn araf a graddol; na, rhaid i'r planigyn ieuanc gael ei lwytho â ffrwythau y pren triugain mlwydd oed! Ha! ni fydd coed gwedi eu planu a'u dyfrhau â dysgwyliadau o'r fath yma, byth mwy na chorachiaid *(dwarfs).* Dylai pob dyn ieuanc gofio, fod yn rhaid i'r sawl a gario yr ŷch, godi y llo bob dydd i'w ysgwydd. Y dyn mawr hwnw, Syr Isaac Newton, wrth droi i'w efrydfa un tro, a chael fod ei gi bychan wedi dymchwelyd y bwrdd, a bod y papyrau y bu wrthynt am flynyddoedd gwedi eu llosgi, a ddywedodd yn ddigyffro, "Diamond, ni wyddost ti y drwg a wnaethost!" Danghosodd enaid mawr yn wir; ac yr oedd ei fawredd yn yr anghraifft yma yn gynwysedig mewn amynedd. Eisteddodd i lawr yn ddirwgnach, i wneyd yr un llafurwaith drosodd eilwaith. Bu fyw i'w gyflawni, ac yr oedd yn rhyfeddod y byd dysgedig Ond ychydig a feddynt yr amynedd i eistedd i lawr fel hyn i lafurio, ddydd ar ol dydd, am flynyddoedd. Nid rhan ddibwys mewn addysg yw meithrin a ffurfio cymeriad o'r fath yma.

VI. Dylai yr efrydydd arfer meddwl a gweithredu iddo ei hun. Y mae gwir gyntefigrwydd yn gynwysedig mewn gwneyd peth yn dda, a'i wneyd yn eich ffordd a'ch llwybr eich hunan. Y mae yr hannerddysgedig yn gyffredin iawn yn efelychu *(imitate)* rhai ereill. Ni ddaeth neb erioed yn wir fawr drwy efelychiad. Ac un rheswm am hyny ydyw hyn, fod yn hawddach cynelwi *(copy)* diffygion a rhanau beius nodweddiad dyn enwog, nag efelychu ei ragoriaethau. Y mae llawer iawn yn gwastraffu eu bywyd, ac yn colli pob dysgyblaeth a gwelliant yn ddifeddwl iddynt

eu hunain, trwy yr arferiad rhith-hawlus hwn. Yn mhlith y lluaws a efelychasant Johnson, a fu un o honynt yn feddiannol ar rywbeth heblaw ei iaith rwysgfawr a chwyddedig? Ymddanghosent fel rhai yn trin pastwn Herculus; ond yr oedd y pastwn yn gau *(hollow)* yn mhob anghraifft; ac nid oedd dim yn deilliaw o'r ergyd ond swn yn unig. Ac yn mhlith yr aml un a geisiodd ganlyn Byron yn ei wylnos *(wake)*, a oes rhywun a bywyd y gân ganddo? Dim un. Nid allent gynelwi dim ond ei fesur a'i ddrygioni—benthyca ei waeledd, heb ei athrylith. Y mae y llew ei hunan yn llygru yn gyflym; ond ni fydd dim mêl i'w gael yn ei ysgerbwd ef. Ac am ei ganlynwyr, y mae y byd wedi ei ryddhau oddiwrth eu melldith, trwy eu bod yn syrthio ymaith cyn iddynt allu llygru yr awyrgylch moesol. Y mae yn llawer iawn hawddach efelychu a benthyca mater a dull, na'i gael o'ch eiddo eich hunan. Ond cofiwch hyn, a gosodwch i lawr fel gwirionedd anwadadwy, na chyrhaeddodd un efelychwr erioed ragoroldeb gwirioneddol—na dim byd tebyg i hyny. Rhaid i chwi gael nodweddiad o'r eiddoch eich hunan, a rheolau i lywodraethu y nodweddiad hyny. Cofier hyn eto, nad ellir cynelwi mawredd na daioni drwy unrhyw ymdrech o ba natur bynag; ond rhaid i ni ei gaffael yn unig trwy ein diwydrwydd a'n hamynedd ein hunain.

VII. Dyben arall mewn efryd ydyw ffurfio y farn, fel y gallo y meddwl nid yn unig chwilio i farnau a golygiadau, ond hefyd eu pwyso a'u mantoli. Heb hyn nid ellir byth benderfynu beth i'w ddarllen, na pheth i'w droi o'r neilldu—pa awdwr i'w gredu na'i anghredu—na pha bwnc i'w dderbyn na'i wrthod. Y mae rhai o'r dynion mwyaf llafurus, a'r darllenwyr mwyaf diwyd, yn treulio eu bywyd, ac yn myned trwy eu hoes yn llwyr, heb gyflawni dim byd dymunol, a hyny o eisiau y gallu yma yn y meddwl. Y golygiad diweddaf a glywant yw yr un iawn, pa mor ddiffygiol bynag y byddo mewn prawfiadau cywir. Y llyfr diweddaf a ddarllenant yw y rhyfeddaf, er efallai ei fod yn hollol ddiwerth. Y cyfaill diweddaf yw y gwerthfawrocaf, o herwydd na wyddys cymaint am dano. Dyma'r achos yr erlynir cymaint ar ol gwrthddrychau

nad ynt o un defnydd yn y byd. Y mae math o lafur sydd yn anaddasu y meddwl at ddim gwerthfawr—math o lafur ofer ydyw. Y mae yn arwain i faes eang; ond ei fod yn un diffrwyth a nychlyd. "Gwelais fugail unwaith," ebai awdwr Eidalaidd, "yr hwn a arferai ymddifyru tra wrtho ei hunan, trwy daflu wyau i fyny bob yn ail, a'u dal eilwaith heb eu tori. Yr oedd wedi cyraedd y fath raddau o berffeithrwydd, fel y gallasai gadw pedwar i fyny ar unwaith, dros amryw fynydiau yn olynol, i chwareu yn yr awyr, ac i ddisgyn i'w ddwylaw bob un yn ei dro. Meddyliwyf na welais erioed fwy o lymdra nag yn ngolwg y dyn hwnw; a hyny o herwydd ei ymroddiad a'i ddiwydrwydd rhyfeddol yn yr arferiad crybwylledig. Nid allaf lai na meddwl yn aml, ynof fy hunan, y gallasai y fath ddiwydrwydd ac ystyriaeth, gydag ymroddiad bywiog, ei wneyd yn fwy gwyddonydd nag Archimedes." Yr oeddwn yn adnabod bachgen a dreuliai gymaint o amser i ddysgu darllen â'r pen chwith o'r llyfr i fyny (yr hyn a wnai gyda rhwyddineb mawr) ag a'i gwnelsai yn gyfarwydd â holl egwyddorion gramadeg iaith. Y mae yr un peth, o ran egwyddor, yn cael ei wneyd yn barhaus. Nid treulio amser yn ofer yn unig yw hyn; ond y mae yn magu ac yn meithrin chwaeth at bethau o'r ffordd, ac at gyraeddiadau diles. Nid rhan fechan o addysg ac efryd yw deall beth sydd, a pheth nad yw, yn angenrheidiol ei wybod.

Od oes rhyw beth a ddywedais wedi gadael tybiad yn meddwl y darllenydd fy mod yn golygu nad yw yn angenrheidiol i ddyn fod yn gydnabyddus â chylch eang mewn gwybodaeth, i'r dyben iddo fod yn wir alluog; y mae hyny yn gamgasgliad, ac hyderwyf y symudir y cyfryw cyn terfyn ein hymddyddan. Y pwnc y dymunwn ei amlygu yma yw, mai prif ddyben yr efrydydd yn bresenol, yw parotoi ei feddwl i iawn arfer y defnyddiau *(materials)* a ellir eu casglu ar ol hyn, ac nid eu casglu yn awr. Dywedir fod un o ddynion hynotaf yr oes hon, yn rhyfeddol o ran y gallu yma. Pan y bydd arno angen am oleuni ar ryw bwnc, ymddengys ei fod yn gwybod yn arddifryd *(intuitive)* pa beth a'i gwasanaetha. Nid yw yn treiddio dros y cwbl y mae y dyn hwn neu y dyn arall wedi ei ysgrifenu;

ond, fel y llosgwydr, y mae ynddo ei hunan yn casglu goleuni a gwres o bob cwr, ac yn eu dwyn i lewen *(focus)* megys, nes llosgi a difa pob rhwystr fyddo ar ffordd y meddwl i weled a barnu y pwnc. Y mae gallu o'r fath yma yn annhraethol fwy gwerthfawr na holl ddarnau dysg a gwybodaeth a ellir eu trysori mewn meddwl amddifad o'r cyfryw allu.

Yr offeryn mawr i effeithio ar y byd yw y meddwl; a pho amlaf y defnyddir o, goraf oll ydyw. Ymddengys llawer malpai yn beryglus iddynt roddi eu holl alluoedd ar waith mewn un ymdrech. Rhaid iddynt gadw eu nerth at achosion mawrion: yn debyg fel y defnyddir y ceffyl, yn gymedrol a gofalus mewn amgylchiadau cyffredin, ond ei yspardunо ar achosion neillduol. Byddai hyn yn burion, pe bae galluoedd y meddwl yn debyg i esgyrn a gewynau y ceffyl. Y mae rhai wrth ddyfeisio pa mor lleied o ymdrech meddwl a wna y tro, a pha mor belled y gellir taenu ychydig o ddrychfeddyliau gweinion, yn ymddangos yn debycach i efryd-yddion nag un amser arall; fel pe bae arnynt ofn tasgu y meddwl yn rhy galed, neu yn rhy aml, rhag gwaghau ei stôr, neu wanhau ei allueddau. Nis hanner blygir y bwa, rhag, wrth ei ddirdynu, iddo golli ei nerth. Ond nid rhaid i chwi fod yn ofnus am y fath bethau. Wrth alw y meddwl i gyflawni ei orchestion uwchaf, a'i yspardunо hyd eithafoedd ei allu, yr ydych yn gwneyd caredigrwydd â chwi eich hunan: fe fydd y meddwl yn well trwy hyny. Ac os gwnewch hyn âg ef heddyw, fe fydd yn barotach i ufyddhau i chwi y fory. Cofiwch nad yw gwir ddysgyblaeth y meddwl yn gynwysedig mewn cyflawni rhyw orchest yn awr a phryd arall, ond yn hytrach mewn cael y meddwl i arferiad o gyflawni ymdrechion beunyddiol. Y mae perffeithrwydd meddwl dysgybledig yn gynwysedig, nid mewn bod yn alluog, ar ryw ddamwain neillduol, i gyffroi ei gyneddfau a dangos nerth cawraidd, ond mewn bod yn barod bob amser i weithio yr un faint yn yr un yspaid o amser. Hyn oedd prif ogoniant meddwl Syr Isaac Newton yn Mhrydain, a'r Dr. Porter yn America. Yr hwn sydd yn arfer ei feddwl i weithio yn ol rhyw gyffroadau, ac a raid aros am danynt, ni chyflawna ond ychydig iawn tra parhao ei oes.

VIII. Y mae myfyrio y natur ddynol yn rhan bwysig neillduol mewn addysg. Gwn fod llawer yn meddwl nad all neb ddeall dynion, ond y rhai hyny ag ydynt yn symud, yn gweithredu, ac yn ymdyru yn eu mysg. Addefaf yn rhwydd, fod hyn yn angenrheidiol er deall ffurfiau a dull masnach. Ond os na chyrhaedda yr efrydydd olygiadau eang ar y natur ddynol, y mae y bai yn aros wrth ei ddrws ef yn benaf. Gall dynion gweithgar, a masnachwyr diefrydol, farnu yn bur gywir am y dull a'r modd y gellir dysgwyl i ddynion ymddwyn a gweithredu mewn amgylchiadau penodol; ond er, yn y golygiadau hyn, i'w casgliadau fod yn gywir, eto nid ydynt hwy yn gweled egwyddorion y gweithrediadau, nac yn edrych mor ddwfn i'r enaid, a'r efrydydd treiddiol. Gadewch i ddyn diefrydol, beth bynag fyddo, gymeryd y gorchwyl mewn llaw i ddychwilio *(probe)* cydwybod unrhyw gynulleidfa; dichon iddo nodi y ffaith hyn a'r ffaith arall: ond a all efe ei wneyd mor effeithiol a'r hwn fyddo wedi myfyrio y natur ddynol—wedi ei dwys-ystyried yn ei holl gyfrinachau—ac wedi ei holrhain yn ei gwahanol droadau, yn ei efrydfa yn flaenorol? Ychydig o ddynion erioed a fuont yn ymsymud mor lleied yn mhlith dynion, a Jonathan Edwards. Ond a ddeallodd ef ddim o'r natur ddynol? A all rhywun ddarllen ei ysgrifau, ac amau am feidyn pa un a oedd yn deall natur dyn ai peidio? Pan y mae meddwl o'r fath yma yn tywallt ei holl rym ar y byd, nid yw yn camgymeryd mewn perthynas i egwyddorion gweithrediad. Gallasai fethu wrth brynu hugan *(coat)* neu geffyl, o herwydd na fu erioed yn dal sylw ar faterion mor fychain. Ond ni ddifynodd *(dissect)* un llawfeddyg erioed mo'r corff gyda mwy o gywirdeb a medrusrwydd, nag y mae ef wedi difynu yr enaid. Dywedir nad oedd Edwards yn adnabod ei fuch (*cattle*) ei hunan. Ond pwy yn y byd masnachol ac arian-gyrhaeddol sydd yn deall y natur ddynol gystal ag yr oedd ef? ac nid ef yn unig, ond dyma nodeb pob efrydydd cywir. Y mae yn gweithio ar egwyddorion dwfn y natur ddynol—egwyddorion na chyfnewidir gan amser, defod, nac amgylchiadau allanol. Dyma un rheswm pam yr anela y meddwl llythyrenol ei saeth yn aml i'r galon, tra byddo

y dyn anllythyrenol yn clecian ei fwa. Gwna yr olaf fwy o swn, ond dim sylwedd. Nid wyf yn amau na wena amryw wrth y drychfeddwl, fod yr efrydydd call yn deall dynolryw. Ond gellid gwenu yn llawn mor briodol ar yr athronydd, yr hwn, tra yn trin gwefrydd-iaeth *(electricity)* y daran-gwmwl, na wyddai pa amgylchiadau allanol a allasent gymeryd lle yn y cwmwl ar y pryd.

IX. Gwrthddrych penodol arall mewn efryd, yw hunan-adnabyddiaeth. Y mae rhai dynion gwedi ymgodi i sefyllfaoedd uchel mewn gwlad ac eglwys, heb nemor iawn o ddysgyblaeth meddwl. Ond coegathrawon ynt y rhan fwyaf, a hunan-ucheldybus—yn niffyg eu bod gwedi mesur eu hunain yn fanwl âg ereill, dro ar ol tro. Y mae o bwys mawr i chwi wybod, beth nad ellwch, yn gystal a pheth a ellwch ei wneyd. Trwy ddyfod i wrthdarawiad â meddyliau ereill, nid yn unig yr ydych yn blaenllymu y deall, ac yn awchlymu y meddwl; ond hefyd yr ydych yn ei gryfhau—ac yn dysgu bod yn llednais o barth i'ch galluoedd eich hun. Trwy gymdeithas fel yma, chwi a gyfarfyddwch â llawer yn meddiannu dealltwriaethau tra uchel—a chyraeddiadau pell tuhwnt i ddim o'r eiddoch chwi. Rhaid fod rhyw ddiffyg hanfodol yn natur y dyn a all gymdeithasu am flynyddoedd gydag efrydyddion caled, a theimlo yn niwedd yr amser ei fod yn bur gall a dysgedig, neu yn ddyn mawr iawn—pan nad yw ond wedi sangu megys ar drothwy dysgeidiaeth—dim ond megys edrych i fyny ar faes gwybodaeth a gwelliant, yr hwn sy mor ddiderfyn a chreadigaeth Duw. Ond pam y dylai dyn adnabod ei hun mor gywir? pa berygl sy pe bae yn gwerthfawrogi ei hun yn ormodol? Yr wyf yn ateb, os tyn efe hawl-lythyr yn fwy na'r adneu *(deposit)*, y bydd yn sicr o gael ei wrthdystio. Y mae cymaint o wagfost yn nghalon dyn, nes y goddefa iddo arddelwi mwy nag y caniata ei deilyngdod. Felly, os cydrestrwch chwithau eich hun â'r rhai hyny ynt yn gorbrisio eu hunain, chwi fyddwch yn sicr o ddinystrio eich defnyddioldeb a'ch dedwyddwch. Gall y dyn llednais (ac fe fydd yn sicr o wneyd) dynu llawer mwy ar gydymdeimlad ac ewyllys da dynolryw, nag y goddefir i'r hyf a'r coegfalch ei wneyd, er iddo

fod gymaint o ran ei gyraeddiadau. A thuag at i ledneisrwydd sefyll ar dir diysgog a gwirioneddol, rhaid iddo orphwys ar wybodaeth o honoch eich hunan. Canlyniad efryd yn unig fydd hyn. Yr oedd un athronydd mor lednais ac ymneillduedig yn ei ymddygiadau, er fod ei fri yn llanw holl Ewrop, fel y darfu i'w feistres tir gwyno drosto un diwrnod, gan ddywedyd, "Ni fydd y truan tylawd ddim mwy nag athronydd ar ol y cwbl."

X. Yr ydym mewn perygl mawr o esgeuluso y cof. Y mae yn rhy werthfawr i'w esgeuluso; canys y mae rhyfeddodau dirfawr yn cael eu cyflawni trwyddo weithiau. Yr hwn sy ganddo gof i afaelu gyda chrafanc haiarnaidd, i ddal yr hyn a ddarllena—y drychfeddyliau heb yr iaith; a barn i gymharu a phwyso—braidd y gall beidio â dyfod i enwogrwydd. Y mae ar lawer ofn cryfhau eu cof, rhag i hyny ddinystrio eu tueddiad a'u gallu i greu drychfeddyliau cyntefig—rhag i'r goleuni fod yn un hollol fenthyciol. Nid yw y perygl yn ymddangos i mi yn fawr, yn neillduol, gan y gellir sylwi, nad ydyw y rhai hyny ag ydynt yn ofni gymaint ddefnyddio y gyneddf hon, mewn un modd yn wrthddrychau cenfigen am eu cyntefigrwydd. Paham y casglwyd yn nghyd yr holl gruglwyth meddyliau, sylwadau, a phrawfiadau, a gorfforir mewn llyfrau, gan y meddyliau lluosog a aethant o'n blaen; os nad fel y gallwn ni eu defnyddio, a sefyll ar dir uchel, a gwthio ein llwybrau yn mhellach fyth i wledydd a gororau newyddion mewn gwybodaeth? Ac yn wir y mae swm gwirioneddol y tybiant cyntefig sydd yn myned trwy unrhyw feddwl unigol, yn llawer llai nag a ddychymygir yn aml. Pwy na wyr am y newydd-dra boddus a fwynheir gan y darllenydd ieuanc? Y mae y byd yn newydd iddo ef—y mae yn sangu ar dir newydd a swyngar. Clywais lawer o ddynion, pan gwedi cyraedd i gryn addfededd mewn dyddiau ac efryd, yn dymuno pe gallent gael yr un newydd-dra wrth ddarllen llyfr yn awr ag yr oeddent pan yn ieuanc. Wel, pam nad allant? Am nad yw llyfr newydd yn newydd iddynt hwy yn awr. Y maent gwedi gweled yr un drychfeddyliau, neu eu cysgod, lawer gwaith o'r blaen; ac y mae pob llyfr yn lleihau cynt-

efigrwydd yr un sydd yn ei ganlyn. Gan hyny, os nad oes cymaint o gyntefigrwydd mewn dynion a llyfrau ag y meddyliasoch ar y cyntaf, y canlyniad yw, mai y cof yw yr offeryn gogoneddus i gyfleu gwybodaeth o'r naill ddyn i'r llall. Y mae ei ddiwylliant o'r pwys mwyaf. Yr wyf yn crybwyllo hyn yn bresenol, nid i gyfarwyddo pa fodd i'w ddiwyllio, ond i ddwyn ei werth annhraethol i sylw yr efrydydd.

XI. Chwi a welwch oddiwrth yr hyn a ddywedais, mai dyben efryd yw dysgyblu y meddwl yn ei holl ymddygiadau—i ddangos iddo pa le i gael gafael mewn arfau—ac wedi eu cael, pa fodd i'w defnyddio. Nid y prif bwnc yn awr yw llanw y meddwl â gwybodaeth eang; ond ei wneyd yn debyg i sugnbeiriant (*pump*) da:—gellid ei sychu yn fuan oni bae ei fod yn cyraedd ffynnon anhespadwy islaw, a chanddo bob darpariaeth er llenwi ei hun mor gyflym ag y gwaghäer o. Os bydd i'r wybodaeth sydd yn awr mewn meddiant fyned ymaith fel agerdd, bydd yn sicr o ddychwelyd eilwaith at yr efrydydd diwyd, fel y tarth sydd yn cyfodi o'r môr, trwy ryw redle neu gilydd.

## PENNOD II.

CYNLLUNIAU—GWEITHGARWCH—DYBARWCH—MANYLEDD—CODI YN FORE—DYSGU ODDIWRTH BAWB—EGWYDDORION SEFYDLOG—SYMLANT A THLYSNI—GWNEYD POB PETH YN GYWIR—LLYWODRAETHU Y DYMHER—SADRWYDD BARN—RHIENI, CYFEILLION, A CHYMDEITHION.

GELLIR golygu fod yr holl nodweddiad yn gynwysedig yn y gair *ymarferion:* felly nid annghywir mewn rhyw olygiad yw dywedyd, "Mai bwrnel (*bundle*) o ymarferion yw dyn." Beth pe rhwymid chwi i wisgo coler haiarn am eich gwddwg, neu gadwyn am eich coes, trwy yr einioes; oni fyddai yn faich bob dydd ac awr o'ch bywyd? Codech y bore yn garcharor i'r gadwyn; a gorweddech y nos mewn blinder o herwydd y baich; ac ucheneidiech yn fwy gwasgedig wrth feddwl nad oedd gobaith am ryddhad. Mewn gwirionedd, ni

fyddai hyn yn fwy anhawdd ei ddwyn, na llawer o ymarferiadau ynt gan ddynion; ac ni fyddai yn fwy anhawdd ei symud ymaith.

Ffurfir ymarferiadau yn bur hawdd, yn neillduol rhai drwg: a'r hyn a ymddengys yn ddibwys heddyw, a ddaw yn fuan yn sefydlog, ac i'ch dal gyda nerth anorchfygol. Cofiwch fod y rhaff angor yn cael ei gwneyd trwy nyddu un edaf ar y tro; ond pan ei cwblheir, y mae y llong fwyaf mawreddus yn cydnabod ei gallu a'i llywodraeth, ac yn ufyddhau iddi.

Fe ffurfir ymarferion o ryw fath gan bob ieuant. Fe fydd ganddo rhyw lwybr penodol i ymagweddu ynddo: a pha un bynag ai da ai drwg, fe ddaw yr ymarferion hyn yn rhan o hono ei hunan cyn hir, ac yn fath o ail natur. Oni wyr pawb, y gwneir yr hen ŵr sydd wedi ymarfer â rhyw fan neillduol o'r aelwyd am o gylch triugain mlynedd o amser, yn bur annedwydd os gwneir iddo newid ei le? Efallai eich bod gwedi darllen am ryddhad yr hen garcharor yn y *Bastile*, yr hwn a ddymunodd gael dychwelyd i'w ddaeardy tywyll, o herwydd fod yr ymarferion a ffurfiodd yno mor gryf, fel yr oedd ei natur mewn perygl wrth geisio eu cyfnewid. Ond odid na chyfarfuasoch âg undyn yn ddeugain oed, nad oes ganddo ymarferion a barynt iddo alaru o'u plegid, ac ydynt yn attal ac yn niweidio llawer ar ei ddefnyddioldeb,—ond eto y maent mor gymhleth â'i natur, fel nad all dori trwyddynt; o'r hyn lleiaf, nid oes ganddo ddigon o wroldeb i geisio. Yr wyf yn dysgwyl i'r darllenydd ffurfio ymarferiadau. Yn wir yr wyf yn dymuno arnoch am wneyd hyny. Rhaid fod y dyn hwnw yn un cwla iawn ei nodweddiad, sydd yn byw mor ansefydlog nad oes ganddo ymarferion iddo ei hun. Ond fy nymuniad yw, i chwi ffurfio ymarferion *cywir*, y cyfryw a chwanegant at eich dedwyddwch a'ch defnyddioldeb bob dydd o'ch oes. Pe byddai rhyw ddyn yn myned i bwrcasu bwyell, a gwybod ei fod ef i weithio â hi trwy ei oes, oni fyddai y dyn hwnw yn awyddus iawn i ddewis un dda a chymhwys? Ond byddai hyn yn annhraethol lai ei bwysfawrogrwydd, na dewis ymarferion i'r enaid weithredu ynddynt. Y mae mor rhesymol i chwi ddysgwyl i'r corff gyflawni ei ddyledswyddau gyda

rhwyddineb a chysur tra mewn ten-wisg (*strait-jacket*), a dysgwyl i'r enaid gyflawni unrhyw beth mawr a rhinweddol, ar ol ei wisgo yn ymarferiadau llawer o ddynion.

Nac ofnwch yr antur o ffurfio unrhyw ymarferiad dymunol; canys fe ellir ei ffurfio, a hyny yn llawer hawddach nag y tybir ar y cyntaf. Bydded i'r un gwaith, neu ddyledswydd, ddychwelyd o gylch yr un amser bob dydd, ac yn fuan fe fydd yn fwy o hyfrydwch ei gyflawni nag ei adael heibio. Be waeth os bydd yn flin ar y cyntaf? ond boed mor flin ag y byddo, os dygir o i arferiad dyddiol yn ddidor am beth amser, fe fydd, nid yn unig yn hawdd i'w gyflawni, ond hefyd yn ddifyrwch mwyaf denol. Yn y dull yma y mae ein holl ymarferion yn cael eu ffurfio. Mi welais ddyn unwaith yn eistedd i lawr wrth fwrdd wedi ei hulio â lluaws o ddanteithion, ac yn dewis ei deisen forawl, heb ddim awydd na dymuniad am ddim arall. Cyn hyn, yr oedd yn nodedig am ei lythineb. "Mi aethym unwaith," medd un gŵr enwog, "i ymweled â charcharor o gryn enwogrwydd, yn un o garchardai y brifddinas, pan yn glaf mewn twymyn gewynol: yr oedd ei ystafell yn eithaf gwyll a phrudd, ac annghysur a dychryn yn ei amgylchynu; eto, fe ddywedodd wrthyf iddo adael y lle yn amser ei ryddhad gyda gradd o anewyllysgarwch. Yr oedd arferiad wedi ei gymodi â'r cyflychwyr (*twilight*) a wandywynai rhwng y barau haiarn ar ei barwydydd clytiog—â chaledrwydd ei wely—ac hyd yn nod â chaethiwed."

Yn awr mi a gaf nodi ymarferion a ymddangosynt i mi yn ddymunol ac addas iawn i chwi—ac ymdrechaf hefyd roddi cyfarwyddiadau priodol pa fodd i'w ffurfio.

I. *Mynwch gynllun yn mlaenllaw erbyn pob dydd.* —Dylai y cynlluniau hyn gael eu ffurfio yn hollol a pherffaith y prydnawn blaenorol; ac wrth godi yn y bore, eu darllen a'u hystyried, a dechreu gweithredu wrthynt yn ddioedi. Y mae yn syndod meddwl pa faint mwy a ellir ei wneyd mewn un diwrnod, wrth gael cynllun wedi ei ragdynu. Y mae felly yn mhob peth. Y bore heddyw yr oedd dyn yn tori llwybr trwy eira dwfn. Yr oedd yn oer anoddefadwy bron;

ac er ei fod yn gweithio fel am ei fywyd, yr oedd yn methu myned yn mlaen yn wych. Ond yn y man, wedi ymweithio allan o anadl, fe safodd, ac a nododd lẹd y llwybr â'i raw; ac wedi hyny nododd led pob rhawiaid, ac o ganlyniad gynwysedd yr eira yn mhob rhawiaid. Yr oedd wedi gwneyd mwy mewn pymtheg mynyd, yn grynoach ac yn hawddach, nag mewn deng mynyd ar hugain cyn gwneyd y cynllun. Yr wyf wedi profi fy hunan fod yn well o'r hanner i mi lafurio wrth gynllun nag hebddo. Ac fe ddysg profiad i bob dyn, ei fod yn fwy llwyddiannus yn ei holl waith, pan y mae yn ofalus am gadw trefn, ragor pan nad yw.

Nid yw cyfundraeth fel hon yn creu nodweddiad uchelseinaidd a thrystfawr. Wrth gadw o fewn terfynau y rhedle, fe ddaeth y ffrwd fechan yn afon fawr; a hynod mor ddystaw y mae yn cario y baich dirfawr o ddwfr, nes ei arllwys i'r môr. Efallai y digalonir chwi ar y cyntaf, o eisiau cyflawni yn berffaith y cwbl a nodwyd yn y cynllun. Ond chwi a gynyddwch y naill ddydd ar ol y llall wrth fyned yn mlaen; a chwi a ryfeddwch yn fuan wrth weled gymaint a ellir ei gyflawni.

II. *Ceisiwch yr ymarferiad o ddiwydrwydd diflino.*—Os ydych mor annedwydd a meddwl eich bod yn un athrylithgar, ac y daw pethau atoch, byddai yn dda i chwi ddidwyllo eich hun mor fuan ag sy ddichonadwy. Penderfynwch mai llafur diwyd yw y pris fydd raid i chwi ei dalu am y cwbl a gewch; gan hyny dechreuwch ar y gorchwyl yn ddioedi. Diwydrwydd mewn gorchwylion llai eu pwys, yw yr arweinydd sicraf i orchestwaith haeddbarchus. Y mae yn syndod meddwl gymaint y mae diwydrwydd yn alluog i'w gyflawni. Yr ydym yn rhyfeddu wrth yr holl gyfrolau a ysgrifenwyd gan ddynion yn yr oesoedd a aethant heibio. Ond y mae y gair *diwydrwydd* yn egluro yr holl ddirgelwch. Dywed Johnson, fod y sawl a gerddo yn fywiog am dair awr bob dydd, mewn saith mlynedd wedi teithio cymaint a chylched y ddaear. Nid oes yr un sefyllfa mor niweidiol i'r efrydydd a segurdod, nag yr un ymarferiad mor ddinystriol: ac eto nid oes dim yn hawddach i'w ymarferyd, na dim chwaith

yn anhawddach i'w symud ymaith. Y mae y dyn segur yn myned yn swrth yn raddol, ac yn Indiad yn ei deimladau, ac yn ddiarwybod iddo ei hun yn defnyddio ei ddireb—"Y mae yn well cerdded na rhedeg; ac yn well sefyll na cherdded; ac yn well eistedd na sefyll; ac yn well gorwedd nag eistedd." Nid oes neb yn teilyngu mwy o dosturi na'r dyn segur; canys, fel y dywedir fod difyrwch mewn gorphwyll na wyr neb am dano ond gorphwylliaid; felly y mae trueni mewn segurdod na phrofir gan neb ond y seguryn. Mi wn fod llawer yn *brysur*, ac heb fod yn ddiwyd. Ac y mae yn dygwydd yn aml, fod y rhai ag ydynt fwyaf brysgar a ffwdanus, yn mhell oddiwrth fod yn ddiwyd. Gall dyn ystyrgall weled y gwahaniaeth yn hawdd. Y mae yn naturiol i'r hwn sydd yn esgeuluso ei ddyledswydd ei hun, geisio llanw ei feddwl â rhywbeth a gadwo allan bob cof ac ystyriaeth am ei ffolineb; ac y mae yn gwneyd pob peth, ond yr hyn a ddylai, gydag awydd mawr, er mwyn cadw ei hun mewn parch âg ef ei hunan.

Y mae yn eithaf amlwg, mai gan y diwyd y mae mwyaf o seibiant; canys y mae ei amser ef wedi ei ranu i ddospeirth gwahanol, a rhywbeth wedi ei barotoi gogyfer â phob dosparth; a phan y cyflawnir hyny, y mae gan y dyn seibiant. Ond y mae rhyw dawelwch marwaidd yn ngafael â'r sawl sydd yn byw bywyd segur. Y mae yn well i'r dyfroedd dori dros y ceulanau, na bod yn rhy farwaidd i symud. Sicrha Seneca, mewn llythyr at ei gyfaill, nad oedd un diwrnod yn myned heibio heb ei fod ef naill ai yn ysgrifenu rhywbeth, neu yn darllen ac yn talfyru rhyw awdwr da. Chwi a ryfeddech wrth ystyried gymaint o oriau ynt yn llithro ymaith yn ddiddefnydd o afael y dyn nad yw yn treulio ei amser mewn diwydrwydd rheolaidd a chyfundraethol. Adroddir am y rhagorol Rutherford, "Fod ei ddyfalwch a'i astudrwydd gymaint, fel y gellid meddwl ei fod yn gweddio yn wastadol—yn pregethu yn wastadol—yn egwyddori yn wastadol—ac yn ymweled â'r claf; yn cynghori o dŷ i dŷ; athrawu cymaint yn yr ysgolion; ac yn treulio cymaint o amser gyda phregethwyr ieuainc, i'w haddasu i waith y weinidogaeth,—fel pe buasai wedi ym-

neillduo oddiwrth bob peth ond hyny; ac eto yn ysgrifenu cymaint a phe buasai yn wastadol yn ei efrydfa."

Y mae yn ddigon hawdd i'r efrydydd ffurfio cynlluniau efrydol, ac ymarferion dyddiol, a'u hysgrifenu yn eithaf cywir a rheolaidd ar bapyr. Ond y pwnc yw, nad ydynt i'w cael ond ar bapyr: a chan nad ellwch eu cyraedd ar unwaith, yr ydych yn digaloni, ac yn rhoddi i fyny bob ymdrech i hyny. Yr oedd yn syndod i holl *Ewrop*, fod Luther wedi gwneyd cyfieithiad mor gywir o'r Beibl, ac yntau yn teithio ac yn llafurio cymaint ffordd arall. Ond yr oedd ganddo gyfundraeth i wneyd rhywbeth bob dydd, a chyflawnai hi yn fanwl a chyson. Pan y gofynwyd iddo pa fodd y gallodd ei gyflawni, ei ateb oedd, "Nid un diwrnod heb adnod." Ac fel hyn, mewn ychydig o flynyddoedd, aeth dros yr holl Feibl.

"Atolwg, o ba beth y bu eich brawd farw?" ebai Ardalydd Spinola wrth Syr Horace Vere. "Bu farw, syr," ebai yntau, "o eisiau rhywbeth i'w wneyd." "Ha! syr," ebai Spinola, "y mae hyny yn ddigon i ladd un, rhyw un o honom."

Fe ddarfu i Demosthenes gynelwi Haneswaith Thucydides seithwaith, yn unig er mwyn gwneyd ei hun yn gynefin âg arddull *(style)* yr awdur enwog hwnw.

Y mae dwy ddiareb, un yn mhlith y Tyrciaid, a'r llall yn mhlith yr Hispaeniaid, a phob un o'r ddwy yn cynwys llawer o wirionedd. "Ni fiinir dyn diwyd ond gan un cythraul; ond y segur gan fil." "Dynion yn gyffredin a demtir gan y cythraul; ond y mae y dyn segur yn temtio y cythraul." Pa faint o gyfeillach lygredig—o hudoliaethau drygionus—o niwaid i'ch nodweddiad—ac o annghysur i'ch cyfeillion, a ochelwch, wrth ffurfio ymarferiad i fod yn ddiwyd gyfundraethol bob dydd!

III. *Meithrinwch ddybarwch.*—Wrth ddybarwch y meddyliwyf arhosiad diŵyro efo yr un testyn efrydol nes myned trwyddo, a pharhau yr un cynlluniau wythnos ar ol wythnos. Fe ddarllena neu fe glywa rhai am ryw gynllun a ddefnyddiodd rhywun gyda llwyddiant neillduol; a phenderfynant yn ddioedi y defnyddiant hwythau yr unrhyw. Felly mabwysiedir y cynllun heb ei ragystyried yn ddigonol, a siaredir am dano

fel un rhagorol; ond mewn ychydig o ddyddiau fe flinir arno, ac fe'i newidir am rywun arall. Fe wnaeth rhyw un mawr fel hyn, ac fel arall, yw y teimlad wrth gychwyn; ond mor gynted ag y dechreua fod yn flinderus, (fel y bydd pob ymarferiad newydd yn fuan iawn) troir o o'r neilldu. Yr oeddwn yn adnabod efrydydd a ddarllenodd yn rhyw le am ryw ddyn mawr a ysgrifenodd uwchben ei ddrws, "*Dum loquimur tempus fugit;*" ac yn ddioedi, wele yr un peth mewn llythyrenau mawrion uwchben ei ddrws yntau. Darllenodd eilwaith fod un dyn dysgedig iawn yn bur hoff o waith Blackstone; yn ddiymaros, taflodd bob peth heibio, a phrynodd Egluriadau Blackstone. Dechreuodd eu darllen gydag awydd annghyffredin; ond yn nglyn â hyny dygwyddodd glywed fod un dyn enwog yn hela y rhan fwyaf o'i ddysg trwy gyfeillachu; (peth a amheuwyf yn fawr;) oerodd at Blackstone eilwaith, a dechreuodd fyned o ystafell i ystafell i gaffael gwybodaeth trwy gymdeithasu! Pe byddai i lonaid tref o'r fath efrydwyr gael eu gwneyd yn un, ni fyddai hwnw yn wir efrydydd. Y dyn sydd yn petruso o hyd pa un o'r ddau beth a wna gyntaf, ni wna un o'r ddau. Y mae yn annichonadwy i'r dyn sydd yn troi ei benderfyniad wrth gynghor cyntaf unrhyw gyfaill—yn bwhwman *(fluctuate)* o olygiad i olygiad, o gynllun i gynllun, ac yn chwyldroi fel ceiliog y gwynt i bob pwynt gyda phob awel fympwyol a chwytha—gyflawni dim sydd yn fawr a defnyddiol. Yn lle cynyddu mewn unrhyw bwnc, y peth goraf fydd sefyll yn yr unman, os nad dadwibio. Nid oes neb yn cyraedd rhagoroldeb mewn unrhyw beth, ond y dyn sydd yn meddu yr ansawdd a briodola Lucan i Caisar—*nescia virtus stare loco*—yr hwn a ymgynghora yn ddoeth i ddechreu, a benderfyna yn gadarn wedi hyny, ac yna a gyflawna ei fwriad gyda dybarwch anhyblyg, ac yn eithaf diofn o'r rhwystrau bychain a ddichon frawychu ysbryd gwan. Er mwyn anghraifft, gadewch i ni ddefnyddio amgylchiad efrydydd. Y mae yn dechreu myfyrio yr ieithoedd dysgedig—yna daw cyfaill, ac a ddywed wrtho ei fod yn difrodi ei amser; ac yn lle dysgu geiriau anarferedig, fod yn llawer gwell iddo ymofyn a chwilio am ddrychfeddyliau newyddion.

Newidia ei gynllun yn y fan, a dechreua ar wyddoniaeth. Yna daw cyfaill arall, ac a ofyna iddo gyda gwyneb doeth-ddifrifol, a ydyw ef yn bwriadu bod yn gadeirtraw mewn rhyw brif-ysgol,—ac os nad oedd, ei fod yn defnyddio ei amser yn ofer; fod gwyddoniaeth cyffredin yn llawn digon mewn gorchwylion bywyd. Y mae yn rhoddi heibio ei Euclid, gan ddechreu ar ryw destyn arall, yr hwn, yn ei dro, a roddir heibio trwy gynghor doeth rhyw gyfaill neu gilydd: ac fel hyn y mae yn treulio ei oes mewn newid cynlluniau. Y mae yn hawdd canfod ffolineb y fath drefn, effaith sicr yr hon yw magu ymarferiad gwibiog ac ansefydlog yn y meddwl, yr hyn sydd yn ddigon i ddinystrio y dysgwyliadau mwyaf gobeithiol. Byddwch yn gall wrth ddewis eich trefn; ac wedi ei dewis, parhewch ynddi yn ddianwadal. Ac ond i chwi wneyd felly, fe fydd holl amherodraeth dysg wrth eich traed; tra bydd y rhai a gychwynasant gyda chwi ar y cyntaf, ond a arosasant i newid eu cynlluniau blaenaf, yn parhau wrth y gwaith difudd o chwilio am ffyrdd newyddion.

Gallwn yn bur hawdd ddinystrio ein cynlluniau goraf, wrth adael heibio hyd y fory yr hyn a ellir ei wneyd heddyw. "Gellir ateb y llythyr yna y fory; gallaf gyflawni deisyfiad fy nghyfaill y fory, heb ei niweidio na'i golledu ef yn y radd leiaf." Fe all hyna fod yn wir; ond y chwi sydd yn y golled: canys y mae ymroddi i un hudoliaeth o'r fath yna, yn gyfnerthiad i'r gelyn ddarostwng a meddiannu yr holl amddiffynfa. Dylai pob awr gael ei defnyddio—ei llanw â rhyw orchwylion buddiol. Ac nid hyny yn unig, ond bydded i chwi dreulio eich oriau yn ol rhyw gynllun. Y mae treulio un diwrnod yn y cynllun blaenorol, yn well nag wythnos heb yr un.

IV. *Meithrinwch yr ymarferiad o fod yn fanwl.*—Nid oes yr un dyn yn fyw nad allai fod yn ddyn manwl; ac eto ychydig ynt felly yn agos i'r graddau a ellid eu cyraedd. Y mae yn llawer hawddach bod ychydig yn rhy ddiweddar yn gwneyd peth, nag yn ei amser priodol. Nid peth hawdd iawn i'w ffurfio nodweddiad parod a manwl; ond y mae o werth anmhrisiadwy i'w feddiannydd ac i'r byd. Fe all y dyn manwl gyflawni cymaint arall a dyn o nodweddiad gwa-

hanol; a hyny gyda llawer mwy o rwyddineb a bodd-lonrwydd iddo ei hun ac i ereill hefyd. Yr ydym oll mor anymroddus wrth natur, fel y mae yn ddantaith genym gael gafael ar ddyn o fanyledd diŵyro. Y mae yn hoff genym bwyso ar y fath ddyn, a byddem yn foddlawn i roddi unrhyw bris am ffon o'r fath.

Ymddengys rhai fel pe bae arnynt ofn meithrin yr ymarferiad yma, rhag ei fod yn ffinio â rhinwedd rhy isel a chyffredin—islaw meddwl mawr ac eang—neu sylw yr hwn sy ganddo rinweddau uwch i anturio arnynt. Ai meddwl isel oedd meddwl Blackstone? A feithrinodd ef fanyledd o eisiau fod ganddo rhyw ragoriaethau ereill? Eto, pan yr oedd yn traddodi ei ddarlithiau enwog, ni adawodd i'w gynulleidfa ddys-gwyl wrtho gymaint ag un mynyd dros yr amser; ac nid allai byth feddwl yn dda am neb a fyddai yn hynod o ddiffygiol yn y rhinwedd yma. Adroddir y sylw boddhaus canlynol am Mr. Brewer, a fu wedi hyny yn weinidog yr efengyl defnyddiol iawn. Pan oedd yn efrydydd, yr oedd yn hynod o fanwl bob amser. Un bore fe darawodd yr awrlais saith o'r gloch, (yr awr weddi,) ac yr oedd pawb yn barod yn yr ystafell, yn ol yr arfer. Ond wrth i'r athraw edrych o amgylch, efe a ganfu fod Mr. Brewer yn absenol, ac a arhosodd ychydig. Ar ei waith yn dyfod i'r ystafell, fe'i cyf-archodd ef fel hyn: "Syr, fe darawodd yr awrlais, ac yr oeddem ninau yn barod i ddechreu; ond gan eich bod *chwi* yn absenol, yr oeddem yn meddwl fod yr awrlais yn rhy ffest, gan hyny fe ddarfu i ni aros." Erbyn chwilio, yr oedd yn rhy ffest o rai mynydau.

Nid mewn talu rhyw ddyledion penodol y mae y rhinwedd yma yn ymddangos, er ei fod ar goll yn aml gyda hyny; ond mewn amgylchiadau a gwaith cy-ffredinol yr ŷm yn dueddol i fethu. "Yr wyf yn rhy ddiweddar y tro yma, ond nid yw ond *unwaith*. Ni fûm yn bur hylaw yn cyflawni fy nghynllun heddyw, ond nid yw ond *unwaith*." Dyma iaith gohiriad. Bydd-wch yn fanwl yn mhob peth. Os penderfynasoch godi ar ryw awr benodol, byddwch yn sicr o fod ar y llawr at y fynyd. Y mae tuedd ynom i fod yn fusgrell wrth fyned i gyfarfodydd, cymdeithasau, &c., yn neillduol os bydd genym ni rywbeth i'w wneyd. "Y mae urddas

mawr mewn cael ein dysgwyl ac aros am danom," ebai un oedd yn yr ymarferiad yma, yr hwn nid oedd ganddo lawer o sail i fod yn uchelgais, oddieithr yn y diffyg yma. Y mae yn wir y bydd yn dda gan y gynulleidfa eich gweled, ar ol dysgwyl am danoch; ond byddai yn well ganddi eich gweled at yr amser. Pan y mae dau beth genych i'w gwneuthur, un yn *wir angenrheidiol* i'w wneyd, a'r llall y *dymunech* yn fawr ei wneyd yntau, byddwch yn sicr o wneyd y cyntaf i ddechreu. Y mae diffyg ystyriaeth o'r rheol yma yn ein rhwystro yn aml i fod yn fanwl yn nghyflawniad ein dyledswyddau.

V. *Byddwch yn godwr bore.*—Ychydig erioed a fuont fyw i oedran mawr, a llai fyth a ddaethant i enwogrwydd, o'r rhai nad arferent godi yn fore. Pan yr ydych yn hwyr yn codi, o angenrheidrwydd y mae yn mhell arnoch yn ymaflyd yn eich gorchwyl, ac y mae pob peth yn symud yn chwithig trwy y dydd. Dywed Franklin, "y gall y sawl a gysgo yn hir y bore, duthio *(trot)* trwy y dydd, a methu dal ei orchwyl erbyn nos." Sicrha Dean Swifft, na welodd ef neb erioed yn cyraedd mawredd a rhagoroldeb, a arferai gysgu yn hir y bore.

Y mae hanesiaeth yn profi yn amlwg, fod cysgu yn hwyr y bore yn un o'r cawri yn mhlith llygriadau y dyddiau hyn. Yn y pedwarydd canrif ar ddeg, yr oedd masnachdai Paris yn agored yn gyffredin am bedwar o'r gloch yn y bore; ond yn awr y mae yn mhell wedi saith. Y pryd hyny ciniawai brenin Ffrainc am wyth o'r gloch yn y bore, ac âi i'r gwely am wyth y prydnawn. Yn amser Harri III., saith o'r gloch oedd amser arferol boreufwyd, a deg oedd awr ciniaw. Ac yn amser Elisabeth, yr oedd y mawrion yn ciniawa am un-ar-ddeg o'r gloch, ac yn cwynosa *(sup)* rhwng pump a chwech y prydnawn.

Rhydd Buffon hanes ei ysgrifau mewn ychydig o eiriau. "Pan yn ieuanc, yr oeddwn yn bur hoff o gysgu. Yr oedd yn fy yspeilio o lawer iawn o fy amser; ond bu Joseph, druan, *(ei was)* yn gymhorth neillduol i mi i orchfygu yr arferiad. Addewais roddi coron o arian i Joseph bob tro y codai fi am chwech. Bore dranoeth gofalodd fy neffro a'm blino at yr am-

ser; ond ni chafodd am ei waith namyn ei ddifrïo a'i ddwrdio. Y diwrnod wedi hyny, fe wnaeth yr un fel, heb ddim gwell llwyddiant: ond addefais eilwaith fy mod yn difrodi fy amser. Dywedais wrtho, na wyddai ef ddim o'r ffordd i gyflawni ei orchwyl—y dylai feddwl am fy addewid, a pheidio ofni fy mygythion. Y diwrnod canlynol, dechreuodd yn fwy taer: dymunais inau gael llonyddwch,—gorchymynais iddo fyned i ffwrdd,—a dechreuais dyrddu yn arw; ond parhaodd Joseph at ei waith. Gorfodogwyd fi i ufyddhau; a gwobrwyid ef bob dydd am y sarhad a roddwn iddo ar fy neffroad, â diolchgarwch yn nghyda'r goron addawedig, yr hon a dderbyniai yn mhen o gylch awr wedi i mi godi. Fel hyn, yr wyf yn ddyledus i Joseph am ddeg neu ddwsin o'r cyfrolau a wnaethym.

Rhoddai Frederick II, o Prwssia, orchymyn na adewid iddo gysgu ar ol pedwar o'r gloch yn y bore, hyd yn nod pan oedd mewn henaint a methiant. Yr oedd Pedr Fawr bob amser yn codi cyn iddi oleuo, pan oedd yn mhorthladd Llundain yn adeiladu llongau, neu wrth yr eingion fel gof, neu ynte ar orsedd Rwssia. Y mae Doddridge wedi sylwi yn bur synwyrlawn ac effeithiol ar y pwnc yma fel hyn—"Yn bresenol cofnodaf y sylw sydd wedi bod yn hynod o ddefnyddiol i mi fy hunan, ac wedi bod yn brif foddion i gynhyrfu y gwaith hwn (ei Esboniad ar y Testament Newydd) yn nghyda'r rhan fwyaf o'm hysgrifiau —sef, a chaniatau fod dau ddyn yn myned i'r gwely yr un amser, ac un yn codi am bump o'r gloch, a'r llall am saith; yn mhen deugain mlynedd byddai y gwahaniaeth yn agos gymaint a phe buasid wedi chwanegu deng mlynedd at oes y blaenaf."

Tuag at godi yn fore, y mae yn angenrheidiol myned i'r gwely yn gynar. Y mae llawer o resymau ereill hefyd dros hyn. Nid yw eich iechyd na'ch golwg mewn cymaint o berygl. Ymddengys fod y Creawdwr wedi cymhwyso pethau, fel y dylem fyned i orphwys yn gynar y nos. Arferai y Dr. Dwight ddywedyd wrth ei efrydyddion, "fod un awr o gysgu cyn hanner nos, yn well na dwy wedi yr amser hyny. Gwnewch o yn rheol, a chadwch at hyny yn fanwl, o fyned i orphwys am *ddeg* o'r gloch. Gellwch fel hyny godi am bump,

a chael saith awr o gysgu, o gylch yr hyn y mae natur yn ei ofyn."

Ond pa fodd y gellir ffurfio yr ymarferiad o godi yn fore? Bwriwch eich bod yn myned i'r gwely heno at ddeg o'r gloch; yr oeddech wedi arfer bod i fyny yn hwyrach: gan hyny, fe allai na chysgwch am awr o amser; a phan y bydd yr awrlais yn taro pump bore dranoeth, chwi a fyddwch yn cysgu yn dawel. Sylwch, os ydych am wneyd rhyw beth teilwng, ac am dreulio einioes wir ddefnyddiol yn y byd, *rhaid* ffurfio yr ymarferiad, a goraf po gyntaf y gwneir hyny. Pan y dechreuodd yr awdwr ffurfio yr ymarferiad, fe brynodd hen awrlais am ychydig o sylltau. Wedi hyny gwnaeth beiriant bychan i fyned wrth bwysau a llinyn, yn echel *(axletree)* pa un yr oedd pedair braich o wyfr *(wire)* a botwm elydr *(brass)* ar ben pob un. Pan yr elai y pwysau i lawr, fe fyddai y botymau yn troi o amgylch, ac yn taro yn erbyn cloch fechan. Yr oedd hyn yn peri y fath drwst erchyll, fel yr oedd yn annichonadwy cysgu ar yr amser. Yr oedd gwyfrau yn myned oddiwrth hwn at awrlais pren, yr hwn oedd mewn ystafell wahanol. Y mae wedi cael yr anrhydedd o ddysgu ereill yn y dirgelwch wedi hyn, ac o glywed clychau ereill yn canu i'r un dyben. Y mae rhai yn defnyddio math o larwm bychan i'w galw i fyny. Ond ni waeth pa foddion a ddefnyddir: codi at yr amser yw y pwnc. Wedi i chwi ddeffro unwaith, byddwch yn ofalus i ddyfod i'r llawr yn ddioedi. Os bydd i chwi aros un mynyd i ymresymu â chwi eich hunan, fe ddaw cwsg yn mlaen fel gŵr arfog i'ch dal, ac fe ddinystria eich penderfyniad, eich gobaith, a'ch ymarferiad. Cofiwch fod y dyn ieuanc sydd yn arfer codi yn fore, o angenrheidrwydd yn myned i'r gwely yn gynar, a thrwy hyn yn ymgadw rhag llawer o hudoliaethau a pheryglon ag ynt yn llechu dan fantell dywell y nos. Fe fydd yr efrydydd a arfera godi yn fore, yn iachach, ac yn debycach o gyraedd hen ddyddiau—yn fwy enwog a defnyddiol—ac yn fwy dedwydd yn ei oes, na phe bae heb wneyd hyny. Yr wyf yn aros gymaint ar hyn, o herwydd fod cariad at y gwely yn fai mor gyffredinol, ac yn fai sydd yn dyfod yn fuan mor nerthol a rhaff angor.

VI. *Ffurfiwch ymarferiad o ddysgu rhyw beth oddiwrth bob dyn y mae a wneloch chwi âg ef.*—Fe fydd cadw neu esgeuluso y rheol yma yn sicr o wneyd gwahaniaeth rhyfeddol yn eich nodweddiad cyn cyraedd deugain mlwydd oed. Y mae pawb yn ymddwyn fel hyn i raddau mwy neu lai; ond ychydig sydd yn ei gymeryd fel pwnc i wellhau eu hunain trwyddo. Y diffyg mawr yw hyn—yr ydym yn gadael iddi fyned yn rhy bell yn yr einioes, cyn yr ydym yn dechreu casglu gwybodaeth o bob pwynt. Dywedir nad oedd Syr Walter Scott byth yn cyfarfod âg un dyn, boed ei alwad yr hyn a fo, hyd yn nod yr un mwyaf pendew, nad allai, trwy ymddyddan am ychydig fynydau, ddysgu rhyw beth na wyddai o'r blaen, ag oedd yn werthfawr ganddo ef. Dyma y rheswm fod ganddo gymaint o wybodaeth gyffredinol. Y mae o gymaint pwys i ni fod ein clustiau yn agored, a bod ein llygaid yn agored, wrth fyned trwy y byd. "Pan yr oeddwn yn ieuanc," medd Cecil, "yr oedd gan fy mam forwyn gall iawn yn ei hymddygiadau. Fe gyflogwyd dyn unwaith i ddarllaw, ac yr oedd y forwyn yma i ddal sylw arno i'r dyben i ddysgu. Yn ystod y gorchwyl, dygwyddodd un peth nad oedd hi yn ei ddeall. Gofynodd hithau am eglurhad, yr hyn a atebwyd ganddo mewn geiriau hynod o gâs ac anhywaith, o herwydd ei hanwybodaeth a'i phendewrwydd. Gofynodd fy mam iddi pa fodd y gallodd ei oddef ef. 'O,' ebai hithau, 'mi allaswn ddyoddef geiriau fil gwaeth er mwyn y wybodaeth a gefais ganddo.'" Tyb gyfeiliornus yw meddwl na ddylem wybod dim heblaw yr hyn a berthyn yn uniongyrchiol i'n swydd neu i'n galwedigaeth. Ni fydd y dyn yn ddim llai defnyddiol yn ei alwedigaeth ei hun, o herwydd casglu gwybodaeth ymarferol oddiwrth bawb y dichon iddo ymwneyd â hwy. Y mae pob dyn yn gwybod rhyw beth yn ei alwedigaeth ei hun, na wyddoch chwi, ac sydd yn wir werth ei wybod. "Dywed hen gybyddion wrthych am beidio byth â myned heibio hen hoelen, neu hen bedol, neu dytmwy *(buckle)*, nac hyd yn nod pin bach, heb ei godi; canys, er nad oes arnoch ei eisiau yn awr, chwi a gyfarfyddwch âg adeg ryw bryd i'w ddefnyddio." Dywedaf finau yr un fel wrthych mewn

cysylltiad â gwybodaeth. Pa mor ddiwerth bynag yr ymddengys i chwi y pryd hyny, daliwch afael ar y cwbl a ddaw yn dêg o fewn eich cyraedd.

Nid wyf yn cymeradwyo i chwi geisio dysgu pob peth. Yr wyf yn mhell oddiwrth hyny. Ond tra y byddo genych un pwnc mawr mewn golwg, chwi a ellwch daflyd cipdrem ar wahanol bethau sydd yn ei amgylchu. Pe yr anfonid chwi yn awr ar neges penodol i barth arall o'r wlad, ac er y byddai y prif bwnc ar eich meddwl, sef cyflawni y neges yn ffyddlawn, a fyddai o ddim yn beth rhesymol i chwi agor eich llygaid a syllu ar y gwahanol olygfeydd a'r gwrthddrychau fyddent ar y ffordd? A ddylech chwi ddim agori eich clustiau i ddal ar bob hanes, ffaith, a phob peth o'r fath a'r a allech, ac fel hyn ddyfod yn gallach? A rwystrai hyn chwi yn y gradd lleiaf? Ac a fyddech chwi ddim trwy hyny yn ymaddasu i fod yn ddyn mwy boddus, deallgar, a defnyddiol?

VII. *Ffurfiwch egwyddorion sefydledig i feddwl a gweithredu wrthynt.*—Y mae pob ysgolhaig cywir yn ymdrechu argraffu pob gair ar ei gof, fel na byddo angen iddo droi i'r geirlyfr pan y cyferfydd âg ef eilwaith. Gall ei gydymaith ddadlu yn nghylch ei darddiad neu ei ryw; ac fe allai nad yw yntau yn alluog i benderfynu pa fodd yr ymddanghosai iddo wrth ei archwilio; ond y mae wedi boddloni ei feddwl yn ei gylch, ac wedi sefydlu ei farn. Fe allai nad all ddweyd trwy ba foddion y daeth i'r penderfyniad hyny. Dylai fod felly efo phob peth. Nac archwiliwch yr un pwnc i'r dyben o gael rhyw dyb gyffredinol am dano; ond os nad oes genych amser yn awr, gadewch o nes bydd genych, fel y galloch ei chwilio yn drwyadl. Ni waeth beth fydd o, pa un a ydyw o bwys mawr neu o ychydig bwys; os ydyw yn *werth* ei archwilio, gwnewch hyny yn drwyadl, ac unwaith am byth; fel, bryd bynag y dygir o i sylw drachefn, fod eich meddwl chwi yn eithaf hysbys a phenderfynol yn ei gylch. Y mae cael gafael fel hyn ar egwyddorion sefydledig ac anfwhwmanllyd, yn ffurfio nodweddiad dianwadal i ddyn. Na fyddwch yn rhy barod i benderfynu unrhyw beth. Y mae dynion ieuainc yn cyfeiliorni yn amlach o herwydd byrbwylldra, nag o eisiau barn.

Os rhoddant amser i chwilio cyn penderfynu, yn gyffredin fe fydd y casgliad yn gywir.

Nid wyf erioed wedi gallu darllen am ferthyrdod yr enwog Latimer, heb wylo bron wrth ei weled yn glynu wrth ei hen egwyddorion sefydledig. Cymhellid ef i ddadlu a phrofi ei grefydd ef, a thwyll yr un babaidd. Fe wyddai ei fod yn hen, ac wedi colli llawer o nerth ei feddwl: am hyny, nis dadleuai. Gadawodd hyny i feddyliau ieuainc a bywiog; a bu farw heb ond yn unig adrodd ei gredo. Gwyddai yn dda, ei fod unwaith wedi archwilio y pwnc â holl nerth ei ddealltwriaeth, ac nid ystyriai o yn beth angenrheidiol i ailchwilio cywirdeb ei egwyddorion. Ymddygiad wedi ei sylfaenu ar waelod o'r fath yma, a nodweddiad a fo yn estyn ei wraidd mor ddwfn, a ddeil y chwiliad manylaf, ac ni chwympir gan y dymhestl erwinaf.

VIII. *Byddwch yn syml a thlws yn eich holl ymarferion personol.*—Bydded eich gwisg yn syml ac yn dlws. Na fydded genych ormod o ofal am y corff, yr hwn nid yw ond amwisg i'r enaid. Ar yr un pryd fe fydd y dyn da a synwyrol yn sicr o ofalu am gadw yr ochr allan i'w dŷ yn daclus. Bydded genych chwithau gymaint o ofal am eich corff, ag i geisio gwisg addas am dano; a chymaint o barch i'ch gwisg, ag a bair i chwi ei chadw yn drefnus.

Dylai eich gwisg fod yn gynhes. Os byddwch yn gwisgo gwlanen yn nesaf i'r croen, dylech ei newid yn aml. Byddwch yn sicr hefyd o gadw eich traed yn sych ac yn gynhes. I'r dyben hyny rhaid i chwi gerdded rhyw gymaint bob dydd.

Nid oes un caethwas yn waelach ac yn fwy truenus na'r sawl sydd yn ymdrechu cadw'r blaen gyda defodau *(fashions)* yr oes. Dywedir fod gwddwg Alexander yn gam; ac yn fuan daeth y peth yn ddefod, fel yr oedd holl wŷr ei lys yn dal eu penau ar un ochr: a'r sawl a benwyrai fwyaf, a gyfrifid yn fwyaf defodol. A oedd hyn yn ffolach nag sy raid i ddefodwyr fod yn barhaus? Ond a ddichon i efrydydd ddim bod yn dragofalus am ei wisg, heb fod â'i holl galon ynddi? Yr wyf yn ateb, " Os gwelwch gynffon y llwynog o'r twll, gellwch sicrhau fod y llwynog ei hun i fewn." Cadwch eich holl ddillad yn dlws a glân; ond na theim-

lwch ac na ddanghoswch mewn un modd, fod hyn yn un o ddybenion bywyd.

Na fydded dim cynnwythig *(singularity)* yn un o'ch ymarferion. Y mae yn annichonadwy i ni deimlo yn gysurus a chartrefol gyda dyn a fyddo yn od yn ei arferion. Y mae y dyn hwnw yn pwyso gormod ar gymwynasgarwch dynolryw, a'r sydd yn dysgwyl iddynt gydoddef bob amser â'i afreoleidd-dra ef. Yr wyf yn cofio am ddyn enwog sydd yn aml mewn cymdaith yn codi ei draed i ben cadair cyfuwch a'i ben, ac nid yn anaml i ben bwrdd. Ffurfiwyd yr ymarferiad pan yn efrydydd. Ac er i'r holl gymdeithion gael eu gofidio yn aml fel hyn, nid yw yr ymarferiad yn cael ei gyfnewid. Gellwch fod yn ddrelaidd yn eich moesau, ac fel Dr. Johnson yn yr ystyr hyny; ond yr oedd ganddo ef ddigon o allu i lewyrchu yn nghanol ei holl anfoesau.

Camgymeriad mawr yw meddwl y gall nerth meddwl, neu ragoroldeb cyraeddiadau, wneyd cymdaith un dyn yn foddhaol, tra bydd ei arferion yn anfoesol. Os ydych yn ymarfer â chymdeithasu, chwi a wyddoch pa fodd i ymddwyn yn iawn—gwnewch hyny: ond os na wyddoch, byddwch yn gynwyl *(modest)*, yna fe fydd eich ymddygiadau yn foddus.

Bod yn ddestlus *(neat)* yw y cwbl sydd yn angenrheidiol yn eich ymarferion personol.

IX. *Ymarferwch â gwneyd pob peth yn gywir.*—Yr oedd Johnson yn arfer ysgrifenu, ac anfon yr ailun *(copy)* i'w argraffu heb erioed edrych drosto i'w ddiwygio. Effaith ymarferiad oedd hyn. Dechreuodd gyda chyfansoddi yn araf; ond yn hynod o gywir a gofalus. Yr ydym yn naturiol yn bur ddiamyneddgar; ac anaml iawn y ceir un dyn ieuanc yn gwneyd dim cyn gystal ag y gall. Ei ymdrech yw gwneyd yn gyflym. Ac anfynych y clywch efrydyddion yn dweyd pa mor *dda* y gwnaethant y peth hyn neu y peth arall; ond pa mor *fuan*. Ymarferiad dinystriol ydyw. Os yw y peth yn werth ei wneyd ryw fodd, y mae yn werth ei wneyd yn dda; ac er i'r meddwl fod wedi ei ddysgyblu yn dda mewn pethau ereill, y mae yn ddiffygiol, os nad yw yn gywir yn yr ymarferiad yma. Fe gollodd mab ieuanc serch merch ieuanc unwaith yn

bur ddifeddwl, trwy ddygwyddiad mor ddibwys a hyn. Yr oedd ganddi lythyr wedi ei ysgrifenu at gyfaill, a rhoddodd o iddo ef i'w gyfeirio. Gwnaeth yntau hyny, ond mewn modd prysur a mochynaidd (canys ei brif amcan ef oedd ei wneyd yn gyflym) fel y darfu iddi wrido wrth ei dderbyn. Yn y fan dechreuodd ei serchiadau oeri tuag ato, nes o'r diwedd iddynt fyned yn hollol farw. Yr wyf yn crybwyll y dygwyddiad yma, nid o herwydd ei urddas na'i bwysfawrogrwydd, ond yn unig i egluro y pwnc mewn llaw. Dylai pob peth gael ei wneyd yn dda, ac fe ddaw arferiad a chwi i'w wneyd yn gyflym. Pa faint o ddarllenwyr ac ysgrifenwyr truenus sydd yn bod, yn unig o eisiau meithrin yr ymarferiad yma! Nid oedd Euripides yn arfer cyfansoddi ond tair llinell o farddoniaeth, tra yr oedd cydoeswr iddo yn cyfansoddi tri chant: ond yr oedd un yn ysgrifenu am oesoedd, a'r llall am ddiwrnod. Byddai yn well i chwi ddarllen ychydig, a chyfansoddi ychydig, a gwneyd hyny yn dda.

"Pa fodd yr ydych yn gallu gwneyd cymaint?" ebai un, mewn syndod wrth weled ymdrechion a llwyddiant un dyn mawr. Ebai yntau, "Nid wyf yn gwneyd ond un peth ar unwaith, ac yn ceisio *gorphen* hwnw unwaith am byth." Dymunwn i chwi ddal hyn yn eich cof:—Na wnewch ddim yn ffrystiog ac aflerw, ac ymesgusodi wedi hyny eich bod yn brysur. Nid oes yr un rheswm i'w roi dros y fath brysurdeb. Yr ydych yn gwneyd annghyfiawnder â chwi eich hunan. Na wnewch gofnodiad o ddim mewn dull nad ellwch ei ddeall yn rhwydd yn mhen pum mlynedd. Na wnewch ddim mewn brys mawr, fel na wyddoch braidd beth yr ydych yn ei wneyd, ac nad oes dim ond rhyw argraff gwan a chymysglyd o hono yn aros ar y meddwl. Dyma fel y mae nodweddiad arwynebol yn cael ei ffurfio: a'r sawl nad yw yn ofalus i ffurfio a meithrin yr ymarferiad o *wneyd pob peth yn gywir*, na ddysgwylied ddim amgen na bod yn *wael* ac *arwynebol.*

X. *Ymdrechwch yn ddiwyd i lywodraethu eich tymherau.*—Y mae sylw Solomon mewn perthynas i awduriaeth ac efryd, yn wirionedd hefyd mewn cysylltiad â bywyd: ac fe fydd yr efryd hyny sydd gy-

maint o "flinder i'r cnawd," bron yn sicr o gyraedd y gewynau, a'ch gwneyd yn fwy neu lai parod i gyffroad. Pwy dybiasai y buasai yr enwog Goldsmith mor groes ac anniddig yn ei neillduedd! Ond dywedir mai felly yr oedd. Ac efallai iddo, tra yn ysgrifenu "Y Dinesydd," "Y Llan Annghyfanedd," a'r "Periglor Wakefield," waghau ei ewynau wrth ymdrechu bod yn dynergalon a dyddan yn ei ysgrifau; fel, wedi iddo gyraedd oedran têg, nad oedd ganddo ddim defnyddiau i fod yn foddus. Ond boed hyn fel y bo, nid yw yn beth anaml fod un yn ymddangos yn dirion ac yn ddyddan yn ei ysgrif, neu oddicartref, ond gartref yn sarug ac anfoddiog. O herwydd hyn, dywedir weithiau am ambell i efrydydd, "Weithiau y mae mor hoff ag undyn, a phryd arall nid oes ei gasach." Ond nid ymdrech bychan fydd yn angenrheidiol tuag at i chwi feistroli eich hunan. Y sawl sydd yn feistr ar ei ysbryd ei hun,—dyna wron gwirioneddol.

Nid oes dim yn cryfhau yn fwy trwy anwes *(indulgence)* na'r ymarferiad o ymddyddan yn frysgar mewn cymdaith. Y mae yn myned yn fuan yn sefydlog, ac yn para trwy yr oes. Mewn trefn i ochel hyny, rhaid i chwi feithrin dyndid *(manliness)* yn eich nodweddiad. Byddwch yn ffranc ac haelgalonog bob amser. Nid yn unig ymddanghoswch fel hyny, ond byddwch fel hyny yn wirioneddol. Y mae rhyw haeledd a mawredd eneidiol yn perthyn i rai pobl, a ganfyddir yn hawdd, ac a werthfawrogir yn fawr. Gwyddom fod gwahaniaeth gwreiddiol mewn dynion. Ymddengys rhai fel pe baent gwedi eu geni â meddyliau cyfyng, annyngarol, a chrebychlyd. Ond nid oes yr un rheswm pam yr ymostyngant i'r tueddiad naturiol yma, a meithrin yr unrhyw. Efallai i chwi gael eich esgeuluso, a'ch camarwain yn y golygiad yma pan yn blentyn; ond nid yw hyny yn un rheswm i chwi esgeuluso eich hunan. Gellwch weled llawer o efryddion cyffredin iawn o ran eu hamgylchiadau, yn meddu mawredd a dyndid penodol yn eu nodweddiad, ac a berchir yn neillduol am hyny. Yr wyf yn crybwyll hyn er mwyn i chwi gofio, mai nid cyfoeth na thylodi sydd yn gwneyd y gwahaniaeth yma yn nodweddiad dyn.

Byddwch yn foddlawn i'ch sefyllfa. Nid oes dim byd a wna ddyn yn anfoddus yn gynt, nac a ddinystria ei ddedwyddwch ei hun yn gynt, nag ysbryd anfoddlawn. Pwy a all ddysgwyl feistroli ei hunan, meistroli ieithoedd, meistroli gwyddoniaeth, a meistroli mil o anhawsderau, heb deimlo digalondid ar droion? Pwy erioed a fforiodd *(explore)* unrhyw wlad eang, heb orfod goddef tywyniadau poethion yr haul, gwlawogydd oerion, cymylau o lwch, a lluaws o'r fath bethau? Efallai eich bod yn gweled ereill â mwy o arian neu well dillad na chwi. Fe all hyny fod; ond cofiwch mai yn y meddwl y mae gwir wahaniaeth a rhagoroldeb dyn yn gynwysedig. Fe ellir gwisgo epa â dillad sidanaidd, a'i addurno â gemau. A phe byddai dillad a chyfoeth ynddynt eu hunain yn teilyngu parch, pa faint o epaod fyddai genym i'w parchu yn wastadol!

Dull arall i ochelyd anfoddlonrwydd a drygnaws, yw bod yn ochelgar rhag hep-hyntiau *(reveries)*. Nid ellir difodi adeiladu castelloedd awyrol trwy wawdiaeth, onidê ni fuasai dim o hyny yn bod er ys dyddiau. Y mae ei ddrwg yn annhraethol fawr. Nid ydym yn foddlonus ar y peth ydym yn awr; nid oes genym amynedd i gloddio, i aros, ac i ddyfod i fyny yn raddol i enwogrwydd: a thrwy hyny yr ydym yn myned i ffwrdd ar adenydd dychymyg, gan grwydro trwy bob sefyllfa ddymunol, ac o'r diwedd yn dewis y fwyaf ddenol; ac ar unwaith wele ni yn eistedd ar ryw orsedd fawreddus. Ni chydunodd natur a thynghedfen i greu y fath baradwys i ddyn syrthiedig, ag a greir genych i chwi eich hunan. Y mae y dychymyg yn buddugoliaethu yn fuan ar yr enaid: canys y mae yn annhraethol hawddach i ni eistedd i lawr a gwagfreuddwydio ein bod yn enwogion mewn rhinwedd a dysg, ac yn lywiawdwyr a chynhyrfwyr y byd, na llafurio yr hyn sydd yn angenrheidiol i'n gwneyd yn wir ddefnyddiol a galluog yn ein galwedigaeth. Yr oedd y doethawr, yn Rasselas, yr hwn a ddifrododd ei amser a'i fyfyrdod, ac a ymdreuliodd dros ddeng mlynedd i reoli y planedau a'r tymorau, yn gall mewn cymhariaeth i lawer sydd yn byw mewn hep-hyntiau; canys trwy hyny fe ddaeth ei deimladau ef yn dyner a mwyn, pan yn gyffredin y mae effeithiau y breu-

ddwydion yma yn niweidiol—y maent yn sarugo y teimladau. Sylwch ar eich teimladau eich hun. Pan yr ydych yn disgyn megys i'r byd, wedi bod yn cymdeithasu â'ch dychymyg ryw gymaint o amser, y mae yn ymddangos fel trigfa adawedig, oer, ac annifyr. Y mae yn wir y cyfarfyddwch â llawer o elynion yn yr hep-hyntiau yma; ond nid oes dim ond dychymyg yn eich dyrchafu uwchlaw iddynt, ac yn dangos i chwi pa faint yr ydych yn rhagori ar bob peth a fo am eich gwrthwynebu. Yr wyf yn hollol gredu nad wyf yn llefaru ar antur, wrth ddweyd fy mod yn adwaen dynion ieuainc â'u teimladau yn afrywiog, a'u gwynebpryd yn surlym fel y rhagrithwyr gynt, yn unig o herwydd brwydro yn aml â gelynion a gorthrymderau hep-hynt. Pan unwaith y caiff y dychymyg afael yn y ffrwyn a'ch rheoli, nid oes perygl na fagir anfoddlonrwydd yn eich ysbryd yn fuan.

XI. *Meithrinwch sadrwydd barn.*—Fe all rhai farnu bron yn arddifrydol beth yw nodweddiad y dyn diweddaf a gyfarfuant. Felly hefyd am lyfr—gallant droi yma a thraw ynddo, a darllen darn o dudalen yn un man, a llinell neu ddwy mewn man arall, a phenderfynu ei deilyngdod yn ddioedi. Pan y mae rhagfarn at ddyn neu awdwr wedi dyfod i mewn i'r meddwl unwaith, y mae yn bur anhawdd ei ddadwreiddio. Y mae yn gŵyro y farn, ac yn gwneyd y dyn yn bleidiol. Ac os anwesir yr ymarferiad yma, fe ddygir y meddwl yn fuan i weithredu oddiar ragfarn, yn lle oddiar iawnfarn. Peth prin iawn, ac annhraethol werthfawr, yw meddwl didwyll a chywir. Ond peth mwy anghyffredin yw gweled meddwl diduedd yn ei holl ymddygiadau. Ni roddodd Duw y sadrwydd meddwl yma ond i ychydig iawn; ac o'r ychydig yma, ychydig eilwaith sydd yn rhydd yn gyffredin oddiwrth ogwyddiad trwy ryw ragdyb a fo yn gweithredu, efallai, yn feunyddiol: ac nid oes neb yn hollol rydd oddiwrtho bob amser. Yr wyf yn cofio i mi weled hyn yn cael ei egluro yn neillduol iawn ryw bryd. Dywedodd oriorydd wrthyf, i ŵr boneddig roddi oriawr *(watch)* neillduol o gywrain iddo unwaith, yr hon oedd yn myned yn afreolaidd. Yr oedd yn ddernyn mor berffaith ei wneuthuriad ag unpeth a

wnaed erioed. Dattododd hi yn ddarnau, a rhoddodd hi yn nghyd eilwaith, ugain o weithiau. Nid oedd dim gwallus i'w ganfod yn y gwaith; eto yr oedd yr oriawr yn myned yn ddrwg. O'r diwedd, tybiodd y gallai fod rhai o gyneddfau y tynfaen *(magnet)* yn yr olwyn fantolus; ac wrth wneyd prawf-chwiliad, cafodd fod ei dybiad yn wir: dyma lle yr oedd yr holl ddrwg. Yr oedd y dur oedd yn rhanau ereill yr oriawr, yn effeithio yn niweidiol ar ei holl symudiad. Ond y mynyd y cafodd olwyn newydd, aeth cystal ag yr oedd yn ddichonadwy. Felly hefyd, os bydd meddwl yr efrydydd wedi ei ŵyro trwy unrhyw ragdyb, nis gall weithredu yn rheolaidd a chywir.

Mewn perthynas i farnu eich nodweddiad eich hun, nac annghofiwch fod pob dyn bron yn sicr o orbrisio ei werthfawrogrwydd ei hunan. Y mae ein cyfeillion yn gwenieithio llawer i ni, ond y galon yn fwy. Methir â gweled ein beiau; ac os gwelir, lleiheir eu maint ac eir drostynt yn bur ddisylw gan y ddwyblaid yma. Y mae barn ein gelynion yn debycach o fod yn wir, er ei bod yn erwin. Beth bynag, y maent yn agori ein llygaid yn aml ar ffaeliadau na fuasem ni, y mae yn debyg, byth yn eu canfod. Y mae un peth arall i sylwi arno. Y mae y byd yn eich canmol am y peth hyn neu y peth arall a wnaethoch. Os cewch, wrth chwilio, fod egwyddor y weithred hòno yn annghywir neu bechadurus, a ydych chwi, gan hyny, yn barnu yn iawn os prisiwch eich nodweddiad wrth eu barn hwy? Y mae llawer o'n rhinweddau o natur dra amheus; ac yr ydym mewn perygl mawr o roddi y cwbl o honynt yn yr ochr oraf i'r clorian.

Dywedodd swyddog milwraidd wrthyf, iddo eistedd i lawr unwaith i bwyso yr egwyddor o lwyr-ymattal oddiwrth ddiodydd meddwol, ac i benderfynu a oedd hyny yn ddyledswydd arno, yn yr amgylchiadau yr oedd ynddynt, i'w mabwysiadu ai peidio. Cymerodd len fawr o bapyr, a dechreuodd trwy osod i lawr, yn rheolaidd, yr holl resymau yn erbyn yr egwyddor. Yr oedd y rhifres yn fawr iawn: ac yr oedd bron yn sicr y gallai gymeryd yr ochr hyny o'r ddadl heb unrhyw ymholiad pellach. Ond i'w wneyd yn hollol sicr, dechreuodd osod i lawr, ar y tudalen arall, yr holl res-

ymau o blaid y pwnc. Dechreuasant gynyddu a chynyddu, nes yr oedd wedi synu wrth eu hamledd a'u pwysfawrogrwydd. Daethant yn amlach na'r gwrthresymau yn ddioedi; ac wrth ail edrych drostynt a'u hystyried, gwelai fod amryw yn erbyn llwyr-ymattal, a ddylasent fod o'i blaid. Symudwyd y rhai hyny y naill ar ol y llall, nes o'r diwedd iddo âg un ergyd â'i ysgrifbin gyluro yr ychydig oedd yn ngweddill: ac er ei fod yn awr wedi annghofio y dull yr oedd yn myned yn mlaen; eto, o'r mynyd hwnw hyd yn awr, nid yw wedi amau y pwnc yn y gradd lleiaf. Dyma y peth yr wyf yn ei olygu wrth feithrin sadrwydd barn. Fe fydd y gwaith yn cael ei gyflawni yn llawer arafach na phe buasid yn rhuthro i benderfynu y peth yn ddioedi; ond fe fydd yn fwy boddhaol; ac a rydd i chwi yr ymarferiad o bwyso a barnu yn gywir.

XII. *Ymddygiadau at rieni, cyfeillion, a chymdeithion.*—Gobeithiwyf nad ymddengys fy mod o'm lle wrth geisio eich arwain i'w wneyd o yn ymarferiad i iawn ymddwyn at eich perthynasau a'ch cyfeillion. Fe fydd eich ymddygiadau yn sicr o ddyfod yn ymarferiad genych, pa un bynag a amcanwch at hyny ai peidio. Os byddwch oddicartref, chwi a fyddwch yn debycach o annghofio eich rhieni nag y byddant hwy o'ch annghofio chwi. Byddwch chwi yn mysg rhyfeddodau newyddion, ac yn ffurfio cydnabyddiaeth newydd. Ond y maent hwy gartref; y maent yn gweled y lle yr oeddech yn arferol o aros, a'r dillad a arferech wisgo. Y maent yn gweled eich eisiau wrth y bwrdd. Nid oes yr un diwrnod yn myned heibio nad ydynt yn ymddyddan am danoch; a phan ddel y nos, y mae eu meddyliau cariadlawn yn erlyn ar eich hol, ac yn llawn o bryder *(anxiety)* yn eich cylch, nad oes dim a'i symuda ond eich sylw a'ch gofal dysgwyliedig chwi.

Ni fydd eich ymddygiadau yn deilwng o blentyn ufudd a gofalus, os na fyddwch yn anfon eich hanes adref yn amserol a rheolaidd. Ysgrifenwch at eich cyfeillion yn aml, ac ar amserau rheolaidd. Y mae pob gohebiaeth rhwng cyfeillion yn fwy difyr a buddiol bob amser os bydd yn rheolaidd ac ar amserau priodol. Fe wyddys fel hyny pa bryd i anfon llythyr, a pha bryd

i ddysgwyl un; yr hyn a rwystra lawer o ofer ddysgwyliadau, a rhyfeddu paham na bae y llythyr yn dyfod, yn nghyda llawer dwrdiad am esgeuluso. Na ddechreuwch unrhyw ohebiaeth, oddieithr ar ryw fater penodol a dygwyddiadol, os na bydd yn ddigon gwerthfawr i'w barhau a'i gynal. Dylech ysgrifenu at eich rhieni, o leiaf, unwaith yn y mis. Yn y llythyrau hyn, eglurwch eich teimladau a'ch amgylchiadau yn debyg fel y gwnaech pe baech gartref eich hunan. Fe all pob plentyn ddangos y fath ofal, ac ar yr un pryd gadw ei galon yn gynhes âg adgofion am ei gartref a'i berthynasau. Fe fydd hyn yn foddion i'ch gwella fel llythyrydd, ac i feithrin rhai o'r rhinweddau ardderchocaf ac hyfrytaf sydd yn alluadwy i'r galon.

Dymunwn ddweyd ychydig o eiriau eto ar ddewisiad cyfeillion, yn nghyda'ch ymddygiadau tuag atynt. Fe fydd genych rai, ac fe ddylai fod, yn fwy agos atoch na'r gweddill o'ch cymdeithion. Y mae dau anhawsder penodol yn perthyn i gyfeillach; sef, yn gyntaf, y mae yn anhawdd cael gafael ar gyfaill cywir; ac yn ail, pan y ceir o, y mae mor anhawdd i'w gadw. Y mae y cydnabyddiaeth hyny sydd yn cynyddu yn raddol i gyfeillgarwch, ar y cyntaf yn ddygwyddiadol. Ac anfynych iawn y mae cyfeillgarwch y rhai hyny a estynant eu dwylaw gyntaf i'ch cofleidio, yn para yn hir. Byddwch yn ofalus wrth ddewis cyfeillion. Cymerwch amser digonol i chwilio a chraffu cyn dewis neb yn gyfaill mynwesol, ac amlygu eich cyfrinachau iddo. Wrth ddewis, cofiwch y byddwch yn sicr o fenthyca ymarferion, nodweddiad, a dull o feddwl ac ymadroddi, i raddau mawr, oddiwrth eich gilydd. Gan hyny byddwch yn ofalus i ddewis y rhai nid yn unig fyddo â rhinweddau ac enwogrwydd yn perthyn iddynt, ond hefyd y rhai lleiaf ac anamlaf eu beiau. Y mae rhai yn ymddibynu gormod ar gyfeillion, gan dybied na chiliant ac na newidiant byth. Ond fe ddywed ereill a gawsant brofiad o'r ddau beth hyn, nad yw cyfeillgarwch ddim ond enw, ac nad yw yn cynwys dim sylwedd. Ond nid yw eithafion byth yn gywir. Y mae llawer iawn o ddoethineb a phrydferthwch yn y sylwadau canlynol: "Ymadroddion melys sydd yn amlhau cyfeillion, a thafod ymadroddus sydd yn amlhau anerchiadau têg. Bydd

heddychol â llawer; eithr bydded dy gynghorwr un o fil. Os myni di gael cyfaill, prawf ef yn gyntaf, ac nac ymddiried iddo ef ar frys am danat dy hun: canys y mae ambell ddyn yn gyfaill dros ei amser ei hun; ac nid erys yn nydd dy drallod di. Ac y mae cyfaill a dry yn elyn ac yn gecrus, ac a ddatguddia dy waradwydd di. Ac y mae cyfaill a fydd cyfranog o'r bwrdd; eithr yn nydd dy drallod di nid erys efe. Ac yn dy fyd da efe a fydd fel tithau, ac efe a fydd hŷ ar dylwyth dy dŷ di. Os darostyngir di, efe a fydd i'th erbyn di, ac a ymguddia o'th wydd di. Ymneilldua oddiwrth dy elynion, a gochel dy gyfeillion. Amddiffyn cadarn yw cyfaill ffyddlawn; a'r hwn a gafodd y cyfryw a gafodd drysor. Eli einioes yw cyfaill ffyddlawn. Na âd hen gyfaill; oblegid nid yw un newydd gystal ag ef."*

Nid all neb fod yn gyfaill i chwi yn hir, os na fydd genych barch diledryw iddo—y cyfryw barch a'ch ceidw chwi rhag ymddwyn yn ysgafn a difater tuag ato ef, ac a'i ceidw yntau rhag ymddwyn felly atoch chwithau. Y mae gormod o deuluedd *(familiarity)* yn annghyson â pharhad cyfeillgarwch.

Fe fydd arnoch gywilydd, cyn hir, garu yr hwn na fydd genych barch neillduol iddo. Ni chanlyna cariad ond ar ol parch. Tuag at ddewis a chadw unrhyw berson yn gyfaill, rhaid i chwi fod yn berffaith rydd oddiwrth y radd leiaf o genfigen ato ef, pa mor uchel ac enwog bynag fyddo ei nodweddiad a'i haeddiannau. Dywed un ysgrifenydd rhagorol fel hyn: "Y sawl a amheuo pa un a ddylai lawenychu yn llwyddiant a goruchder ei gyfaill, gall benderfynu ei fod yn hollol ddyeithr i'r rhinwedd yma."

Gellwch sylwi bob amser, fod y cyfeillachau puraf, a'r rhai a barhânt hwyaf, yn cael eu ffurfio oddiar ansoddau rhinweddol y galon, yn hytrach nag oddiar eiddo y pen. Byddai yn ddrwg genyf argraffu y tybiant ar feddwl y darllenydd, nad all ansoddion gwychaf y galon gydfyned â'r nodweddiad dealltwriaethol uchaf; ac yr wyf yn hollol benderfynol nad oes un rheswm nad allant.

Ansawdd rhagorol mewn cyfaill yw callineb *(prudence)*. Nid yw dadwrdd ac aidd ymddangosiadol yn

* Iesu ab Sirach.

arwyddion o allu ac ewyllys da bob amser. Tuag at gael cyfaill gwirioneddol a chywir, rhaid i chwi benderfynu ymddwyn yn mhob peth tuag ato ef, fel y dymunech iddo yntau ymddwyn tuag atoch chwithau.

Nid yw yn hanfodol angenrheidiol fod y chwaeth a'r tueddiadau yn gyffelyb, tuag at i'r gyfeillach fod yn gywir a pharhaus. Yr ydym yn hoffi rhyw bethau yn nodweddiad rhai eraill nad ym ni yn feddiannol arnynt. Y maent yn newydd i ni; ac yr ydym yn gweled y gallwn gyflawni ein diffygion ein hunain oddiwrthynt.

Ystyrir nodi beiau, a cheryddu, yn ddyledswydd arbenig ar gyfeillion; ond dylid cofio mai dyledswydd beryglus iawn ydyw. Dylai gael ei chyflawni yn bur dyner a charedig, ac nid yn rhy aml. Ar y cyfan, nid wyf yn credu mai dyledswydd uniongyrchiol cyfaill ydyw nodi beiau, a cheryddu am danynt; ond yn hytrach eich cynorthwyo mewn ymchwiliadau goruchel a theilwng; rhoddi ysbryd i chwi, a'ch calonogi nes gorchfygu pob rhwystr. Ai y teuluoedd hyny ydynt y rhai dedwyddaf, lle y mae pob aelod yn ymroddi i chwilio beiau eu gilydd? Pell oddiwrth hyny. Os ydych yn ewyllysio llwyddiant eich cyfaill, bydded i chwi ei galonogi a'i gynorthwyo ef pan fyddo mewn digalondid ac helbulon. Coleddwch hen gyfeillion: ond rhaid i chwi ffurfio rhai newydd hefyd; canys y mae y cyfnewidiadau a achosir trwy symudiadau a marwolaeth mor aml, fel, yn gyffredin, y bydd yr hwn nad yw yn ffurfio cyfeillion newydd yn awr, heb un cyn bo hir. Efallai nad oes achos i mi sylwi, fod yn hanfodol angenrheidiol bod cariad at wirionedd yn llywodraethu tuag at gael cyfeillion. Nid ydym yn hoffi cyfeillio â neb y gellir amau eu geirwiredd yn y radd leiaf. Pan y defnyddir iaith yn gyfrwng i dwyll, rhaid i bob dyn dori ei gyfeillach oddiwrth ereill, trigiannu yn ei ogof ei hun, a chwilio am yspail yn unig iddo ei hunan; ac ofer iddo ofyn neu geisio cyfaill.

Wedi aros ychydig fel hyn ar y pwnc, fy nymuniad yw, fod i fy holl ddarllenwyr gael cyfeillion—a chyfeillion cywir a diduedd; a gwn nad allant eu cael oni fydd diwylliant y galon yn rhan o'u hymarferion dyddiol, er eu gwneyd yn addas i gael eu caru. Nid all y goeden fyw a chynyddu heb lawer o ofal; ond os gofalir

yn iawn am dani, hi a ddwg ffrwyth toreithiog dros lawer o flynyddoedd. Pa sawl gwaith y teimlodd calon fy narllenydd wrth anerchiadau tebyg i hyn: "Yr oedd eich tad a finau yn gyfeillion agos!" Nid all cyfeillach leihau yr un llawenydd wrth gael cyfranogydd; ond y mae yn gloywi y naill a'r llall. Ac ar yr un pryd y mae yn lleihau gofid yn mhob ystyr, trwy ranu y baich.

## PENNOD III.

NIFER ORIAU EFRYD — YSTUM Y CORFF — BOD YN DRWYADL MEWN EFRYD—EFRYD CALED—ADOLYGU —AMRYWIAETH.

Pan oedd cymdeithion unwaith wedi blino yn lân wrth geisio rhoddi ŵy i sefyll ar ei ben, fe'u synwyd yn fawr wrth symledd y peth pan welsant Columbus yn gwneyd hyny. "Tw! fe all pawb wneyd hyna." "Pam na buasech chwi yn ei wneyd o, ynte?" oedd yr atebiad. Ymddengys mai gwaith digon hawdd yw efrydu. Dyna'r ystafell—dyna'r llyfrau—a dyna'r wers! beth arall sydd eisiau? Y mae arnoch eisiau gwybod pa fodd y mae dechreu gweithio—*pa fodd i efrydu.* Y mae y rhwystrau sydd ar y ffordd i efrydu yn aml a gofidus, hyd yn nod pan nad oes gan yr efrydydd ddim arall i'w wneyd—yr un gofal i'w flino, nac un baich o unrhyw natur i'w gario. Rhaid i ni ganiatau peth coll gogyfer âg afiechyd, digalondid, diflasdod at efrydu, collamser wrth ddarllen llyfrau diwerth, anwybodaeth o'r llwybr goraf i efrydu; ac yn neillduol gogyfer â'r syrthni naturiol a greddfol sydd yn attal rhag cyflawni y dasg o geryddu crwydriadau y meddwl, a'i ddwyn yn ol at y pwynt penodedig. Rhaid i chwi ystyried ac ymfoddloni yn hyn, nad all neb fyned yn mlaen mewn cylch efrydol, heb gyfarfod â rhwystrau oddimewn ac oddiallan. Ac yn wir, y mae yn dda mai felly y mae! canys ychydig iawn o amser a ellir ei gael mewn bywyd llafurus heb ryw rwystr neu gilydd. Rhaid i'r meddwl ffurfio yr ymarferiad yma;—ar ol iddo gael ei rwystro a'i dynu oddiwrth ei destyn, bod ganddo allu i ddwyn ei hunan yn ol eilwaith at y pwynt,

a pharhau yn yr un drefn o fyfyrio ag y cychwynodd ynddi ar y cyntaf. Nid ydych wedi eich parotoi yn ddigonol i fywyd cyhoeddus, os nad yw y gallu yma genych: ac yn ol y graddau y byddo hwn genych, felly y teimlwch rwystrau bychain yn bwysig neu ddibwys. Cynygiaf wneyd rhai sylwadau mewn perthynas i efryd, a ymddengys i mi yn wir angenrheidiol.

I. *Nifer yr oriau i efrydu yn mhob diwrnod.*—Nid ellir nodi amser penodol i bawb; rhaid i hyny amrywio yn ol amgylchiadau. Y mae meddwl araf yn gofyn mwy o amser na meddwl cyflym; ac fe oddef hyny yn well hefyd. Y mae yn well o lawer, yn fy nhyb i, rwymo y meddwl yn hollol at y pwynt, ac efrydu yn galed am ychydig o oriau, na'i gadw yn weddol am lawer mwy o amser. Fe all y dyn cyhoeddus sydd yn efrydu yn galed am chwe awr yn y dydd, ddysgwyl ac hyderu y saif e yn uchel yn ei alwedigaeth. Ond sylwch—rhaid ei fod mor ddwys ag y dichon y meddwl ei oddef. Rhaid i'r bryd fod wedi ei lwyr lyncu, a phob tybiant wedi ei alw i mewn, a'i droi ar y pwnc mewn llaw; yn debyg fel y mae y gwydr yn casglu pelydrau yr haul i un pwynt i'r dyben o wneyd iddynt losgi. Na alwch ddarllen cymysglyd yn efrydu; nac unrhyw ddarllen er mwyn adfywiad neu ddifyrwch: nid efrydu yw hyny. Ymdrechwch gael cymaint ag a alloch o'ch oriau efrydol yn y bore. Y mae y meddwl y pryd hyny mewn hwyl dda.

II. *Na fyddwch yn ddifater am ystum y corff wrth efrydu.*—Y mae rhai dynion yn ymarfer o'u hieuenctid efrydu wrth fwrdd isel. Dylid gochelyd hyn; canys, fel y cynyddoch mewn dyddiau, fe fydd y rhan hyny o'r corff sy rhwng y cluniau a'r ysgwyddau yn gwanhau yn raddol, nes peri i chwi gerdded yn grymedig. Sefyll yw y dull goraf i efrydu, os dechreuir felly. Wrth ysgrifenu, efrydu ieithoedd, a'r rhan fwyaf o ranau gwyddoniaeth, y mae yn rhaid bod yn yr un fan. Byddai yn dda pe gallech gymysgu y dull, eistedd rhan a sefyll rhan; ond yr olaf a ddylai fod fwyaf. Fel y cynyddwch mewn dyddiau, bydd yn naturiol i chwi eistedd mwy a mwy, nes o'r diwedd iddo ddyfod yn ymarferiad. Ychydig o ddynion dros ddeugain oed sydd i'w gweled yn sefyll wrth eu llyfrau. Os byddwch yn

cyfansoddi, yn darllen, neu yn dysgu allan, y mae yr ystum yma yn bur gymhwys. Gofalwch fod eich bwrdd yn ddigon uchel. Gochelwch rhag eistedd mewn cadair â'ch papyryn ar ei braich. Y mae eistedd yn y fath ystum yn rhoddi nydd-dro yn y corff, yr hyn sydd yn achosi afiechyd a marwolaeth yn aml. Dylai osgo fod yn eich bwrdd; ac os bydd yn ddichonadwy, cyflëwch o fel byddo y goleuni yn disgyn arno o'r tucefn i chwi. Fe fydd hyn yn ddaioni i'r llygaid. Wedi nos, byddai yn dda i chwi gysgodi eich llygaid rhag llewyrch y ganwyll neu lusern; ac os byddant yn weinion, gofalwch eu golchi mewn dwfr oer y peth olaf y nos a'r peth cyntaf y bore. Wrth ddewis ystum, y pwnc mawr yw cadw y corff mor unionsyth ag y gellir. Dylid ymgadw er dim rhag plygu yn y fron.

III. *Byddwch yn drwyadl yn eich efryd.*—Y mae myned tros faes eang o efryd yn cael ei gydmharu, yn dra phriodol, i oresgynu gwlad neu deyrnas. Os bydd i chwi orchfygu yn drwyadl bob peth a gyfarfyddwch, chwi ewch yn mlaen o fuddugoliaeth i fuddugoliaeth: ond os gadewch gastell neu amddiffynfa yma a thraw heb ei ddarostwng, fe fydd yn angenrheidiol ail oresgyn yr un ffordd cyn hir.

Y mae y fath siomedigaeth a choll o hunangymeriad yn canlyn yr ymarferiad o fyned tros bethau yn arwynebol, fel y dylid bod yn drwyadl pe na bae dim yn y golwg ond cysur personol. Ar y cyntaf fe fydd eich symudiad yn araf, ac fe allai yn bur araf; ond yn yr hynt faith a manol sydd o'ch blaen, chwi fydd yr ennillwr yn y diwedd. Pa mor fynych yr wyf wedi gweled dyn â meddwl naturiol gloyw iawn, yn cael ei gythruddo a'i iselu, yn unig o eisiau manylwch? Fe hòna ryw bwnc, ac a ddywed mai dyfyniad o ryw awdwr enwog ydyw. "A ydyw Burke ddim yn dywedyd felly?" "Nid wyf fi yn ei ddeall ef yn y goleuni yna," medd rhyw wrandawydd manwl. Yn awr dechreua betruso ac ymesgusodi, gan ddweyd fod llawer o amser er pan y darllenodd e Burke, ond fel hyny yr oedd yn tybio. A ydyw e ddim wedi ei ddarostwng yn ngolwg pawb yn y fan, ac yn ei olwg ei hun hefyd? Ac er hyny y fath yw ei ymarferiad, fel yr aiff eto i sangu yr un tir gyda'r un brys a phetrusder. Edrychwch ar y ddwy fferm sydd yn ymyl eu gilydd.

Y mae yr amaethwr wedi rhedeg dros un mewn brys a chyflymdra neillduol. Mewn un man y mae darn gwael o weirdir, ac yn y fan arall y mae caeaid gresynol o lafur. Y mae yn cyrhaedd dros lawer o dir, ond nid oes un darn o hono wedi ei drin yn dda. Y mae y fferm arall â'i chloddiau yn drefnus, ei chaeau yn ddosparthus, a'i holl dir dan driniaeth angenrheidiol. Felly gellir dysgwyl i bob erw fo wedi ei thrin fel hyn gynyrchu cnwd penodol a thoreithiog. A ellir amau pa un o'r ddwy fferm yw yr un fwyaf buddiol? neu pa un o'r ddau amaethiad yw y callaf?

Pa faint gwell ydyw gwybodaeth—y fath yr ydych yn drwyadl ynddi—na rhyw dybiadau ansicr gwedi eu ffurfio yn rhywle yn ngororau dysg! Gwna un wers neu un llyfr wedi ei ddeall a'i bwyso yn drwyadl, fwy o les i chwi na deg o wersi neu o lyfrau gwedi eu hanner efrydu.

Pan fyddo ar eich meddwl ymeangu mewn rhyw dybiant, neu chwilio rhyw bwynt i fanyldra ac eglurdeb, na adewch o nes y byddoch yn feistr arno. Edrychwch arno yn mhob goleuni. Ystyriwch pa sawl ffordd y gellwch ei amlygu, a pha un yw y feraf a'r oraf. Ac os bydd arnoch chwant helaethu arno yn mhellach, edrychwch beth a ddywed yr awdwr hwn a'r awdwr arall; ond odid na chewch grybwyllion gan rai, os nad gan yr oll o honynt, na feddyliasoch am danynt erioed o'r blaen. Trwy feistroli pob pwnc fel hyn wrth fyned yn mlaen, er na fyddwch yn myned tros lawer o lyfrau, chwi a gynyddwch yn rhyfeddol mewn gwybodaeth gywir a defnyddiol. Nid yw gadael materion yn anmhenderfynol, a'r meddwl heb ei foddloni yn y pethau ag yr ydym yn eu hefrydu, yn ddim amgen na lluosogi rhyw hanner-dybiau, a magu cymysgedd ac annhrefn yn y meddwl. Llwybr ydyw i wneyd dyn yn goegathraw, ac nid yn ysgolhaig.

IV. *Meddyliwch am ddyfod yn gynefin âg efrydu yn galed.*—Gall efryd a fyddo yn galed i un dyn, fod yn hawdd i ddyn arall. Ac nid hyny yn unig, ond dichon i'r efryd a fo yn hawdd i chwi heddyw, fod yn dra blinderus amser arall. Deillia hyn o'r anhawsdra sydd i gaethiwo y bryd. Pe byddai yr iechyd a'r amgylchiadau allanol yr un fel, byddai efrydu yr un mor ddifyr

bob amser, pe bae genym yr un llywodraeth ar y bryd. Ond pwy o'r sawl sydd wedi profi hyny, na wyr faint hawddach yw efrydu ar ddiwrnod oer ac ystormus yn y gauaf, pan y mae pob peth yn wrthyrddol *(repulsive)*, nag ar ddiwrnod têg a chynhes yn y gwanwyn, pan y mae holl natur megys yn eich gwahodd allan, a phan y mae yr enaid megys yn gwrthryfela yn erbyn pob carchariad efrydol? Rhaid i chwi ragfeddwl ac ystyried am efrydu lawer gwaith pan y mae yn ddigon annymunol o ran teimladau—pan y mae y meddwl yn ymdeimlo yn wan, a'r corff yn llesg, ac hyd yn nod mewn poenau. "Gellir meddiannu rhai pethau trwy rym, neu eu prynu âg arian; ond ennillir gwybodaeth yn unig trwy efryd."

Y mae y gallu o gaethiwo y bryd mor fanteisiol, fel y teimlodd rhai personau a ddifeddiannwyd o'u golwg gan ragluniaeth, yn eithaf boddlawn i gyfnewid pob peth sydd yn firain, yn hawddgar, neu yn hoenus, a dderbynir gan y llygad, am y gallu chwanegol i lywodraethu y bryd a gyfrenid iddynt trwy y coll hyny. Ystyriai y galluog Dr. Dwight fod y golled a gafodd o'i olwg yn fendith fawr iddo, yn gymaint ag i hyny gryfhau ei fryd, a'i orfodogi i feddwl mwy. Y mae gosod y bryd yn beth mor bwysig, fel y gellwch bwyntio at ddynion clodfawr, a dweyd, "Nid oedd y dyn hwn neu y dyn arall yn enwog am ei ysgolheigdod, na dim arall oddigerth ei bendewrwydd, pan yn ieuanc." Gall hyn fod yn wir. Ond y mae un peth eto yn wir, ac yn sicr o fod felly, a hyny ydyw, na ddaeth y dyn hwn, nac un dyn arall, erioed yn nodedig am ei allu dysgeidiol, heb efrydu yn ddwys a chaled ryw bryd neu gilydd. Efallai iddo ei esgeuluso i raddau mawr pan yn ieuanc; ac os felly, yr oedd y gorchwyl yn galetach pan y daeth ato. Ond yr oedd yn rhaid iddo wneyd hyny ryw bryd.

Dan y pen yma chwanegaf, na fydd i'r sawl a ddysgybla ei feddwl trwy efryd caled, ac a adeilada ei feddwl trwy yr ymarferiad o fyfyrio yn ddwys, ymrafaelio a chwerylu â'r hyn fyddo yn ei efrydu. Daliwch hyn yn y cof, mai dyben mawr efryd yw parotoi ac addasu y meddwl i fod yn offeryn defnyddiol trwy yr einioes. Yr ydych yn awr wrth efryd caled, sych, ac

annifyr: ac nid oes dim ynddo a ellwch ei ddefnyddio ar ol hyn. Gadewch i hyny fod. Ond os gellwch orfodogi y meddwl i feistroli yr efryd caled, sych, ac anhyfryd hyny, yr ydych yn ei addasu i ufyddhau i chwi trwy eich bywyd, ac i gyflawni yr hyn a orchymynwch iddo ei wneuthur. Bydd yn ddigon buan i chwi efrydu y pethau hyny ag y bwriadwch eu defnyddio, pan fyddoch wedi addasu y meddwl i'w meistroli hwynt; a thyna'r pryd y mae eu heisiau.

Yr ydych yn myfyrio mesuriaeth yn awr. Efallai y byddwch mor brysur trwy eich bywyd, ac y bydd raid i chwi ddefnyddio eich amser yn y fath fodd, fel yr annghofiwch bob gosodiad, ac na fydd dim ond enw y llyfr yn aros gyda chwi. Ond fe ddywed Plato, a phob dyn arall sydd wedi myfyrio mesuriaeth, y cryfha hyny eich meddwl, ac y cynorthwya hyny chwi i feddwl gyda manyledd. Er nad oes arnoch angen daearyddiaeth ac amseryddiaeth yn awr, eto fe fydd cyn hir, i'r dyben o olrhain gwahanol deithiau athroniaeth, ac i'r dyben o feddiannu drychfeddwl cywir am hanesiaeth, a barnu cywirdeb y cyfeiriadau a'r cydmhariaethau y cyfarfyddir â hwy mor aml mewn gweithiau athrylithgar. Y mae athroniaeth yn agori y meddwl, ac yn rhoddi llygaid iddo oddifewn ac oddiallan, fel y cerub yn ngweledigaeth Ezeciel. Y mae yn darostwng natur dan ein llywodraeth, ac yn derchafu ein syniadau at y Creawdwr. Y mae y meddwl yn cael ei wneyd yn fwy haelfryd trwy bob efryd o'r fath yma; ac heb hyn nid all gyraedd chwaeth cywir, na gwir fawredd.

Llwyrymroddwch i fyned yn mlaen bob dydd mewn cylch diwyro. Dywed un ysgrifenydd rhagorol fel hyn—"Y dull mwyaf cyffredin yn mhlith dynion ieuainc nad ynt lwyrymroddol o honynt eu hunain, yw gofyn cynghor rhyw gyfaill, a chanlyn hyny am dymor—yna gofyn cynghor un arall, a throi at hyny—ac felly y trydydd, gan barhau yn wamal a chyfnewidiol. Ond cofiwch fod pob cyfnewidiad o'r fath yma yn dra niweidiol. Dichon i ddynion ddweyd wrthych eich bod yn anaddas i ryw alwedigaeth benodol; ond na wrandewch arnynt. Pa orchwyl bynag fyddo genych, yr ydych yn ddigon addas a galluog iddo, os dylynwch ef gyda diwydrwydd a dyfal-barhad. Gall cyneddfau cyffredin

ddysgu rhanau ymarferol unrhyw alwedigaeth; ïe hyd yn nod pe bae y meddwl i raddau yn ol mewn gallu i ganfod ac amgyffred peth, dichon i'r cyfryw fod yn ddefnyddiol i raddau mwy neu lai. Bob amser braidd, y mae cyneddfau mawrion a galluog wedi bod yn llai defnyddiol i'w perchenog na rhai cyffredin. Cydmherir yr einioes weithiau i redfa; ond gwellêir y gydmhariaeth trwy sylwi, mai y rhai cyflymaf ynt y rhai mwyaf anhawdd eu rheoli."

Y mae perygl mawr i ni ymfoddhau mewn esgeuluso efrydu yn galed, dan y drychfeddwl nad yw ein hamgylchiadau yn caniatau. Yr ym yn dueddol i gwympo i mewn i'r golygiad cyffredin hyny, fod dynion yn cael eu gwneyd trwy amgylchiadau—eu bod yn cael eu dwyn yn mlaen, a'u nodweddiad yn cael ei ffurfio fel hyn—ac y byddai pawb bron yn fawr, yn alluog, ac yn enwog, pe bae eu hamgylchiadau yn caniatau. Nid oes un amheuaeth nad yw dynion yn swrth wrth natur ac ymarferiad; a bod yn angenrheidiol iddynt wrth ryw symbylau llymion i ddeffroi eu cyneddfau, a'u galw i weithrediad. Ni a wyddom nad yw y rhan fwyaf o ddynion yn cyflawni ond ychydig iawn. Ond a wnaent hwy pe bae eu hamgylchiadau yn wahanol? Ai nid ellir cyfnewid y dywediad, a dweyd gyda phriodoldeb mawr, fod dynion yn gwneyd amgylchiadau? Edrycher ar John Milton. Beth oedd yn ei amgylchiadau ef yn ei rwymo i fawredd? Yr oedd goleuni y nef wedi ei gau oddiwrtho; ac yn ei sefyllfa buasai y rhan fwyaf yn meddwl fod yn ddigon o orchwyl canu baledi o ddrws i ddrws, a'r cyffelyb. Ond y mae Milton wedi enwogi ei oes, ei genedl, a'i iaith, ac wedi cyneu lamp o anrhydedd na ddiffoddir hyd nes y dilëir y greadigaeth o fodoliaeth. Ond dyma y swn o hyd:—"Nid oes genym ni ddim amgylchiadau addas—ddim cyfleusderau—ddim arfau: nid allwn ni wneyd dim." Gwneyd dim! Clywch beth a ddywed y galluog Gadeirtraw Stuart: "Os bydd dyn yn caru efryd yn wirioneddol, a chanddo ymlyniad awyddus at feddiannu gwybodaeth, nid oes dim ond saldra neu anffawd *(misfortune)* neillduol a'i rhwystra rhag bod yn efryddydd, a meddiannu moddion efryd i raddau helaeth. Y gwir yw, pan y mae dynion yn gyffredin yn cwyno eisiau amser neu foddion efrydu, nid yw hyny ond dang-

hosiad eu bod hwy yn fwy ymlynedig â rhyw wrthddrych arall, neu nad oes ganddynt ddim o ysbryd efrydydd.

"Efallai y clodforant ereill am efrydu, ac yr edrychant gyda math o syndod ar eu cyrhaeddiadau; ond am danynt eu hunain, nid allant hwy hebgor hyny o amser a thraul sydd yn angenrheidiol at y cyfryw gyrhaeddiadau. Neu ynte, cyfrifant hyny i'w gostyngeiddrwydd, ac ymlawenychant nad ynt hwy yn uchelfrydig. Ond yn gyffredin, cariad at y byd neu ddiogi yw y gwreiddyn gwirioneddol. Pe bae ganddynt fwy o rym a phenderfyndod yn eu nodweddiad, a phe defnyddient yr amser gwerthfawr y maent yn ei dreulio yn ofer, gallent agori holl drysorau y dwyrain a'r gorllewin, a'u defnyddio i'w gwasanaeth eu hunain. Gallai y rhan fwyaf o'r dynion yma gyrhaedd gwybodaeth wech o'r Hebraeg a'r Groeg, pe baent ddim ond defnyddio gyda diwydrwydd yr amser a oferdreuliant yn awr, am dair neu bedair blynedd. Tra y mae un yn gwag-ohirio yn ei benderfyniad, pa un oraf iddo efrydu rhyw iaith ai peidio, y mae y llall wedi ei dysgu. Dyma'r gwahaniaeth sy rhwng gweithredu yn fywiog a phenderfynol mewn gorchwylion llênyddol, a bod yn wan-galon, amheus, neu swrth. Yr hyn sydd yn waeth na'r cwbl yn yr efrydyddion sydd yn ymdroi gydag amgylchiadau ac amser, yw, pe y rhesymech â hwy, a dangos iddynt eu bod yn myned yn mlaen mewn llwybr cyfeiliornus, nid yw yr argyhoeddiad hyny yn gweithredu arnynt ddim hwy nag y daw y gylchias *(paroxism)* nesaf o syrthni neu ysbryd bydol i ymaflyd ynddynt. Y mae y swynwyr hudolus yma yn suo pob gallu bywiol yn y meddwl i gwsg. Ac y mae y dyn twylledig sydd wedi gwrando ar eu llais, yn cael ei hun, pan yn ddeugain oed, bron yn yr un fan ag ydoedd yn ddeg-ar-hugain. Yn hanner cant y mae yn dechreu adfeilio. Yn driugain y mae pawb yn ddifater o hono, ac yntau o'r herwydd, yn gyffredin, yn teimlo annyngarwch. Ac os bydd mor anffodus a byw hyd ddeg-a-thriugain, y mae perygl i bawb deimlo yn anhyfryd o eisiau ei fod wedi ei symud i well byd."

V. *Cofiwch mai y pwnc mawr tuag at fod yn llwyddiannus a manwl fel efrydydd, yn nesaf at ddybarwch, yw yr* YMARFERIAD BEUNYDDIOL O ADOLYGU, *neu alw i*

*gof yr hyn a ddysgasoch.*—Yr wyf eisioes wedi son am y cof. Yma dymunwn ddweyd gair o barth ei ddefnyddioldeb yn eich prif efrydion. A ddarfu i chwi erioed geisio gyru rhyw feddyliau allan o'ch cof, a methu? Ac, a ddarfu i chwi erioed geisio galw i gof ryw feddyliau neu drefn o dybiant, a pha fwyaf yr ymdrechech i hyny, pellaf oll yr oedd yn myned oddiwrthych? Y rheswm yw, fod y cof yn caru rhyddid, ac yn dirmygu cael ei orfodogi.

Gan hyny y llwybr cywir i sangyd ynddo ydyw meithrin y cof gymaint ag a ellir, heb ei wanhau trwy ei garcharu. Y mae yn hoffi arfer ei alluoedd yn rhwydd o hono ei hunan, heb unrhyw ddirgymhelliad. Y mae plant yn aml yn dysgu rhes o eiriau Groeg a Lladin heb un ymdrech yn y byd, yn unig wrth glywed ereill yn eu hadrodd. Adwaenwn Babydd annysgedig a allai adrodd y rhan fwyaf o weddi yr Arglwydd, a rhan fawr o lyfr yr offeren *(missal)*, y cwbl yn Lladin, heb ddeall dim o'r ystyr, yn unig trwy glywed adroddiad mynych o honynt. A'r rhai fuont fwyaf llwyddiannus yn dysgu unrhyw iaith, a wnaethant hyny trwy ddarllen dro ar ol tro y rhan hyny a ddymunent ei hargraffu ar y cof. Wrth ddysgu gramadeg, er anghraifft, ni ddylid caethiwo y meddwl yn rhy hir ar y tro; ond yn hytrach dwyn yr holl fryd at y pwnc tra yr ydych yn efrydu, a myned dros yr un wers yn aml—adrodd y wers allan, fel y gallo ddyfod i'r meddwl trwy gyfrwng y glust yn gystal a'r llygad—yna cymeryd gafael yn y pin, ac, ar ol rhoddi y llyfr o'r neilldu, ysgrifenu y cwbl i lawr. Yn y dull yma o fyned yn mlaen, y mae y llygaid a'r clustiau yn cael eu defnyddio; ac ar yr un pryd y mae y meddwl yn cael hamdden a chyfleusdra i sylwi ar bob sain, sillaf, a llythyren. Bydd y drefn yma yn bur araf ar y cyntaf; ond hi a fydd yn bur effeithiol—gwna hyn chwi yn feistr trwyadl yn y pwnc, a rhydd galondid i chwi yn fuan. Ni wna dim rhwystrau newyddion eich digaloni yn y radd leiaf.

Y mae yr anhawsder mawr i ddysgu gramadeg yn deilliaw oddiwrth debygrwydd y geiriau a'r pethau a osodir gerbron. Y mae tebygrwydd yn dyrysu y meddwl. Pe yr aech i faelfa *(shop)* oriorydd, a gweled ugain oriawr mewn cistan, er i enw gwahanol fod ar

bob un, eto nid allech nodi y naill oddiwrth y llall dranoeth. Ond bwriwch eich bod yn myned bum niwrnod yn olynol, ac yn dal sylw manwl ar bedair bob dydd. Fe nodai yr oriorydd y gwahaniaeth yn ofalus:—Dyma oriawr gyffredin; ac a ddengys ei pheiriannwaith a'i holl ranau. *Patent lever* yw hon; ac a ddengys fel y mae yn gwahaniaethu oddiwrth y flaenaf. *Lepine* yw y drydedd; y mae rhanau hon yn bur wahanol eto. *Chronometer* yw y nesaf, ac y mae yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth bob un o'r lleill. Dywed wrthych beth yw priodolder y naill a'r llall, ac a'u cymhara â'u gilydd. Yr ail ddiwrnod chwi a adgofiwch y cwbl a ddywedodd; a thrwy ei adolygu yn fanwl yn y meddwl, chwi a argraffwch enw, nodwedd, a phriodolderau pob un yn y cof. Wedi hyny chwi a symudwch at yr ail bedair. Chwi a ewch yn mlaen yr un fel, gan adolygu bob dydd yr hyn a ddysgasoch y diwrnod o'r blaen. Felly, yn niwedd y pum niwrnod, medrwch adrodd o'ch cof enw a gallu pob oriawr: ond cyn y drefn yma y cwbl a allech ei wneyd oedd cofio mai ugain oedd eu rhif, a'u bod wedi eu gosod yn bum rhes wahanol. Yn awr efrydwch y gramadeg gyda'r un manylrwydd, ac yn yr un dull, ac felly ni achwyna y cof ei fod yn dyrysu, ac yn methu dal yr hyn a roddasoch iddo i'w gadw.

Dywed y diflino Wyttenbach, (a phwy a allasai ddywedyd yn well oddiar brofiad?) fod yr arferiad o adolygu "yn gymhorth anhygoel i fyned yn mlaen yn llwyddiannus:" "ond," medd ef eto, "rhaid ei fod yn adolygiad gwirioneddol a thrwyadl; hyny yw, rhaid myned trwyddo eilwaith ac eilwaith. Y peth a feddyliwyf yw hyn, y dylid bob diwrnod adolygu tasg y diwrnod blaenorol; yn niwedd pob wythnos, tasg yr wythnos; ac yn niwedd pob mis, gwersi y mis."

Pe defnyddid dim ond chwarter awr bob dydd i adolygu, nid yn unig fe gadwai hyn y cwbl a fyfyriwyd gan y dyn yn fywiog yn y meddwl, ond hefyd rhwyddhäai ei fynediad yn mlaen yn neillduol. Ac na ddysgwylied un dyn ddyfod yn ysgolhaig cywir heb ffurfio yr ymarferiad yma. Bydd rywbeth yn annymunol ar y cyntaf; ond nid ond ar y cyntaf. "Wrth ddarllen ac efrydu Memorabilia Senophon, gwnaethym o yn

rheol i beidio â dechreu ar unrhyw adran heb ail ddarllen yr adran flaenorol; na phennod na llyfr, heb fyned dros y bennod a'r llyfr ail dro: ac ar ol gorphen y gwaith yn y dull hyny, darllenais y cwbl eilwaith yn rheolaidd. Parhaodd hyn yn llafur i mi bron am dri mis; ond fe dröodd allan yn y diwedd yn rhagorol. Y gyfryw oedd effaith mynychiad, fel pan y symudwn o adran neu bennod ar ol ail ddarlleniad, y byddwn wedi cael rhyw gynhyrfiad a'm dygai trwy bob gwrthwynebiad a rhwystr; fel cwch, a defnyddio cydmhariaeth Cicero mewn amgylchiad cyffelyb, yr hwn, wedi y derbynio ddyrawr *(impulse)* unwaith oddiwrth y rhwyf, sydd yn parhau i fyned yn mlaen ar ol i'r morwr roi heibio y gorchwyl o'i yru."

Pa mor wahanol yw hyn i arferiad y rhan fwyaf! Y mae y rhan hyny o'r ffordd ag y maent hwy wedi ei theithio, yn orchuddiedig gan niwl; a phan edrychant yn ol, nid allant ganfod dim ond niwl. Edrychant yn mlaen, ac y mae yr awyrgylch, pe bae bosibl, yn fwy tywyll fyth. Y mae y ffordd yn ymddangos yn faith, ac y maent bob amser yn amheus pa le y maent. Gall y neb a fyno deithio mewn niwl; ond nid er cysur na sicrwydd y pryd hyny, na chydag un argraff ar y cof, fel y gellir ei adgofio ryw amser dyfodol.

VI. *Dysgwch ddifyru ac esmwythâu y meddwl trwy amrywiaeth yn eich myfyrdodau, yn hytrach na thrwy lwyrymattaliad oddiwrth efrydu.*—Ychydig a allant gaethiwo y meddwl at fyfyrdod caled, nac at un pwnc am amser maith; gan hyny, pan y maent yn llesgâu, gadawant i'w syniadau fyned ar goll. Er anghraifft, bwriwch eich bod yn myfyrio Groeg y Testament Newydd, neu ryw un o'r gwyddoregau. Chwi a fyddwch wrthi yn ddyfal—dywedwn am dair awr. Y mae y corff yn llesgâu, a'r meddwl yn blino. Yna yr ydych yn gorphwys, yn taflyd y llyfrau o'r neilldu, ac yn segura efallai gymaint o amser ag y buoch yn efrydu. Yn awr y mae yr amser yma mewn ystyr wedi ei golli. Yr ydych yn annghofio fod y meddwl yn cael ei adfywio gymaint trwy amrywiaeth a thrwy segurdod. Pan roddoch un heibio, ymaflwch yn y llall, a chwi a ryfeddwch y fath adfywiad ydyw wrth adolygu eich gwers ddiweddaf. Neu, gwnewch gofnodiadau yn eich

coflyfr ar y pwnc diweddaf ag y buoch yn ei ddarllen; neu ynte, trowch eich meddwl i bwyso yn ol ac yn mlaen y pwnc nesaf ag y byddoch yn bwriadu cyfansoddi arno. Chwi a achubwch lawer iawn o amser yn y dull yma.

Nid oes dim rhyfedd fod ein tadau, yn nghyda'r Ellmyn presenol, yn gallu efrydu un awr ar bymtheg mewn diwrnod. Nid allai un dyn wneyd y fath beth, oni bae ar ol efrydu un pwnc ryw gymaint o amser, nes i'r meddwl flino, iddo droi at bwnc arall: felly adnewyddir y meddwl, a gwneir ef yn fywiog a heinif i weithio eilwaith. Dyma y gwahaniaeth sydd rhwng y sawl nad yw yn colli dim amser, a'r sawl sydd yn colli llawer. Y dynion sydd yn cyflawni llawer yn eu heinioes, ynt y rhai sydd yn mabwysiadu y cynllun yma. Dyma y rheswm fod yr un dyn yn aml yn gallu cynal gwahanol swyddau sydd yn gofyn doniau ac ymdrechion mor wahanol i'w gilydd, ac eto yn cyflawni dyledswyddau y naill a'r llall yn ffyddlawn a chywir. Fel hyn, mewn ystyr, y mae yn brysur bob amser, ac yn gorphwys bob amser.

Fel hyn y darfu i'r enwog Dr. Mason Good, yn hir cyn ei fod yn ddeugain oed, ac yn nghanol trafferthion a dyledswyddau ei alwedigaeth lafurus, ennill gwobrwyon trwy ysgrifenu traethodau—meistroli unarddeg o ieithoedd—cynorthwyo i wneyd Geirlyfr Cyffredinol yn ddeuddeg cyfrol—ysgrifenu ei waith rhagorol ar Efrydiad Meddyginiaeth—ac yr oedd yn feunyddiol yn ysgrifenu ac yn cyfieithu barddoniaeth. Yn lle cael ei ddyrysu gan y fath amrywiaeth o orchwylion pwysig, fe'u dygai yn mlaen y naill gyda'r llall yn y fath fodd, fel na adawodd i un gael ei esgeuluso neu ei gyflawni yn hannerog. Dywed y Dr. E. D. Clarke, "Y mae yr hen ddireb *(adage)*, 'Gormod o heiyrn yn y tân,' yn gamgymeriad mawr. Nid ellwch gael gormod. Y dânffon, yr efail (*tongs*), a'r cwbl, cadwch hwynt oll i fyned." Bydd yr ymarferiad o gadw y meddwl o hyd wrth waith, yn foddion i ddinystrio yr arfer gyffredin o hep-hynt. Bydd y meddwl yn rhy brysur i hep-hynt; ac felly, pe nad ennillai ddim wrth newid testynau mewn ffordd o gyrhaeddyd rhywbeth newydd, ennillai

y boddlonrwydd hyny o beidio â bod yn crwydro mewn tir gwaharddedig.*

## PENNOD IV.

PWYSFAWROGRWYDD DARLLEN—DYBENION DARLLEN—DARLLEN YN BWYLLOG—LLYFRAU DRWG—PA BETH I'W DDARLLEN—PA FODD I DDARLLEN—ADOLYGU—DOSPARTHIANT—NODIADAU—EFFEITHIAU DARLL[illegible].

I. Y MAE pob dyn enwog wedi ymroddi i'r ymarferiad o ddarllen yn fanwl; ac y mae yn annichonadwy cyrhaedd unrhyw radd weddol o ragoroldeb, heb yr ymarferiad yma. "Darllen," medd Bacon, "sydd yn gwneyd dyn cyflawn; cyfeillachu sydd yn gwneyd dyn parod; ysgrifenu sydd yn gwneyd dyn manwl." Nid ellir cyrhaedd yr hyn a eilw yn "gyflawn," heb wybodaeth eang a thrwyadl mewn llyfrau. Nid all un athrylith, nac un gallu i ddyfeisio a chreu drychfeddyliau, gyflawni y diffyg yn yr ystyr yma. Dichon i feddwl tra galluog nodi allan lwybr yma ac acw; ond pwy a ddymunai dreulio ei amser ac ymdrafferthu i chwilio yma a thraw, i geisio cael allan ffordd, neu hyd yn nod i wneyd un, pan y mae meddwl unedig yr oesoedd a'r cenhedlaethau a aethant o'n blaen ni gwedi gwneyd hyny iddo yn mlaenllaw? Mewn trefn i gael barn sad a chywir, rhaid i chwi deithio trwy hanesiaeth oesoedd ereill, a bod yn alluog i gydmharu yr hyn sydd wrth yr hyn a fu. Tuag at gael y meddwl yn rymus, rhaid i chwi ei adfywio a'i nerthu trwy ei ddwyn i wrthdarawiad â'r meirw galluog a aethant ymaith, ond a adawsant eu tybiau anfarwol ar eu hol.

* Y mae y sylwadau dan y pen uchod yn cyfeirio yn benaf at y rhai hyny ynt yn rhoddi eu holl amser, neu y rhan fwyaf o hono, i efrydu. I'r cyfryw y mae amrywiaeth rheolaidd bob dydd, fel y sylwir uchod, yn wir angenrheidiol. Ond i'r efrydydd nad oes ganddo efallai dros ddwyawr neu dair mewn diwrnod i efrydu, y mae amrywiaeth yn yr yspaid hyny o amser yn niweidiol: gwell iddo ymgymeryd â'i holl egni âg un pwnc tra y parhao ei amser efrydol.

Y mae arnom angen i'r meddwl fod yn ymeangu yn feunyddiol, ac yn creu drychfeddyliau newyddion; neu o'r hyn lleiaf fod yn ymborthi ar dybiau dyndidawg *(manly)*. Yr un peth ag yw ymborth i'r gwaed sydd yn cylchdroi yn eich gwythenau, ydyw darllen i'r meddwl. Nid gwiw i'r dyn sydd yn esgeuluso darllen wneyd nemawr yn y byd meddyliol. Nid ellir bod yn gyflawn, fel y sonia Bacon, heb ddarllen, mwy nag y gellir bod yn nwyfus ac iachus heb fwyta. Byddai mor afresymol dysgwyl hyn, fel y sylwa Porter, a phe tybid y rhedai y *Mississippi* â'i llifeiriant dyfroedd i'r môr, er i'r holl ffrydiau sydd yn rhedeg iddi gael eu hattal, a dim mwy i'w hadlenwi ond dyferion damweiniol o'r cymylau.

Y mae rhai yn treulio eu hamser i ddarllen gwaith y dychymyg, tra y mae pob peth sydd yn gofyn y farn i weithredu yn bwyllog a manwl, yn flinderus ganddynt. Y mae dynion ieuainc yn dueddol i ddarllen yn unig er mwyn difyrwch.

II. Gellir dosparthu dybenion darllen i wahanol ranau. Darllena'r efrydydd weithiau er mwyn ymryddhau oddiwrth ddwysder myfyrdod; fel hyn y mae yn cael ei ddadebru megys, a'i ysbrydoedd eu hadfywio. Darllena ffeithiau *(facts)* yn hanesiaeth a phrofiad dynolryw, er mwyn gweled pa fodd yr oeddent yn byw ac yn ymddwyn mewn gwahanol amgylchiadau. Oddiwrth y ffeithiau hyn y mae yn tynu casgliadau; ei olygiadau a helaethir, a'i farn a wellhair; ac fel hyn y mae profiad yr oesoedd gynt, a phob oes, yn dyfod yn brofiad iddo ef. Ond yn benaf, darllena er mwyn addysg, i gasglu gwybodaeth erbyn amser dyfodol; a dylai ei dosparthu a'i threfnu yn y fath fodd, fel y byddo yn hollol barod at ei alwad. Y mae yn darllen hefyd er mwyn arddull, i gael gweled pa fodd y mae awdwr grymus, cynhyrfus, a godidog, yn amlygu ei feddwl.

III. Y mae yn amlwg, tuag at gyrhaedd unrhyw un o'r dybenion hyn, oddieithr difyrwch, y dylid darllen yn bwyllog a meddylgar. Chwi a gewch yn gyffredin nad oes gan y rhai hyny sydd yn darllen llawer iawn o lyfrau, nemawr o wybodaeth gywir a sylweddol. Y mae rhai yn gyfiawn gwedi galw llyfrgell eang, yn rysedd *(luxury)* dysgedig. Y mae darllenwyr cyflym, neu y rhai sydd yn myned tros lawer, yn gyffredin yn

rhai pur ansefydlog. Gall dyn ddarllen llawer, ond eto gwybod ond ychydig iawn. Y mae darllenwr brysgar, ac ysgolhaig cywir, yn ddau nodweddiad gwahanol iawn i'w gilydd. Dywedodd un dyn ag oedd yn gweled yn ddwfn i'r natur ddynol, nad oedd arno ofn un amser gyfarfod â dyn mewn dadl, os byddai ganddo lyfrgell fawr. Ond odid mai y dyn sydd âg ychydig o lyfrau da ganddo, ond yn meddwl llawer, yw y cymhwysaf a'r galluocaf at orchwylion meddyliol. Nid ydym yn golygu nad oes eithriadau i'r sylw yma; ond nid yn mhlith efrydyddion ieuainc. Os ydyw ef am wellhau ei hun trwy ddarllen, rhaid i hyny gael ei wneyd yn bwyllog a dwysfyfyriol. A ddichon i'r cylla dreulio a thynu maeth i'r corff oddiwrth unrhyw ymborth a hyrddir iddo yn ffrystgar a gorlwythawg? Nid am amser maith. Felly nid all y meddwl elwa, na thynu nemawr o fudd oddiwrth yr hyn a ddygir o'i flaen gyda brys a ffrwst mawr. Y mae yn gofyn amser i bwyso a manylu.

Ymddengys fod y manylrwydd neillduol oedd gan yr henafiaid yn myfyrio eu llyfrau, yn cyflawni y diffyg o ran eu hamledd. Yn wir yr oedd eu hamgylchiadau yn eu rhwymo bron i'w myfyrio yn dda. Yr oedd yn rhaid ysgrifenu llyfr y pryd hyny cyn y gellid ei feddiannu: ac y mae yn debyg na chymerai neb o'r drafferth o gynelwi llyfr, heb lafurio i'w ddeall. Cyn y gelfyddyd o argraffu, yr oedd llyfrau mor brin, fel yr anfonwyd cenhadon o Ffrainc i Rufain i erchi ailun *(copy)* o de Oratore Cicero, a de Institutione Quintilian, &c.; canys nid oedd yr un ailun cyflawn o honynt i'w gael trwy holl Ffrainc. Darfu i Albert, mynach o Gemblours, trwy lafur a chost anhygoel, gasglu llyfrgell o gant a hanner o gyfrolau: yr oedd hyn yn syndod. Yn 1494, yr oedd llyfrgell Esgob Winchester yn cynwys rhanau o ddau ar bymtheg o lyfrau ar wahanol bynciau: a phan oedd yn benthyca Beibl o fynachlog St. Swithin, gorfu iddo roddi ysgrifrwym, wedi ei gwneyd gyda difrifwch neillduol, y dychwelai ef yr unrhyw heb ei niweidio.

Pan y byddid yn prynu llyfr, ystyrid hyny o gymaint pwys, fel y gelwid y personau mwyaf anrhydeddus i fod yn dystion. Cyn y flwyddyn 1300, nid oedd llyfr-

gell Rhydychen yn cynwys ond ychydig o draethodau, pa rai a gedwid mewn cist fechan, neu ynte a rwymid â chadwyn, rhag eu colli. Ac yn nechre y 14 canrif, nid oedd llyfrgell frenhinawl Ffrainc yn cynwys ond pedwar o'r uchawdwyr *(classics)*, ac ychydig o rai crefyddol.

Ymddengys nad oedd yn well mewn oesoedd boreach. Yr oedd gwybodaeth megys wedi ei gwasgaru i'r pedwar gwynt; a dysg yn guddiedig mewn pydew. Gorfu i Lycurgus a Pythagoras deithio i'r Aifft, Persia, ac India, i'r dyben o ddeall athrawiaeth y trawseneidiad. Aeth Solon a Phlato i'r Aifft i gael gafael ar wybodaeth. Yr oedd yn rhaid i Herodotus a Strabo deithio i gasglu eu hanesiaeth, a ffurfio eu daearyddiaeth fel y byddent yn teithio. Nid oedd ond ychydig a hònent eu bod yn feddiannol ar lyfrgell; a chyfrifid fod y sawl oedd â hanner dwsin o gyfrolau ganddo, wedi ei anrhydeddu yn neillduol. Ac eto, gyda'r holl brinder llyfrau yma, yr oedd gwell ysgolheigion y pryd hyny na neb braidd yn ein dyddiau ni. Nid allwn ni ysgrifenu barddoniaeth fel Homer, nac hanesiaeth fel Thucydides. Nid oes genym ni y fath allu i gyfansoddi ag oedd gan Aristotle a Phlato, na'r ffraethineb oedd gan Demosthenes, trwy yr hyn y dadgloai galonau ei gydwladwyr. Rhagorent arnom ni mewn paentio a cherfio. Nid oedd eu llyfrau ond ychydig; ond darllenent y rhai hyny yn aml, ac yn hynod o fanwl. Rhoddent ar eu hadnoddau *(resources)* eu hunain i'r eithaf; ac ofer i'r sawl nad allai dynu o'i bydew ei hun, chwilio am gymydogion i fenthyca o'u ffynnonau hwynt. Pa mor wahanol y mae gyda ni! Yr ydym ni yn darllen heb derfyn, a bron heb ddim budd. Direb ragorol mewn cysylltiad â darllen yw, *Non multa, sed multum*, "Nid lluaws, ond llawer."

IV. *Gochelwch lyfrau drwg.*—Y mae rhai dynion gwedi cael eu goddef i fyw, a defnyddio eu galluoedd i ysgrifenu yr hyn a lygra ac a ddinystria am oesoedd ar ol iddynt hwy fyned. Y mae y byd wedi ei orlanw gan y fath lyfrau. A goddefir i'r cyfryw orwedd yn ein ffordd fel rhan o'n dysgyblaeth foesol. Tan lywodraeth foesol Duw, tra yn y byd hwn, fe'n hamgylchir âg hudoliaethau o bob math. Ac nid yw yr

ysbryd drwg yn llawenychu mwy na phan y mae rhyw ddyn galluog yn ymwerthu, nid yn unig i wttresu *(revel)* mewn pechod ei hunan, ond hefyd i gelu ac addurno llwybr sydd yn llawn o geuleoedd, y rhai ynt yn disgyn i ystafelloedd angau. Gellid enwi llyfrau, pe na bae perygl i'r wybodaeth a gyfrenid wrth eu henwi gael ei gwyrdroi a'i defnyddio i'w meddiannu, nad allai holl alluoedd uffern wneyd eu rhagorach i lygru a dinystrio plant dynion. Y mae y rhai hyn i'w cael yn mhob man. Yr wyf yn deisyf ar fy narllenwyr ieuainc i beidio byth â darllen un, byth agor un. Fe rydd ystaen ar yr enaid na ddileir trwy yr einioes.

Beth a ddywedir am y fath weithiau ag eiddo Byron? Ai nid all dyn ieuanc ddarllen y rhai hyny? A all ef ddim dysgu pethau ynddynt, na chaiff mewn un man arall? Yr wyf yn ateb, Gall, yn debyg fel y dysgech wrth gerdded ar ofer tanllyd *(lava)* yr hyn na ddysgech mewn un man arall. Ond a fyddai y wybodaeth hòno o gymaint gwerth ag y talai i chwi ddyoddef angerdd y tân, a'r creithiau a arhosent trwy yr oes? Anadlu awyr a fo yn dyfod o ffwrn boeth ydyw; ac er i chwi ganfod rhyw lewyrch a gloywder yn y ffwrn wrth edrych iddi, eto chwi a deimlech effeithiau niweidiol yr hyn a anadlid am amser maith. Gwir fod ambell fan ysplenydd mewn ysgrifau o'r fath yma; ond os teflir un pelydr o oleuni ar y meddwl, rhaid iddo ddyfod trwy gyfrolau o dywyllwch Aifftaidd. Y mae llawer o berlau yn y llaid yn ngwaelod y môr, ond nid ydynt ond yma a thraw: ac a farnech chwi o yn werth anturio ar eu hol, pe bae lle i gredu y glynech ac y byddech farw yn y llaid; neu ynte, y byddech yn sicr o fyrhau a chwerwi eich einioes, trwy dreiddio ar eu hol?

A ddiolchech chwi i ryw ddyn am ddodrefnu eich llyfrgell, a'i haddurno â llawer o harddwch, os, ar yr un pryd, y llenwai efe hi â'r delwau a'r gwrthddrychau mwyaf arswydlawn, ac i fod yno tra y byddech byw? A ydyw hwnw yn gymwynaswr i'r gymdeithas ddynol, yr hwn, weithiau, a ddygo allan ddrychfeddwl mirain, neu ddelw farddonol; ond tra byddoch yn plygu i'w chodi i fyny, sydd yn cylymu abod *(carcass)* braenllyd ar eich cefn nad ellwch byth ei daflu ymaith?

Yr wyf yn credu y gellir nodi un tudalen yn unig o Byron, a wnaeth fwy o ddrwg i feddyliau a chalonau dynion ieuainc, nag a wnaeth ei holl waith erioed o les. Ond fe'i collir o sylw yn fuan—y mae wedi ei gollfarnu i'w alltudio o lyfrgell pob dyn rhinweddol. Edrychir ar yr abod crogedig am ychydig o amser gyda dychryn: ond fe dry dynion eu golwg oddiwrtho ar fyrder, ac a symudant ymaith hyd yn nod y crogbren ar ba un yr hongiai.

"Ond," meddych chwi, "a ddarllenodd yr awdwr erioed mo Byron a Moore, Hume a Paine, Scott, Bulwer, a Cooper?" Do, darllenodd hwynt oll, a chyda gormod o fanylrwydd. Fe ŵyr am bob craig, a phob sugndraeth; ac a dystia i chwi gyda'r difrifoldeb mwyaf, mai yr unig ddaioni y mae ef yn gydwybodol iddo dderbyn oddiwrthynt, yw ystyriaeth ddwys fod yn rhaid i'r dynion hyny ag oeddent yn feddiannol ar y fath ddoniau eang a galluog, ond a'u camddefnyddiasant,—fod yn rhaid iddynt gyfarfod â dydd y farn dan ofynion na thelid â gwerth y bydoedd. Y mae y rhai hyny a ysgrifenasant i geisio dadsylfaenu neu ddryllio ffydd y Cristion—y rhai hyny a ysgrifenasant i ddangos fel y gallent ymwerthu i nwydau drwg, a bytheirio eu cableddau ar eu cyd-ddynion—a'r rhai hyny a ddifrodasant eu bywyd a'u galluoedd goruchel yn unig i ddifyru drygioni dyn, gwedi syrthio yn anfeidrol fyr o ateb dybenion eu bodoliaeth yn y byd hwn. Rhoddwyd doniau a galluoedd i ddybenion tra gwahanol.

Ond a ydyw o ddim yn angenrheidiol darllen llyfrau o'r fath yma, yn neillduol y rhai hyny a fwriadwyd i ddifyru a deffroi teimladau y darllenydd? Na, nid oes dim mwy o angenrheidrwydd nag sydd i fod yn hysbys â phob dysglaid sydd yn alluog i foddhau yr archwaeth, i symbylu y corff, ac i wanhau y cylla. Pe na bae ond y llyfrau yma yn unig yn y byd, byddai yr achos yn wahanol. Ond pwy na ŵyr fod y rhai sydd yn ymroddi i ddarllen ffugchwedlau, yn gadael cruglwyth o'r llyfrau mwyaf sylweddol a defnyddiol heb erioed eu defnyddio, na gwybod dim am danynt! Pan y byddwch wedi darllen ac amgyffred yn dda bob peth sydd yn wir ddefnyddiol a gwerthfawr,—wedi olrhain dyn yn mhob goleuni yn y gwahanol sefyllfaoedd

y gosodwyd ef ynddynt, yna ymroddwch i ddarllen ffugchwedlau.

V. *Pa fodd y gwybyddwn pa beth i'w ddarllen?*—Gofyniad hynod o bwysig; canys fe wna rhai llyfrau niwaid amlwg i chwi, os na ddinystriant chwi. Y mae ereill na adawant yr un effaith dda. Fe adawa bob un ryw adflas ar y meddwl yn debyg fel y gwna y cymdaith yr ydych yn arferol o gadw. Na feddyliwch am ddarllen y cwbl, na rhan fechan chwaith o'r holl lyfrau a gyhoeddir, ac a gymeradwyir hefyd, yn yr oes lyfrawl hon. Pan yr ymaflir mewn rhyw lyfr, pa fodd y gwybyddir a dâl o ei ddarllen trwyddo ai peidio? Yr un modd ag yr arferwch wybod a ydyw y farilaid ddiod yn un dda ai nad yw. A raid i chwi yfed y farilaid oll cyn y gallwch farnu pa un ai da ai drwg ydyw? Onid yw gwydraid neu ddau yn ddigon? "Y mae genyf rywbeth arall i'w wneyd," ebai Cecil, "yn y diwrnod byr sydd wedi ei gyfranu i mi, heblaw darllen pob peth y mae hwn a'r llall yn gweled fod yn dda ei ysgrifenu. Pan yr wyf yn darllen, yr wyf am wneyd hyny i ryw ddyben da; ac y mae rhai llyfrau yn gwrthebu hyd yn nod ar eu gwyneb-ddalen yr hyn a ystyriwyf fi yn egwyddorion sylfaenol. Y mae yn sicr na ddywedwch chwi ddim fod yn rhaid i mi ddarllen y fath lyfrau a'r rhai hyny. Os dywed rhyw ddyn wrthyf fod ganddo resymiad galluog i brofi fod dau a dau yn bump, y mae genyf rywbeth arall i'w wneyd heblaw gwrando ar ei resymiad." Ond y mae dull llawer iawn hawddach na hyny, a mwy sicr hefyd; a hyny ydyw, ymddwyn at lyfrau fel yr ydych at feddyginiaeth—na fynwch ddim i wneyd â hwy nes y bo ereill gwedi eu profi a thystio eu gwerth. Y mae digon o lyfrau gwedi eu profi, yn nghylch pa rai nid oes na dadl nac amheuaeth, fel nad oes angenrheidrwydd i chwi fod mewn diffyg am lyfr da. Nid allwch ddarllen pobpeth; a phe gallech, ni fyddech ddim callach. Fe fyddai y baich yn sicr o gladdu a dinystrio yr holl ddefnyddiau gwerthfawr a fyddech yn eu trysori. Na ddarllenwch trwy unrhyw awdwr dibwys neu ffril *(trifling)*; neu un sydd yn estyn ei ddrychfeddyliau fel eurddalen *(gold-leaf)* tros lawer o dir, i'r dyben o gael rhywbeth gwell fel y byddoch yn myned yn

mlaen. Byddwch yn sicr o gael eich siomi. Y mae yn wir y gall awdwr gadw rhai o'i ddrychfeddyliau goraf hyd ddiwedd ei lyfr; ond un tylawd iawn o ran ei ddealltwriaeth ydyw, os gwnaiff i chwi deithio tros ffordd faith a thywodlyd, heb eich arwain i fanau adfywiol ar hyd y daith. Gadewch lyfrau o'r fath hyn; chwi a ellwch gael eu gwell.

Beth a ddywedir am y newyddiaduron a'r cylchgrawniau sydd yn llanw y wlad? Ychydig o bethau sydd yn gwanhau meddwl yr efrydydd yn fwy na darllen ysgafn ac amrywiaethog. Y mae yn arferiad gan luaws i ddarllen cryn fyd o adolygiadau, grealau, a phapyrau. Ni ysgrifenwyd mo honynt erioed i'r dyben o'u cofio. Ac er i chwi dreulio oriau uwch eu penau, y mae yn beth amheus yn y diwedd a ddarfu i chwi ennill dim, ond yn unig gorlanw y meddwl âg eilunod gwag, pa rai sydd yn dyrysu ac yn gwanhau y cof. Bob tro y gorlwythwch y cof â phethau nad ydych yn bwriadu dal gafael ynddynt, yr ydych yn gwanhau ei alluoedd, ac yn colli eich awdurdod i'w lywodraethu. Po leiaf y darllena yr efrydydd ar y cyfryw lyfrau, goraf oll.

VI. *Pa fodd y mae i chwi ddechreu darllen llyfr?* —Edrychwch bob amser i'r ddysgl, a phrofwch hi, cyn dechreu bwyta. Y peth cyntaf a ddylech wneyd wrth fyned i ddarllen llyfr, yw chwilio y wyneb-ddalen—edrych pwy yw yr awdwr—yn mha le y mae yn byw—a wyddoch chwi ddim byd am dano—yn mha le, a chan bwy y cyhoeddwyd o—a wyddoch chwi ddim am nodweddiad cyffredin y llyfrau a gyhoeddir gan y cyhoeddwr hwnw. Ceisiwch alw i gof pa beth a glywsoch am y llyfr yma. Yna darllenwch y rhagymadrodd, i gael gweled pa fath fwa y mae yr awdwr yn ei dynu—beth yw ei olygiad am dano ei hun ac am ei waith—a pham y cymerodd yr hyfdra i alw ar y wladwriaeth i wrando arno ef yn llefaru. Yna trowch at y cynwysiad, i gael gweled pa fodd y mae yn rhanu ei bwnc; fel hyn, mynwch gipolwg i ddechreu ar ei gynllun cyffredinol. Wedi hyny, cymerwch ryw bennod yn unigol, a sylwch pa fodd y mae yn dosparthu hòno. Yn awr, os dymunech brofi o'r ddysgl cyn myned yn mhellach, yna trowch at y man lle y traethir ar ryw

bwnc neillduol, ac edrychwch pa fodd y trinir o. Ar ol ychydig o brawfiadau fel hyn, os cewch yr awdwr yn dywyll, yn bwl, yn goegathrawaidd, neu yn fâs, nid rhaid i chwi bysgota yn hwy yn y dyfroedd yna. Fe fydd yn anhawdd i chwi ddal pysgod yno; a phan y deliwch, hwy a fyddant yn rhy fychain i'w defnyddio. Ond os cewch fod yr awdwr yn werthfawr, ac yn teilyngu eich sylw, yna ewch yn ol i'r cynwysiad. Sylwch arno, bennod ar ol pennod; yna cauwch y llyfr, i edrych a ydyw cynllun y gwaith yn gyflawn ac yn gywir yn eich meddwl. Nac ewch yn mlaen un cam nes gwneyd hyn. Ar ol argraffu y ddarlunlen yma yn drwyadl yn y meddwl, mynwch y bennod gyntaf yr un modd yn fywiog o'ch blaen, mor bell ag y cynorthwya y cynwysiad chwi i wneyd hyny. Yn awr, dechreuwch ddarllen. Yn niwedd pob brawddeg, gofynwch, "A ydwyf fi yn deall hyn? A ydyw o yn wir, yn bwysig, neu at y pwynt? A oes yna ddim byd gwerthfawr a ddylwn i ddal arno a'i gadw?" Gofynwch yr un fel yn niwedd pob gwahanran. Na adewch un wahanran, heb fod ei sylwedd yn eich meddwl. Ewch fel hyn trwy y bennod; ac yn niwedd y bennod, edrychwch yn ol, ac adystyriwch beth oedd gan yr awdwr mewn amcan i'w wneyd, a phwyswch yn dêg a manwl beth y mae wedi ei wneyd mewn gwirionedd. Wrth fyned yn mlaen, os eich llyfr eich hun fydd genych, neu os caniatâ ei berchenog wneyd hyny, nodwch â phwyntel *(pencil)* ar ymyl y ddalen, beth, yn ol eich barn chwi, yw nodweddiad pob gwahanran, neu y naill frawddeg a'r llall. Er mwyn egluro yr hyn a feddyliwyf, gosodaf gerbron ychydig o arluniau sydd wedi bod yn bur ddefnyddiol i mi: fe wasanaetha y rhai hyn, neu ryw rai cyffelyb, i ateb y dyben.

‖ | A arwydda fod y wahanran yma yn cynwys y prif, neu un o'r prif osodiadau, a amcenir brofi neu egluro yn y bennod hon—y bach, neu un o'r bachau sydd yn dal y gadwen.

< | Dyma dyb gywir, ac a ddeil eangiad, ac a egyr faes annhraethol mewn cyrhaedd.

> | Pe y carid hyn allan, ni safai brawf; gan hyny y mae yn annghywir.

| | |
|---|---|
| ? | Amheus o ran pwnc. |
| ?! | Amheus o ran ffaith. |
| S | Da, ac fe gryfha ffeithiau y gosodiad. |
| ꙍ | Drwg, ni chyfnertha ffeithiau mo hono. |
| O | Anmherthynol i'r pwnc; buasai yn well ei adael allan. |
| * | Ailadroddiad; y mae yr awdwr yn troi o fewn cylch. |
| † | Nid yw wedi ei roddi i mewn yn yr iawn fan. |
| ‡ | Chwaeth cywir. |
| § | Chwaeth annghywir. |

Gellir chwanegu yr arluniau fel y dymunir: ond y mae y rhai uchod gwedi bod yn ddigon i mi. Nid oes gwir angenrheidrwydd i neb ddefnyddio y rhai uchod, oni ddewisant; ond gall pob un ddewis iddo ei hunan; ond dylid bod yn ofalus i ddefnyddio yr un nôd bob amser i arwyddo yr un peth. Ond, oni fydd y dull yma o ddarllen yn bur araf? Bydd, yn bur araf, ac yn bur werthfawr hefyd. Fe fydd darllen un llyfr fel hyn yn fwy gwerthfawr na rhedeg dros ugeiniau. Bydd y dull yma yn eich rhwymo chwi i feddwl, ac i farnu, wrth ddarllen—i wahaniaethu, a symud y gwenith oddiwrth yr ûs. Fe wna hyn y tybiant yn eiddo i chwi eich hunan; ac a'i plana yn y meddwl i'r fath raddau, fel y bydd, y mae yn debyg, at eich gwasanaeth mewn unrhyw amser dyfodol. Y peth cyntaf a raid wneyd i droi yr hyn a ddarllenoch yn eiddo i chwi eich hunan, ydyw meddwl y peth tra yr ydych yn darllen, a meddwl wedi rhoi heibio ddarllen.

Peth angenrheidiol iawn yw i chwi ymddyddan am y pwnc y byddwch yn darllen arno, gyda rhyw gyfaill. Byddwch mor onest a dweyd wrtho, i chwi fod yn darllen ar y pwnc, fel y caffo efe ddeall nad syniadau cyntefig o'r eiddoch chwi ydyw yr oll a adroddwch wrtho. Os bydd mwy nag un yn eich cyfeillach, a phob un yn dymuno sicrhau yr hyn a ddarlleno yn gywir yn ei feddwl, goraf oll. Os bydd mwy nag un yn darllen

yr un llyfr, neu os bydd un yn darllen i glyw arall, fe fydd manteision y gyfeillach yn fwy eilwaith.

VII. Dylai cryn lawer o'ch amser efrydol gael ei dreulio i *adolygu* yr hyn a ddarllenasoch.—Y mae rhai o'r ysgolheigion goraf yn meddwl y dylai un rhan o bedair o amser darllen gael ei threulio fel hyn. Yr wyf yn meddwl nad yw hyny yn ormod. Ond y mae yn amlwg, os darllenwch gan nodi â'ch pwyntel ar ymyl y ddalen fel y soniwyd uchod, y gellwch adolygu yr awdwr, yn nghyda'ch golygiadau arno, mewn ychydig iawn o amser. Chwi a ganfyddwch ar yr un olwg beth yw nodweddiad pob brawddeg. Chwi a welwch yn union lle mae y pysgodyn, a pha fath ydyw: ac ar unwaith gellwch roddi eich bach i mewn a'i dynu allan.

VIII. Y mae peth arall pur bwysig y dylid sylwi arno wrth ddarllen, sef *dosparthiant.*—Y mae arnom angen am allu nad ydym yn feddiannol arno yn y fuchedd hon, sef y gallu o gadw pob peth sydd yn myned trwy y meddwl a'r sydd yn werth ei gadw.

Nid allwn ysgrifenu neu gynelwi pob peth a ddarllenwn. Nid allwn gofio ond rhan fechan o hono chwaith. Wel, beth a wneir? O'm rhan fy hun, yr wyf wedi ymarfer â gwneyd mynegai *(index rerum *)* i'm darlleniad. Y mae y llyfr wedi ei ddosparthu yn y fath fodd, fel y gallaf droi yn ddioedi at unrhyw beth a ddarllenais erioed, a dweyd lle y mae i'w gael, y llyfr a'r tudalen. Y mae yn attal llafur coflyfr, ac eto yn cadw y cwbl a ellir ei gadw. Myned yn mlaen yn ol y cynllun yma am ychydig o flynyddoedd, a rydd i chwi fynegai anmhrisiadwy. Un flwyddyn o brawf a'ch argyhoedda mai colled fawr iawn yw bod hebddo.

IX. Y mae un pwnc neillduol arall y dylid ei grybwyll; a hwnw yw, wrth ddarllen, dylai eich ysgrifbin

* Llyfr o bapyr gwyn wedi ei lythyrenu a'i linellu. Rhoddwn anghraifft o'i ddefnyddiad---bwriwch eich bod yn darllen Darlithiau Lowth ar Farddoniaeth Hebreig, ac yn golygu y gallech wneyd defnydd o'i sylwadau ar nodweddiad Llyfr Job ryw amser dyfodol: yn awr, dylid troi i'r mynegai, a than y lythyren J, chwi a ysgrifenech:

Job---archwiliad i'r llyfr---Darlithiau Lowth ar Far. Heb. 33 a 34.

Y mae mynegai yn hynod o ddefnyddiol at bob math o ddarllen cyffredinol a neillduol, ac ettyl lawer iawn o drafferth ac amser.

fod wrth eich llaw bob amser, nid yn unig i nodi i lawr yn eich mynegai, ond hefyd i gadw y drychfeddyliau a dardda o'ch meddwl eich hun. A ddarfu i chwi erioed sylwi, tra wrth ddarllen, fod eich meddwl eich hunan yn cael ei roddi mewn gweithrediad—ei fod yn taraw ar lwybrau newyddion ac eofn o feddwl—llwybrau sydd yn werth eu cadw; ond a chwelir gyda'r gwynt oni ysgrifenir hwy i lawr y mynydiau y llunir hwynt? Y mae pob dyn call mor ofalus i gadw y cyfoeth a ennillodd efe ei hun, a'r hyn a gafodd trwy etifeddiaeth. Felly y dylai yr efrydydd fod; canys fe fydd yn annhraethol fwy o werth iddo.

X. Nis gallaf derfynu y pwnc, heb amlygu yr hyn a ymddengys i mi fel tri gwrthddrych penodol darllen.

1. *Y mae darllen yn ffurfio arddull.*—Y mae yn annichonadwy i chwi ddwyn eich meddwl am yspaid glew o amser, dan ddylanwad meddwl arall, heb i'r meddwl hwnw effeithio ar eich iaith a'ch dull chwithau o feddwl. A allech chwi gerdded fraich yn mraich efo dyn am ddyddiau yn olynol, heb ddyfod i'r un agwedd ag yntau? Y mae yn ddeddf naturiol, fod ein meddyliau yn derbyn naws oddiwrth y rhai y byddwn yn cyfeillachu â hwy, pa un bynag ai mewn ymddyddan neu ddarllen. Oddiyma y deillia y pwys mawr o ddarllen awduron da; y cyfryw ag a roddant argraffiadau da ar eich meddwl yn mhob ystyr. Y mae yn debyg fod llyfrau yn effeithio mwy i ffurfio ymarferion dealltwriaethol a moesol efrydyddion, na phob peth arall yn nghyd. Fe rydd un llyfr drwg yn aml ogwyddiad niweidiol yn y meddwl, o ran tyb ac iaith, na cheir ymwared oddiwrtho trwy yr oes. Clywch dystiolaeth y diweddar enwog Gadeirtraw Porter. "Os goddefir i mi amlygu, yn y fan yma, fy mhrofiad fy hun fel efrydydd duwinyddol, dywedaf, fy mod yn fwy dyledus i Edwards ar yr Ewyllys, pa un a ddarllenais dair gwaith cyn dechreu ar y weinidogaeth, heblaw adolygiadau mynych o hono wedi hyny, nag i'r holl lyfrau dynol ereill gyda'u gilydd. Yr oedd y cymhorth a gyfranodd i mi yn annhraethol." Byddwch mor ofalus gan hyny i beidio â darllen yr hyn a niweidia eich arddull, ag y byddech i beidio cadw cymdaith efo y rhai a lygrent eich moesau.

2. *Y mae darllen yn llanw y meddwl â gwybodaeth.*—Dyma brif wrthddrych darllen. Yr ydym yn dyfod i'r byd yn anwybodus am bob peth. Nid all hanesiaeth a phrofiadau dynion a chenhedlaethau ereill ddyfod yn eiddo i ni, ond trwy ddarllen. Yr un peth yw y natur ddynol yn mhob oes. Y mae deddfau meddwl a defnydd *(matter)* yn annghyfnewidiol: ac fel hyn, trwy gyfrwng llyfrau, gallwn ddyfod i wybod cymaint, a barnu mor gywir, mewn oes fer, a phe byddem fyw am ganrifoedd heb ddim goleuni i'n tywys ond ein profiad ein hunain. Pe gorfyddai i ni fyned dros y Morwerydd i geisio rhyw hanes a ellid ei darllen mewn dwy awr, byddai yn angenrheidiol i ni gael oes Methusela, ac yn y diwedd farw yn bur anwybodus. Heb lyfrau y mae Duw yn ddystaw, cyfiawnder yn guddiedig, anianaeth ar safiad, athroniaeth yn gloff, llythyrenau yn fud, a phob peth wedi ei gymysgu mewn tywyllwch Aifftaidd.

Rhaid i chwi ddarllen, a gwneyd llyfrau yn ffynnon i dynu eich gwybodaeth o honi, nid yn unig yn bresenol, ond trwy eich holl oes. Fe fydd yr hyn yr ydych yn ei ddarllen heddyw wedi myned ar goll cyn hir; a rhaid i'r meddwl gael ei lanw yn barhaus â ffrydiau newyddion o wybodaeth. Fe sychai hyd yn nod y môr ei hunan, pe torid ymaith y ffrydiau sydd yn rhedg iddo. Leied sydd yn darllen digon i gyflenwi eu meddyliau! "Llaw y diwyd a gyfoethoga."

3. *Y mae darllen yn symbylu ac yn rhoddi eich galluoedd meddyliol ar waith.*—Y mae yn annichonadwy i chwi ddarllen llyfr da yn gywir, heb gael eich symbylu. Y sawl a ŵyr pa beth yw darllen i fuddioldeb, a fyn bob amser rywbeth mor addas i'w alluoedd meddyliol, ag ydyw gwefryddiaeth *(electricity)* i gynhyrfu y gyfundraeth anifeilaidd. Y dyn a all olrhain gweithrediadau meddwl galluog, ac heb gael ei symud, ei gynhyrfu, a'i wneyd i deimlo y gall ef gyflawni rhyw beth, ac y gwna hefyd, sydd eto heb wybod dim am ddifyrwch uwchaf bywyd efrydol, ac y mae eto yn anwybodus am yr afonydd o hyfrydwch sydd yn llifo o'i amgylch drwy ei holl oes.

Terfynaf yn awr trwy ddywedyd, Na ddarllenwch ormod o lyfrau; ac na phrynwch byth, nes y byddoch

yn gallu talu am yr hyn a brynoch. Nid ellwch byth gyflawn fwynhau dim byd yr ydych mewn dyled am dano. Gwnewch yr hyn a ddarllenoch yn eiddo i chwi eich hunan; a chwi a ddeuwch yn fuan yn gyfoethog mewn golud dealltwriaethol, ac a chwanegwch drysorau gwerthfawr yn feunyddiol at eich ystôr.

## PENNOD V.

CWSG—MUSGRELLNI—SYRTHNI—COLL AMSER MEWN EFRYDU PETHAU ANNGHYMHWYS — COLL AMSER ODDIWRTH LUDDED MEDDWL—COLL AMSER TRWY OHIRIAD—COLL AMSER MEWN CYNLLUNIAU AC EFRYDION ANMHERFFAITH.

Nid oes yr un pwnc braidd y dymunwn ei grybwyll wrthych, mor anhawdd a hwn; nac eto, yr un y gellid gwneyd cymaint o les trwyddo, pe gellid dywedyd yr iawn bethau, a'u dweyd mewn iawn ddull. Y mae yn ddigon hawdd ysgrifenu yn lled wych ar fyrdra a chyflymder amser; ond nid yw mor hawdd rhoddi rheolau pa fodd i'w ddefnyddio yn y dull mwyaf manteisiol wrth iddo ehedeg. Y mae y cybydd yn aml yn myned yn gyfoethog, nid o herwydd fod ganddo etifeddiaeth eang, ond trwy ei fod yn casglu i mewn gyda'r diwydrwydd eithaf, ac yn rhoddi allan gyda'r gofal a'r gochelgarwch mwyaf. Dyma wers a roddir o'n blaen mewn perthynas i'n hamser o foreuddydd ein bywyd, ond anfynych y dysgir hi hyd yn bell yn y prydnawn. Y mae yn beth rhyfedd i feddwl, yn mhlith yr holl dalentau a roddwyd dan ein goruchwyliaeth, mai amser, ar lawer golygiad, yw y gwerthfawrocaf, ac eto nid oes yr un a dreulir gan ddynion yn gyffredin yn fwy gwastraffus a diwerth. Ie, y mae yn hawdd canfod fod y dynion hyny ag ydynt fwyaf cynil a diwastraff yn mhob peth arall, yn hynod o afradlon yn eu trysor gwerthfawrocaf, amser; "yr hyn," fel y dywed Seneca, "sydd yn rhinwedd bod yn gybyddlyd ynddo." Y mae yn syndod meddwl pa faint o amser a ellir ennill trwy iawn drefnidedd *(economy)*.

Yr oedd Iarll Chatham yn hynod o enwog mewn

gwneyd llawer o waith mewn yspaid penodol o amser. Nid yn unig yr oedd yn deall brasluniad gorchwylion cyhoeddus, a mynediad llysoedd tramor yn mlaen, ond yr oedd ei lygad ar bob rhan o diriogaethau Prydain, a braidd y gallasai un dyn symud heb iddo ef wybod am dano, a gwybod ei amcan hefyd. Galwodd cyfaill gydag ef ryw ddiwrnod pan oedd yn flaenor Prydain, a chafodd ef ar ei ddwylaw a'i liniau yn chwareu marmorau *(marbles)* gyda'i blentyn bychan, ac yn cwyno yn arw na chwareuai y *rôg* ddim yn dêg; gan chwanegu, "fod yn rhaid ei fod wedi ei lygru oddiwrth y Ffrancod." Dymunai y cyfaill grybwyll wrtho am ryw ddyeithrddyn amheus, yr hwn oedd yn aros yn Llundain er's peth amser—pa un ai yspïwr, ai gŵr bonheddig yn unig ydoedd. Aeth Pitt yn union i'w gist, a thynodd rai ugeiniau o arluniau allan, ac a ddetholodd un gan ei ddal i fyny a gofyn, "Ai dyma'r dyn?" "Ie, dyna fo ei hunan." "Oh! y mae fy llygad i arno er y mynyd cyntaf y daeth i dir." Yr oedd yn gallu gwneyd hyn i gyd, trwy fod yn fywiog gyda'r amser, ac heb adael i un meidyn fyned heibio heb ei ddefnyddio i rywbeth penodol.

Ni cheisia neb fod yn fywiog i ddefnyddio ei amser yn gywir, heb iddo yn gyntaf weled yr angenrheidrwydd o hyny. Cofiwch nad allwn gael nemawr o amser, ar y golygiad goraf, i ddarllen, dysgu, a chyflawni y cwbl sydd arnom eisiau. Fel y dywed Johnson,—"Pan y tynwn allan y cwbl a dreulir mewn cwsg, y cwbl sy raid ei roddi i gyflawni angenrheidiau natur, neu a drawsfeddiannir gan arferion—y cwbl sydd yn myned heibio gydag addurniadau diangenrhaid bywyd—y cwbl a rwygir o'n gafael trwy rym clefyd, neu a ladrateir yn ddiarwybod trwy ludded a nychdod, —ni a gawn mai ychydig iawn yw yr amser sy genym y gallwn wneyd yr hyn a fynom âg ef." Yn nechre pob diwrnod, edrychwch beth a pha faint sy genych i'w gyflawni cyn yr ewch i gysgu, ac yna yn ddioedi dechreuwch ar eich cynllun, heb adael i ddim amser gael ei golli, cyn dechreu gweithredu; ac, fel y dywedais o'r blaen, yn niwedd y diwrnod adolygwch eich gwaith yn drwyadl a diduedd, gan nodi y methiadau. Y mae rhywbeth yn addysgiadol yn yr hanes

a rydd Apuleius, athronydd Platonaidd o'r ail ganrif, am y Gymnosophistiaid Indiaidd yn addysgu eu dysgyblion. "Pan y mae eu ciniaw yn barod, cyn ei ranu, y mae yr athrawon yn holi pob ysgolhaig, pa fodd y treuliodd ei amser er codiad haul. Ateba rhai, eu bod gwedi eu dewis yn farnwyr rhwng personau, a'u bod gwedi trefnu yr ymryson a'u gwneuthur yn gyfeillion eilwaith—rhai, eu bod gwedi bod yn cyflawni gwasanaeth i'w rhieni—ac ereill, eu bod gwedi dysgu rhyw beth newydd, naill ai trwy eu hymroddiad eu hunain, neu trwy addysgiadau eu cyfeillion. Ond os dygwydda fod rhyw un nad all ddangos iddo ddefnyddio y bore i ryw fuddioldeb, rhaid iddo ymadael yn ddioedi o'r lle, a gweithio tra y mae y lleill yn ciniawa."

I. *Cwsg.*—Nid oes dim yn hawddach na meithrin yr ymarferiad o gysgu i'r fath raddau nes peri i'r cyfansoddiad ofyn wyth neu ddeg o oriau o'r pedair ar hugain, ac yn niffyg iddo eu cael, bydd allan o bob hwŷl a threfn. Dywed meddygon yn gyffredin fod chwech awr yn gymaint ag sydd yn angenrheidiol; a phe byddid yn cysgu y mynydyn y rhoddid y pen ar y gobenydd, efallai y byddai chwech awr yn ddigon o amser i fod yn y gwely hefyd. Ond beth pe baech yn caniatau saith, ac yn cadw yn fanwl at hyny fel rheol, a fyddai genych ddim mwy o amser nag sydd yn awr? Pe bae i chwi ddefnyddio yn ffyddlawn at ddarllen a myfyrio, yr amser ag yr ydych yn ei dreulio yn eich gwely dros ben y saith awr, a allech chwi ddim cyrhaedd llawer iawn mwy o wybodaeth? Ond nid y coll amser yw y cwbl. Y mae yr holl gyfansoddiad yn cael ei waethygu a'i anmharu; ac yr ydych mor anaddas i efrydu yn galed ar ol naw neu ddeg awr o gysgu, a phe buasech gwedi gorlwytho eich cylla â bwyd. Y corff a'r meddwl a gânt eu gwanhau trwy y ddau. Gan hyny, cymerwch ddwy awr o'ch amser cysgu, a chwanegwch atynt amser dwy ereill a ennillir trwy fywiogrwydd y meddwl wrth godi gymaint a hyny yn foreach, yna fe fydd genych ffrwyth o gylch pedair awr o ddarllen a myfyrio, i'w chwanegu bob dydd at eich cyfoeth meddyliol. Ond beth a ddywedir am yr arferiad o gysgu ar ol ciniaw? Y mae ychydig o eir-

iau yn ddigon. Os ydych am deimlad marwaidd ac afrywiog—iselder ysbryd—coll nerth—pen yn llawn o gur—a chylla analluog i weithio yn rheolaidd, yna byddwch yn sicr o fwyta ciniaw nes eich trymhau, a chysgu yn ddioedi ar ei ol. Fe fydd yr angen am gwsg mor rheolaidd ag am giniaw. Ond os parhewch yn yr ymarferiad, bydd yn ddinystr i chwi fel gwir efrydydd.

II. *Musgrellni.*—Y mae musgrellni yn gwahaniaethu oddiwrth syrthni a seguryd, yr un fel ag y mae y rhiant *(parent)* oddiwrth y plentyn. Y mae yn gynwysedig mewn anwesu tuedd drom ac anweithgar, yr hon sydd yn arwain i adael, hyd ryw amser dyfodol, yr hyn a ddylid ei wneyd yn awr. Fe fydd hwn yn sicr o ymosod arnoch ddydd a nos, yn niffyg i chwi weithredu oddiar egwyddor a chydwybodolrwydd, yn nghydag ystyriaeth ddwys o'ch rhwymau a'ch dyledswyddau moesol. Nid ellwch ei orthrechu ond trwy wneyd eich efrydion yn ddyledswydd, ac nid yn ddifyrwch. Gwir, ar rai amserau, y byddant hwy yn ddifyrwch; ond dylent fod yn ddyledswydd bob amser. Dywed y Dr. Fothergill, meddyg enwog yn perthyn i'r Crynwyr, "Yr wyf yn ymdrechu cyflawni fy ngorchwyl am ei fod yn ddyledswydd arnaf, yn hytrach nag yn elw i mi: y mae yn wir fod yr olaf yn anwahanol oddiwrth gyflawniad cywir o ddyledswydd; ond yr wyf bob amser yn edrych ar yr elw fel y peth olaf."

III. *Syrthni.*—Y mae hyn wedi cael ei alw yn aml, ac yn briodol iawn hefyd, yn rhwd yr enaid. Y mae yr ymarferiad yn bur hawdd i'w ffurfio; neu yn hytrach, y mae bod yn swrth yn rhan gysoddol o'n natur. Y mae yn cynyddu yn gyflym trwy ei anwesu, ac y mae yn fuan yn gafaelyd yn yr enaid gyda thrais a nerth gŵr arfog.

Ymddengys mai camgymeriad mawr ynom ni yw ein bod yn teimlo nad allwn wneyd dim mawr a theilwng, os na fydd ein holl amser genym i'w roi at yr un peth hwnw. "Pe bae genyf ddim ond amser i fyned ac eistedd dydd ar ol dydd am nifer o ddyddiau ac wythnosau, i chwilio y pwnc yna, ac i ysgrifenu ar y pwnc arall, mi wnawn inau ryw beth wedi hyny." Ond, gadewch bethau fel y maent; beth a ellwch chwi

ei wneyd efo rhyw ddarnau o amser a ellwch eu casglu yn awr a phryd arall, ond bod yn fywiog i'w dal, yn neillduol trwy gwtogi ar eich amser cysgu yn y bore? A ellwch chwi wneyd dim â'r rhai hyny? Na; rhaid i chwi aros am seibiant, ac am ryw gyfnewidiad mawr yn eich amgylchiadau, cyn y gellwch chwi gyflawni nemawr o ddim! Y mae hyn yn gamgymeriad mawr. Dywed Madame de Genlis wrthym, pan yr oedd yn gymdeithyddes i frenhines Ffrainc, fod yn rheol iddi fod wrth y bwrdd bryd ciniaw bymtheg mynyd o flaen ei meistres. Ond nid oedd y pymtheg mynyd yma yn cael eu colli; eithr defnyddiai hwy yn fywiog bob dydd; a chyfrol neu ddwy fu y canlyniad. Nid eisiau cyfnewidiad yn eich amgylchiadau sydd cyn y gellwch gyrhaedd trysorau newyddion mewn gwybodaeth; na, dim ond i chwi ddal â'ch holl egni bob mynyd sydd yn awr yn cael ei dreulio yn ofer, yna chwi a fyddwch yn fuan wedi gwneyd chwanegiadau gwerthfawr at eich trysor. Y mae rhyw fynydiau fel hyn yn dygwydd yn fynych yn nyddiau y dyn mwyaf trafferthus; ac nid oes dim yn well hyd yn nod i'r meddwl ei hunan, na bod rhywbeth yn barod i droi ato yn ddioedi yn y cyfryw amgylchiadau. Os caniateir i mi fy hun lefaru oddiar brofiad, gallaf dystio, fod y cwbl bron a gyflawnais erioed, heblaw yr hyn sydd yn hanfodol i fy ngalwedigaeth, wedi ei wneyd trwy afaelyd yn y mynydau a gollir mor fynych. Ac nid oes dim mor effeithiol i esmwythau y meddwl, a chael rhyw destyn newydd iddo weithredu arno. Treuliodd Erasmus ddysgedig y rhan fwyaf o'i fywyd mewn crwydro o wlad i wlad, i hela addewidion am nawdd; y rhai nid oeddent ond er twyllo yn y diwedd. Eto, trwy ddefnyddio yn fywiog a didor yr oriau hyny ydynt yn llechu yn nghanol y gweithgarwch mwyaf, fe ysgrifenodd yr ysgolhaig hwn, yn nghanol ei dylodi mawr, fwy o lyfrau nag a fuasai y rhan fwyaf yn yr un amgylchiadau yn tybied eu bod yn alluog i'w darllen.

IV. *Efrydu pethau annghymhwys.*—Yr wyf yn gobeithio fod yr hyn a ddywedais yn y bennod ar efrydu, yn ddigon i beri i chwi ddeall beth a feddylir wrth efrydu; ac hefyd, i ffurfio ymarferion a'i gwna yn hoff genych. Dechreua llawer ar bynciau nad ydynt

o un defnydd iddynt yn bresenol, ac nad ydynt yn dwyn un berthynas neillduol â'r llwybr y maent yn ei nodi allan i'r hyn sydd yn canlyn o'r einioes. Y mae yn beth plentynaidd i chwi eu canlyn. Y mae yn wir y gellwch eu gorchfygu; ond i ba ddyben? Yr oedd gŵr bonheddig unwaith yn marchogaeth trwy un o'n trefydd, pan y daeth ci allan, a dechreu cyfarth i'r cerbyd. Dechreuodd yntau guro tuag ato efo'r chwip. Ond ni wnaeth hyn ddim amgen i'r ci na pheri iddo grochwichian yn fwy, yr hyn a gasglodd ddeg neu chwaneg o gŵn i'w gynorthwyo. Erbyn hyn daeth y pwnc o bwys. Yr oedd y drysau oll yn gil-agored, a'r hen fenywod a'r plant yn chwerthin ar yr ymryson. Beth oedd i'w wneyd? a oedd boneddwr i'w ddarostwng fel hyny? Na! disgynai o'r cerbyd, rhwymai y ceffyl, a defnyddiai y chwip nes gyru teulu'r cyfarth i ffwrdd yn lân. Ond ar esgyniad y gorchfygwr i'w gerbyd, wele ei holl lawryf yn gwywo, trwy i hen wraig waeddi ar ei ol, "Tw, ar ol y cyfan, nid oedd ond gyru ci ymaith." A oes dim llawer o'r fath frwydrau yn cael eu hymladd gan y rhai hyny ag ydynt yn efrydu pethau diddefnydd, ac allan o'r ffordd? A phe caent y fuddugoliaeth, byddai yn llawn mor anrhydeddus a'r un a soniwyd.

V. *Yr ydym yn colli amser pan yr ydym yn parhau i efrydu pan fyddo y meddwl wedi blino.*—Yr wyf yn canfod perygl wrth enwi hyn, rhag i chwi gamgymeryd yr ansefydlogrwydd a'r anesmwythdra sydd yn y meddwl wrth ddechreu ei ddysgyblu, yn lle gwir flinder. Ond fe all y meddwl, yn gystal a'r corff, fod wedi blino; ac ni ddylai hyd yn nod ceffyl gael ei symbylu yn y sefyllfa hòno. Rhyddheir ac adfywir y meddwl yn ddioedi trwy newid y testyn.

VI. *Dylid gochelyd rhag i'n hefrydion ddyfod yn faich ar ein cefnau, oddiwrth ohiriad.*—Y mae yn annichonadwy cael y meddwl yn rhydd a diddyrysfyd, os byddwch yn cael eich gyru gan eich efrydion. Os bydd i chwi oedi eich gwers hyd y mynyd olaf a ellwch, nid ydych yn feistr arnoch eich hun. Fe ddichon i ddyn wneyd diwrnod o waith yn y prydnawn; ond os gadawa efe o hyd y pryd hyny, fe fydd yn bur annedwydd y bore, yn gorweithio yn y prydnawn, ac yn

anhwylus yn yr hwyr. Yr hwn sydd yn gwneyd peth mewn brys, beth bynag fyddo ei gyneddfau a'i alluoedd, nid all ei wneyd yn dda. Y mae genyf hanner can milldir i'w marchogaeth heddyw, a gallaf wneyd hyny ar ol ciniaw; ond byddai cymeryd at y gorchwyl yn beth pur annoeth, ac yn greulondeb ataf fi a'm hanifail. Ni ddylid llercian, am y gellwch adennill y golled yn y prydnawn. Y mae bod yn fanwl mewn dysgu y peth yn ei amser priodol o'r pwys mwyaf. "Y mae yn debyg i byniori *(pack)* pethau mewn cist: fe rydd pyniorydd da hanner cymaint arall i mewn ag a wna un sâl. Y mae boddlonrwydd a thawelwch meddwl yn fuddioldeb arall sydd yn deilliaw o fanyledd. Y mae dyn annhrefnus bob amser yn frysgar: nid oes ganddo amser i ymddyddan â chwi, o herwydd ei fod yn myned i ryw fan arall; a phan y cyrhaedda yno, y mae yn rhy ddiweddar i wneyd y gorchwyl oedd ganddo; neu ynte rhaid iddo frysio i ryw le arall cyn ei orphen. Y mae manyledd yn rhoddi pwysigrwydd i'ch nodweddiad. 'Y mae y cyfryw ddyn wedi gwneyd cytundeb; gan hyny, mi wn y gwna efe y peth.' Ac y mae hyn yn cenhedlu manyledd ynoch chwithau; canys, fel rhinweddau ereill, y mae yn cynyrchu ei gyffelyb. Mewn gwirionedd, y mae cytundeb yn ddyled: canys os wyf wedi gwneyd cytundeb â chwi, yr wyf mewn dyled o fanyledd i chwi, o herwydd nid oes genyf ddim hawl i ddifrodi eich amser chwi, os wyf am wneyd felly â'm hamser fy hun.' "

VII. *Yr ydym yn colli amser wrth ddechreu cynlluniau ac efrydion, ac heb byth eu cyflawni.*—Os goddefir yn ieuanc yr ymarferiad o gychwyn unrhyw beth, a throi oddiwrtho cyn ei gyflawni, fe gryfha y drwg yma trwy yr oes. Fe roddodd cyfaill fwrnel o bapyrau yn fy nwylaw, o eiddo rhyw un a gyfrifid yn athrylithgar. "A oeddent yn werth eu cyhoeddi?" oedd y cwestiwn. Yr oedd gonestrwydd yn rhwymo yr atebiad i fod yn "Nac oeddent." Nid oedd yno braidd ddim wedi ei orphen. Yr oedd yno bryddest *(poem)* wedi ei dechreu,—a chenig *(sonnet)* yn agos ar ben,—ac o gylch dwy ran o dair o olrheiniad ar ddiffyg wybrenol, gyda manylrwydd a rhagoroldeb mawr. Yr oedd yno draethawd wedi ei gychwyn, a llythyr ar

hanner ei orphen—y cwbl yn profi fod ganddo feddwl cryf, ac hyd yn nod athrylith; ond pe buasai yn byw, nid allasai byth gyrhaedd enwogrwydd gydag arferion o'r fath hyny. Yn gyffredin, rheol dda yw peidio â dechreu ar ddim, heb fyned trwyddo, os na fyddys wrth hyny yn aberthu rhyw egwyddor neu deimlad moesol. Y mae yr hwn sydd yn troi pethau heibio fel hyn, nid yn unig yn colli ei amser a'i lafur, ond hefyd yn meithrin arferiad niweidiol. Nid yw yn angenrheidiol i chwi roddi eich holl amser at y pwnc y byddoch am ei ddeall neu ei egluro; ond gwnewch beth tuag at hyny bob dydd, ac fe orphenir y peth mewn amser, pa mor anhawdd bynag yr ymddanghosa ar y cyntaf.

Y mae rheol yn angenrheidiol tuag at iawn ranu a defnyddio ein hamser. Pwy bynag sydd heb wneyd prawf o hyny, y mae yn hollol ddyeithr i'r tawelwch a'r hyfrydwch boddhaol â pha un y mae y meddwl yn cyfarfod â'i ddyledswyddau dyddiol, pa mor amrywiol neu anhawdd bynag y byddont, os byddant yn dychwelyd yn rheolaidd at yr un awr. Fe fydd amrywiad synwyrgall yn esmwythau ac yn cynhyrfu yn ddigonol. Ond dylai y drefn fod mor gyflawn ag sy ddichonadwy. Gall olwyn a fo yn troi yn rheolaidd symud grym mawr, os bydd pob cogwrn yn iawn; ond os bydd un wedi tori yma, ac un arall yn y fan draw, fe fydd yr holl beiriant yn dyoddef, a'r canlyniad fydd, myned yn ddrylliau. Felly, os bydd i chwithau amcanu cadw rheol yn eich trefuiadau efrydol, chwi a fyddwch yn sicr o ddyoddef pan y torir hi. Y canlyniad fydd, un ai chwi a ymwrthodwch â hi, ac a adewch i'r llong fyned fel y myno, neu ynte chwi a afaelwch yn y llyw gyda braich fwy cadarn a phenderfynol, i'w chadw yn gywir o fewn i'r llwybr.

Os ydych am wneyd amser yn werthfawr, ymgedwch oddiwrth olrhain pethau ffril *(trifling)*. Na wnewch ddim y byddo arnoch gywilydd ei arddel un amser. Beth yw dedfryd y byd yn erbyn Nero, pan yn amherawdwr Rhufain, ac yr aeth efe i fyny ac i lawr tir Groeg i herio y crythwyr *(fiddlers)* i chwareu am y goraf gydag ef? Treuliodd Æropus, brenin Macedonia, ei amser i wneyd llusernau, pethau defn-

yddiol, y mae yn wir, ond nid gwaith priodol i frenin. Defnyddiodd Harcatius, brenin Parthia, ei amser i ddal tyrchod daear, ac yr oedd yn un o'r tyrchwyr goraf yn y deyrnas; ond a oedd hyny yn glod iddo? A oedd Biantes, o Lydia, yn llywodraethwr teilwng, am ei fod yn un da am gaboli nodwyddau? Yn y degfed canrif, yr oedd patriarch yn yr eglwys, o'r enw Theophylact, a dreuliai ei amser i fagu ceffylau. Yr oedd ganddo dros ddwy fil o geffylau hela yn ei ystabl, yn cael eu porthi â ffrwythau moethus a danteithiol. Heb son dim am yr holl wastraff arian, a ydyw dynolryw ddim âg un llais yn melldigo y cyfryw gamddefnydd o amser, doniau, a sefyllfa? Ac eto, pa faint o wahaniaeth sy rhwng y fath wastraff ar einioes, a'r hyn y mae llawer o ieuenctid yn ei wneyd, oddieithr yn unig fod y rhwymau yn fwy yn yr anghraifft yma?

Y mae lluaws yn gwastraffu llawer o amser hefyd i wisgo am danynt. Y mae rhai a dreuliant o awr i ddwy i eillio *(shave)* ac ymwisgo. Beth y maent yn gyflawni yn eu hoes? Y maent â gwynebau llyfn a glanwaith, ac yn edrych yn ddestlus; ond am wneuthur dim sydd yn fawr neu rinweddol, ni wnant un o'r ddau byth. Y mae bod yn ddestlus mewn gwisg a'r cyffelyb, yn beth canmoladwy; ond ofer i ni ymdrafferthu i gael menau *(waggons)* o *fahogani* gwedi eu caboli yn orwych, os ydym yn bwriadu cario llwythi trymion tros y mynyddoedd ynddynt.

Mi a gaf ymddyddan mewn man arall am angenrheidrwydd golafur *(exercise)*; ond, yn lle y golafur hyny sydd yn adfywio ac yn adnewyddu, pa faint sydd yn treulio llawer o'u hamser mewn gwâg-ddigrifwch neu gampiau, ac a'u galwant yn adfywiannau *(recreations)!* Geilw Esgob Taylor y fath ddifyriadau yn "wisgoedd gwedi eu gwneyd oll o eddi," heb na chysur na harddwch. Yr ydych mewn perygl oddiwrth bob adfywiant sydd yn hoff iawn genych; canys y mae dynion yn rhoddi eu hamser yn bur rhwydd at y pethau y maent yn eu caru.

Dywedir fod y sawl a all wneyd i ddwy dwysen dyfu lle nad oedd ond un o'r blaen, yn gymwynaswr i ddynolryw; a diau y byddai y sawl a ddanghosai lwybr trwy ba un y gallech wneyd eich oes yn ddau

neu dri mwy ar y ddaear, yn gymwynaswr hefyd. Ymddengys i mi y gellir gwneyd hyny.

Y mae rhai, pan yn ieuainc, yn rhedeg yn anystyriol i bechod amlwg a chyhoedd, ac yn rhuthro yn benrydd i afael âg cuogrwydd a'u harweinia yn anocheladwy i ddinystr a marwolaeth. Ond nis gellir dweyd hyn am y rhan amlaf o'n hefrydyddion. Ond y pechod sydd yn gorwedd amlaf wrth eu drws hwy, yw difrodi amser. Efallai y treulir y prydnawn mewn siarad ofer a mygu ffwgws; ac nid ymddengys yn nemawr o goll amser: ond pan y bydd yr einioes yn darfod, a ninau yn ymadael âg amser, ac yn agori ein llygaid yn nhragwyddoldeb, pa faint o'r darnau amser yma a gyfodant i'n herbyn! Pa mor edifeiriol y byddwn pan yn rhy ddiweddar i wneyd y golled i fyny, os nad yn rhy ddiweddar i gael maddeuant! Nid oes dim yn cael ei afradloni gymaint gan efrydyddion, ag amser. Ond y mae rhai eithriadau. Fe synai lluoedd wrth eu hymddygiadau, pe baent mor wastraffus mewn rhyw beth arall. Yr ydych yn esgeuluso dyledswyddau cyhoeddus a neillduol, ac yn tawlu y gydwybod nad oes genych ddigon o amser i'w cyflawni oll. Ond y mae yr holl oriau a wastreffir genych, yn llefaru yn uchel yn eich erbyn.

Uwchlaw y cwbl, gadewch i mi chwanegu, nad ellwch dreulio eich amser yn fuddiol ac yn ddedwydd, heb geisio, a derbyn, bendith eich Creawdwr bob dydd. Nid oes un peth, na deg o bethau chwaith, a'ch galluoga gymaint i iawn ddefnyddio eich amser, a gweddi.* *Bene precasse, est bene studuisse*—"Gweddio yn dda yw yr efrydu goraf," ebai un efrydydd enwog. Yn y bore, gofynwch fendith Duw ar eich efrydion,—ceisiwch gan yr hwn a greodd y meddwl, ac sydd yn dal ei fys arno bob meidyn, ei gadw yn glir, a'i gyfar-

* Na fydded i'r annuw a'r llygredig wawdio y cynghor yma fel darn o ddall-bleidiaeth a phenboethni, ac yn deilliaw o ffydd a'r Beibl; canys y mae hyn i'w ganfod yn ngoleuni natur yn gystal ag yn ngoleuni y datguddiad. A oes gan yr hwn a wnaeth yr enaid, ac sydd yn Dad yr ysbrydoedd, yr un dylanwad arno i'w gyfarwyddo a'i lywodraethu? Fe ddichon i Awdwr ein galluoedd rhesymol eu cau mewn tywyllwch pan y myno, gydag anhwyldeb disymwth, neu eu gollwng i wibio mewn tybiau tywyll a ffol, pan y byddont gwedi ymlenwi â dychymygion ynfyd am eu gallu

wyddo,—i roddi tuedd ynoch i dreulio eich holl amser yn ei ofn, a'i iawn ddefnyddio er ei fwyn ef. Yn y prydnawn, galwch y diwrnod yn ol i'ch cof, ac adystyriwch pa fodd y treuliasoch bob awr. Chwiliwch a ddarfu i chwi ddim bod yn fyr o gyflawni eich dyledswydd mewn un man; a pha beth a wnaethoch, neu a adawsoch heb ei wneuthur a'r na ddylasech; yr hyn a ddynodir gan gydwybod wedi ei deffroi trwy weddi. Ah! pa faint sydd gwedi gwastraffu, yn ynfyd, y rhodd werthfawr hon, ac yna, pan y caethiwyd hwynt yn ngwely angau, yn dechreu edliw iddynt eu hunain gyda'r fath lymdra nad all iaith ei drosglwyddo! Dywedir fod y Frenhines Elizabeth, ar ei gwely angau, yn gwaeddi allan, "Miloedd o arian am un fodfedd o amser!" Pa faint o'r modfeddi yma a daflodd hi ymaith! Daeth y floedd wasgedig yn rhy ddiweddar. "O," ebai un wrth farw, "galwch amser yn ol; os gellwch, fe all fod gobaith i mi; ond y mae fy amser wedi myned."

## PENNOD VI.

YMDDYDDAN AR BETHAU FFRIL — ENLLIB MEWN YMDDYDDAN — GWENIAITH — YSGAFNDER MEWN PETHAU CYSEGREDIG — TESTYNAU CYFEILLACH — YMGAIS AM FOD YN AREBOL—AMLYGU DYSG—PURDEB MEDDWL.

"Y FATH brydnawn difyrus a dreuliasom," ebai rhyw efrydydd wrth ei gyfaill, wrth ddychwelyd adref gwedi bod yn gofwyo *(visit)*. "Ie, nid wyf yn gwybod i mi dreulio un mwy difyr erioed. Yr oedd yr holl gymdeithion yn ymddangos yn bur ddedwydd hyd y diwedd, ac felly yn terfynu; ond o'm rhan fy hun, yr oeddwn wedi fy llyncu i fyny gymaint gan

eu hunain. Y mae ef yn dysgwyl cael ei gydnabod yn ngoruchwylion cyffredin bywyd; a diau ei fod yn dysgwyl hyny yn ngoruchwylion mwyaf goruchel y meddwl---argeisio gwybodaeth a gwirionedd. Yr oedd hyd yn nod y Groegiaid paganaidd gwedi dysgu dweyd, "Ec dios archomestha;" a'r Lladiniaid, "A Jove Principium Musæ."---WATTS. Felly yr oedd y naill a'r llall yn gofyn cymhorth JUPITER eu prif dduw.

ymddyddanion y dyn dyeithr hwnw, fel nas gwyddwn yn iawn beth a wnai neb arall."

"Dyna yn gymhwys fel yr oeddwn inau. Y mae yn meddu rhyw alluoedd annghyffredin i gymdeithasu, er yr ymddengys nad yw yn wybodus o hyny."

A dyma holl ddirgelwch y boddusrwydd a gafwyd trwy y prydnawn, fod yno un yn alluog i ddifyru a boddhau trwy ei ymddyddanion.

Nid oes dim braidd a esgeulusir yn fwy na meithriniad a diwylliad yr hyn a alwn yn alluoedd cymdeithasgar: ac eto ychydig a allai fod yn fwy buddiol a hyfryd. Y dyn sydd yn gwybod yn gywir pa fodd i gymdeithasu, y mae ganddo offeryn yn ei feddiant â'r hwn y gall wneuthur llawer o ddaioni, ac a'i gwna yn dderbyniol yn mhob lle. Daliwch sylw pan y byddwch yn dechreu cyfeillachu â rhyw ddyn dyeithr. Yn aml chwi a ganfyddwch ei fod yn werthfawr. Efallai mai mewn cerbyd y byddwch: wrth wrando arno yr ydych yn annghofio yr amser, ac yn rhyfeddu mor fuan yr aethoch i'r fan lle yr ydych i ymadael. Beth sydd yn ei wneyd mor werthfawr? Y galluoedd sydd ynddo i gyfeillachu.

Nid oes achos i ni ymosod yn y fan yma i ddangos rhagoroldeb y dull yma o drosglwyddo ein drychfeddyliau. Trefn ydyw wedi ei dewis gan y Creawdwr anfeidrol er mwyn dedwyddwch dyn yn ei holl amgylchiadau. Y mae yn syml *(simple)* fel ei holl weithredoedd. Ni a allwn gynyrchu goleuni tanbaid a llachar trwy weithrediadau fferyllaidd *(chymical)*; ond y goleuni pur o'r nen yw yr un perffeithiaf. Fe ellir gogleisio a boddhau y blys â diodydd celfyddydol; ond y dwfr pur a barotöodd Duw i ddyn yw y goraf yn mhob amgylchiad. Llafar rhwng dyn a dyn, yw y cyfrwng cyffredinol i drosglwyddo y meddwl; a'r goraf o lawer a ellir ei gael. Yr ydym yn awr yn dymuno gwybod trwy ba foddion y gallwn wellhau a diwyllio y gyneddf yma oraf. Y mae pawb yn barod i deimlo fod y wybodaeth yn bwysig. Os oes genych gyfaill a ddymunech ei rybyddio, neu y dymunech wneyd rhyw argraff dwys ar ei feddwl, chwi a wyddoch mai y llwybr goraf yw â'r tafod. Chwi a ddechreuwch fyfyrio yn gyntaf ar ei sefyllfa, ei ragolygiadau gobeith-

lawn, a'i beryglon—chwi a ystyriwch ei holl hudoliaethau, pa resymau a ymddengys yn debyg o lwyddo, a pha esgusodion fydd yntau yn debyg o wneyd drosto ei hunan: yna yr ydych yn dewis y cymhelliadau tebycaf i effeithio arno. Wedi hyny chwi a ewch ato, ac a ymdrechwch ei argyhoeddi ef, trwy dônau a lleisiau, eich bod yn wir gyfaill iddo—chwi a ddywedwch eich ofnau am dano mewn iaith dyner a thodd-edig, ac a eglurwch eich holl feddwl yn y dull a ragfwriadasoch. Felly yr ydych yn llwyr gredu eich bod wedi defnyddio y llwybr goraf yn eich gallu, pan y byddwch gwedi cyflawni y cynllun yn ffyddlawn; ac os nad ellwch gyrhaedd ei galon a'i gydwybod yn y ffordd yma, yr ydych yn anobeithiol o wneyd hyny. Os bydd rhyw bwnc penodol y dymunech gael eich goleuo ynddo, a bod llyfr yn eich cyrhaedd yn cynwys eglurhad cyflawn ar y wybodaeth, a chyfaill hefyd yn eich cyrhaedd yn ei ddeall yn drwyadl, pam y mae yn well genych fyned at y cyfaill i ymofyn eglurhad yn hytrach nag at y llyfr? Am y gwyddoch mai dyna y ffordd hawddaf a mwyaf difyr i gaffael gwybodaeth. Gallwch ofyn eglurhad a goleuni ar ryw ranau a geiriau penodol—gallwch amlygu eich amheuon a'ch gwrthresymau—gallwch gymharu yr hyn a ddywed â'r hyn a wyddech o'r blaen—ac fel hyn gallwch ddyfod yn fuan i wybod y cwbl a ŵyr eich cyfaill.

Gan hyny, gwnewch y pwnc yma yn fater i'w efrydu a'i ddeall, nid yn unig mor belled ag i ymgadw oddiwrth wallau, ond hefyd i ymwellhau ac ymberffeithio ynddo fel rhan o'ch efryd a'ch addysg. Nid oes dim braidd a rydd gymaint o ddylanwad i chwi yn y lleoedd y byddwch ynddynt, a chyfleusdra a gallu i wneyd daioni. Mewn cyfeillach, y mae rhyddid i bawb ddal ar gymaint ag a allant, a'i gymhwyso iddynt eu hunain; ac y mae swm dirfawr o wybodaeth a dysg yn cael ei wasgaru o feddwl i feddwl na roddir byth i lawr ar bapyr.

Y mae y gwrthdarawiad parhaus yma sy rhwng meddyliau a'u gilydd, yn tueddu i dyneru ac i wellhau y teimladau; ac felly, pan y clywch am ryw ddyn a fyddo yn hoffi cymdaith cywir a rhinweddol, gallwch benderfynu ei fod yn ddiwylliedig ac hyfoesgar: ac y

mae yr iaith a ddefnyddir ganddo o'r hyn lleiaf yn ymddangos i gyfleu drychfeddyliau a theimladau diwylliedig; canys, yn anwybodus i ni ein hunain, yr ydym yn gwisgo ein holl deimladau â gwisg o gyffelyb natur ac ymddanghosiad.

Y mae dau berygl ag y mae dynion sydd yn cynal llawer o gyfeillach yn agored iddynt: un ydyw defnyddio iaith tynerwch a mwyneidd-dra, pan nad ydynt yn teimlo hyny, nes y mae yn dyfod yn arferiad; a thrwy hyny dwyllo ereill, ac yn y diwedd dwyllo eu hunain. Gellir arfer rhagrith nes iddo ddyfod yn rhan o'n nodweddiad. Ar bob tir, y mae perygl pan y myfyrir unrhyw ffurfiau, rhag i'r galon fod yn ddiweithrediad danynt. Y perygl arall yw, rhag i'r wybodaeth a gesglir yn unig trwy ymddyddan a chyfeillachu, fod yn annghywir, ac eto ei chyfrif a'i pharchu fel yn anffaeledig. Nid ellir ymddibynu yn hollol ar ddim gwybodaeth a gesglir fel hyny. Llyfrau yw yr unig hysbyswyr cywir am ffeithiau a dygwyddiadau; er, yn wir, y llunia y rhai hyny lawer ffaith, ac y dychymygant lawer hanes. Y mae yn wir y dichon i'r dyn sydd yn ymddibynu yn unig ar gyfeillachu a chymdeithasu am gyflenwi ei feddwl, fod yn ddyn parod; ond nid yn un manwl a chywir. Fe all eich difyru, eich buddio i raddau, a rhoddi golygiadau newyddion i chwi ar bethau; ond nid ellwch ymddiried ar gywirdeb a sadrwydd ei farn ef.

Y mae gan yr efrydydd lawer iawn gwell mantais na neb arall; canys fe all ef uno, i raddau mawr, y ddwy ffordd berffeithiaf i gyrhaedd gwybodaeth—y tybiau manwl a dyfnion a geir mewn llyfrau, a'r wybodaeth gyffredinol a geir am ddynion a phethau mewn ymddyddanion a chyfeillachau. O ganlyniad, mewn rhai golygiadau, y mae yn gymaint dyledswydd iddo wellhau trwy gyfeillach, a thrwy ddarllen. Ond gan fod cyfeillach yn fath o fasnach tuag at ba un y dylai pawb dalu ei ran, yr ydych yn ymddwyn yn annghyfiawn ac yn groes i reolau masnach os na fyddwch chwithau wedi parotoi eich rhan. Os ydych chwi yn casglu ffeithiau a gwybodaeth, ac yn derbyn o ffrwyth ac ymdrechiadau meddyliau ereill, sydd yn ddefnyddiol i chwi, diau ei fod yn ddyledswydd arnoch chwithau

i wellhau a diwyllio eich galluoedd, fel y gallont hwy, yn eu tro, dynu rhyw fuddioldeb o'ch cymdeithas chwithau. Chwi a fyddwch yn bur anfoneddigaidd os nad ymddygwch fel hyn. Ond i fod yn fwy neillduol—

I. *Na wastraffwch eich amser, nac amser y cymdaith, mewn ymddyddan am bethau ffril (trifles).*—Y mae cymaint o sylw a delir i bethau dibwys a ffol, yn gwneuthur yr ymddyddan yn aml i'r deallus yn eithaf annerbyniol a châs. Y canlyniad yw, fod y cyfryw ddyn yn gadael y cymdaith, ac felly yn colli holl fanteision cymdeithas. Nid all ef oddef treulio oriau o amser gwerthfawr i wrando ar ymddyddanion a dadleuon ar bethau gwâg a dibwys. Nid oes ganddo ef ddim blas ar y fath destynau, ac eistedda yn ddystaw nes y cana yn iach iddynt. Yn awr, er nad wyf yn canmawl nac yn cefnogi chwaeth *(taste)* a fyddo yn rhy fanwl, ac na oddef ddim ond pethau gorwych a chain, eto dymunwn, ar yr un pryd, alw sylw pob siaradwr gwâg a dibwys i ystyried a ydyw efe yn wybodus ei fod, trwy y cyfryw ymddyddanion, yn gyru pob dyn synwyrol o'i gyfeillach. Ond ni ddylai y synwyrol gilio; ond dylai fod ynddo ddigon o wroldeb i droi y dwfr. Nid rhaid i chwi eistedd yn ddystaw, am fod ereill yn siared pethau diwerth. Yn mhob cymdeithas braidd, chwi a gyfarfyddwch â rhyw un sydd yn alluog ac yn foddlawn i drosglwyddo gwybodaeth. Chwiliwch ef allan, a thrwy ofynion priodol tynwch oddiwrtho y wybodaeth a amcanwch. Yn y dull yma fe ddysg pob un os ewyllysia. Os na fydd dau, o leiaf, yn y cymdaith yn ymddyddan am bethau buddiol, yn gyffredinol fe fydd y bai arnoch chwi, ac ofer i chwi achwyn fod y gymdeithas yn wael a difudd. Y mae yn wir ei fod yn ofid meddwl, nad yw meddyliau galluog a chyneddfau athrylithgar o un gwasanaeth arall yn aml mewn cymdeithas, ond achlesu ymddyddanion a phethau ffril a gwâg, pryd y gallent ac y dylent iawn arwain a chyfarwyddo yr ymddyddan er buddioldeb a difyrwch y gwyddfodolion.

Y mae dyn a fyddo wedi ymroddi i ddarllen ac efrydu yn galed, mewn perygl neillduol yma; canys, pan y mae yn myned i gymdeithas, y mae yn ymryddhau oddiwrth bob myfyrdod, gan roddi cwbl ollyngiad

i'w feddwl; ac, yn ddifeddwl, teimla ei ysbrydoedd yn aml mewn llawn nwyf a bywiogrwydd megys ar unwaith. Yn awr, y perygl yw iddo annghofio y dylai ddefnyddio ei wybodaeth a'i ddoniau i oleuo y cyfeillion a fyddo o'i amgylch; ac, oni ddefnyddia y cyfleusdra i hyny, ei fod yn taflyd holl bwys ei nodweddiad i ochr chwith y clorian. Nid fy meddwl yw y dylech ymdrechu dwyn yr ymddyddan i'ch meddiant eich hun, i gael dangos eich cyrhaeddiadau a'ch athrylith: na, pell wyf oddiwrth hyny. Fy meddwl yw hyn, na ddylech wastraffu eich amser, nac amser y rhai hyny sy mor dirion a gwrando beth sy genych i'w ddweyd, mewn dywedyd pethau a ellid eu dweyd a'u hailddweyd hyd ddiwedd amser, ac heb fod neb yn gallach nac yn well drwy hyny. Y mae y sawl sydd yn ymddibynu yn hollol ar ymddyddanion ysgafn i'w wneyd yn ddefnyddiol neu yn foddhaol mewn cymdeithas, yn methu y natur ddynol yn mhell. Os byddwch yn ymadael âg unrhyw gymdaith heb allu adfyfyrio eich bod yn gallach, neu wedi bod yn foddion i wneyd rhyw un arall yn gallach, na'r pryd yr aethoch iddo, rhaid fod rhyw beth o'i le.

II. *Gochelwch ymddyddanion enllibus ac anhywedd am rai absenol.*—Nid oes gwahaniaeth pa un ai llawer ai ychydig fyddo nifer y cymdaith, gallwch fod yn sicr y bydd i'r cwbl a ddywedwch yn erbyn cyfaill absenol, ei gyrhaedd. Gwnaethoch ar gam, ac fe fydd dialydd yn sicr o fod yn barod.

Braidd nad ellir dweyd fod tuedd gyffredinol yn nynolryw i enllibio eu gilydd, neu, o'r hyn lleiaf, i daflu rhyw grybwyllion er lleihau a gwanychu rhyw syniadau daionus a goruchel fyddo gan ddynion am ereill. Y mae yr athrodwr yn colledu ei hun yn rhyfeddol, ond nid neb arall. Dychymyga ei fod yn hyrddu un, ac yn cilgwthio y llall, gyda'r dyben daionus o gadw yr anhaeddiannol o orsedd anrhydedd. Yr wyf yn cofio i mi ddarllen unwaith yn ngwaith Diodorus Siculus hanes am greadur bychan hynod o weithgar, a eilw efe yn *ichneumon*, yr hwn sydd yn treulio ei holl amser i chwilio am wŷau y *crocodile* i'w difa. Ond y mae hyn yn fwy rhyfedd eilwaith, gan nad yw yr *ichneumon* yn ymborthi ar yr ŵyau, nac yn

gwneyd un math o ddefnydd o honynt. A ydyw y rhai hyny a ellir eu galw yn athrodwyr dynolryw, ddim yn rhagrithio iddynt eu hunain, fel y creadur bychan hwnw, nad ydyw yn ddim iddynt hwy mewn un modd, ond eu bod yn gweithredu fel cymwynaswyr yr hil ddynol? Y mae yn debyg eu bod yn twyllo eu hunain fel hyn yn fynych; ond nid yw y twyll yn cyrhaedd neb ond hwy eu hunain. Pa fodd y mae ereill yn edrych arnynt? Fe ŵyr y byd yn gyffredin, pan y byddwch yn enllibio, eich bod yn gwneyd hyny am yr un rheswm ag y mae y Tartariaid yn awyddus i ladd pob dyn o ddawn a medr neillduol, gan gredu y daw ei alluoedd, pa mor fawr neu oruchel bynag y byddont, o angenrheidrwydd, ar ei farwolaeth, yn etifeddiaeth i'r lleiddiad. Pe byddai yr athrawiaeth yma yn wir, byddai yn rhyw reswm i'r sawl sydd yn ymhyfrydu mewn absenu rhai na fyddo yn bresenol; canys y rhan amlaf, eu hunig obaith fyddai meddiannu rhagoriaethau ac hynodrwydd nodweddiad. Nid yn unig fe fydd yr hyn a ddywedwch i athrodi yn sicr o gyrhaedd y person ei hun, ond hefyd fe faga ragfarn yn y cymdaith tuag ato. Yr ydym yn rhy dueddol i hoffi clywed sylwadau yn erbyn personau; ac fe annghofir yn llwyr naw neu ddeg o ragoriaethau dyn, yn llawer cynt na dau neu dri o waeleddau. Ond nid hyn yw y cwbl. Y mae y cyfryw sylwadau yn gadael colyn yn eich cydwybod eich hunain. Nid ellwch ymddyddan yn anmharchus fel hyn am berson absenol, heb roddi awdurdod i'r gydwybod i'ch galw i gyfrif, ac i ddweyd wrthych mewn iaith hawdd i chwi ei deall a'i theimlo, eich bod wedi gwneyd o chwith, ac nid fel y dymunech i arall wneyd i chwi. "Yr hwn sydd yn ymhyfrydu mewn gwawdio anmherffeithrwydd a gwendidau bychain ei gyfaill, a wel cyn hir fod dynolryw yn ymuno yn ei erbyn. Y dyn a wel arall yn cael ei wawdio, er iddo ymuno i chwerthin ar y pryd hyny, eto pan oera ei ysbryd, a ystyria y gall yr un cast gael ei wneyd âg yntau; ond, pan nad oes dim lle i dybio ac ofni hyn, y mae balchder naturiol y natur ddynol yn codi yn erbyn y sawl a amcano gyrhaedd enwogrwydd cyffredinol trwy ogan cyffredinol." Os nad yw eich sylw wedi ei dynu yn neillduol at hyn, nid

ydych yn dychymygu faint o'r picellau yma a deflir at rai absenol.

Yr oedd llanc unwaith yn perthyn i gymdaith dillynaidd mewn lle gwledig, ac er nad oedd yn ddysgedig nac yn rhagorol mewn dim, yr oedd yn ymdaro yn burion. Ond yr oedd ynddo un bai nad ellid ei wella; a hyny ydoedd, yr oedd yn aros yn yr ystafell nes y byddai pawb wedi ymadael; a phob amser efe oedd yr olaf. O'r diwedd gofynwyd iddo, pam yr oedd yn aros cyhyd. Atebodd yntau yn hywedd a syml, mor fuan ag y byddai dyn wedi ymadael, y byddent oll yn dechreu siared rhyw beth yn wael am dano; o ganlyniad, ei fod ef yn barnu mai peth call oedd aros fel na byddai neb ar ol i'w enllibio.

III. *Gochelwch rhag arfer gwenieithio.*—Y mae yr arferiad o wenieithio i'ch cyfeillion a'ch cydnabyddion yn niweidiol i'ch cymeriad. Fe'ch niweidia hyny chwi yn fwy nag ereill. Y mae dynion yn gyffredin yn deall fod y sawl sydd yn arfer gwenieithio, yn dysgwyl cael ei ad-dalu efo'r un *stwff*, a hyny gyda dwbl lôg. Y mae hyn yn beth gwahanol iawn i roddi calondid i'ch cyfaill yn gyfrinachol, tuag at ei gynorthwyo a'i wroli i gyflawni gorchestion teilwng. Yn gyffredin, gwenieithir yn gyhoeddus, i'r dyben, y mae yn debyg, o fod presenoldeb y rhai fyddo yn wyddfodol yn foddion i rwymo y cyfaill i ddychwelyd yr un peth yn ol yn eu clyw hwynt. Ond y mae cefnogaeth synwyrol yn cael ei rhoi bob amser yn gyfrinachol. Os gwenieithiwch chwi i ereill, teimlant hwythau yn rhwym i wneuthur yr un peth i chwithau: a byddant yn sicr o wneyd hyny hefyd. Byddant yn gwybod nad oes un modd arall i ddileu y rhwymau y darfu i chwi wthio arnynt. Ni bydd un tâl arall yn foddhaol. Felly yr ydych yn cyflogi ereill i'ch cynorthwyo i fod yn wâg-dwyllwyr i chwi eich hunan, ac i orbrisio eich rhagoriaethau beth bynag a fyddont. Am hyny, y mae yn amlwg y dylech wrthod y gloddest yma, sef gwenieithio i chwi. Ac yn benodol ni ddylech bysgota ar ol y fath *berlau.* Y mae yn annichonadwy i chwi wneyd hyny heb i ereill weled y dyben. Efallai i chwi ryfeddu weithiau wrth weled dynion ieuainc yn awyddus i draflyncu clod, pan y gallent wybod yn

ddigon hawdd fod y sawl oedd yn eu bwydo, yn rhagrithiol. Y mae wedi bod yn fater o ryfeddod i mi, pa fodd yr ydym yn hoffi clod, pan y gwyddom yn eithaf nad ydym yn ei deilyngu. Y mae Johnson wedi egluro athroniaeth y pwnc fel hyn. "Y mae boddhad mewn gweniaith, hyd yn nod pan y gwyddom nad yw y sawl sydd yn ein canmawl yn credu y peth; canys y maent yn profi ein gallu beth bynag, ac yn dangos fod ein hewyllys da yn werthfawr, gan ei fod yn cael ei brynu trwy dwyll."

Dywedir fod chwant am gymeradwyaeth ereill er mwyn eu barn ddaionus yn unig, yn arwydd o feddwl hael a rhydd. Nid wyf yn amau hyny; ac nid yr ysbryd yna yr wyf yn amcanu ei waradwyddo.

IV. *Gochelwch ysgafnder gyda phethau cysegredig.*—Y mae yn annichonadwy ymddwyn yn ysgafn gydag unrhyw beth cysegredig gydag amrywiaeth o gymdeithion, heb friwo teimladau rhyw un. Nid yw gwneyd hyny yn un arwydd o nerth dealltwriaeth, nac o ryddid oddiwrth ragfarn, na chwaith o unrhyw rinwedd arall. Nid yw yn arwydd o ddim ond calon yn pechu heb un demtasiwn na chyffroad i hyny. Y mae y sawl a allo siared am Dduw, ei Grëwr, a'i Gyfaill goraf, neu am unrhyw beth a berthyn iddo, yn feddiannol ar galon a ellir ei themtio yn hawdd i ymddwyn yr un fel at gyfaill daearol. Gallwch ei osod i lawr yn rheol, i'r hon nid oes un eithriad, fod yr hwn a fyddo yn ymddwyn at grefydd, neu unrhyw un o osodiadau Duw, yn ysgafn ac anmharchus, yn meddu calon falch, ac yn annheilwng o fod yn gyfaill mynwesol i chwi. Fe fydd ysgafnder, mewn dull a mater, gyda phethau santaidd, yn sicr o ddinystrio eich cymeriad chwi a phob dyn arall.

Ymddengys mai afreidiol yw i mi grybwyll am iaith dyngedig, o herwydd nid wyf yn dysgwyl fod neb a ddarlleno waith fel hwn, wedi annghofio ei barch ei hun gymaint (heb son am ddim pellach), fel ag i ddefnyddio iaith o'r fath. Anfynych y gwelir neb o'r rhai hyny mewn cymdaith mor anrhydeddus a darllenwyr llyfr wedi ei amcanu i wneyd lles iddynt. Ond er hyny, fe all rhai gael eu hudo i hyny, nad ydynt gwedi ymarfer â hyny hyd yn hyn. Dywed Chester-

field, yr hwn y cyfeirir ato yn gyffredinol fel athraw mewn hyfoesedd *(politeness)*, nad yw y fath iaith byth i'w chlywed gan foneddig. Pan y clywch ryw un yn arfer iaith dyngedig, gallwch benderfynu nad yw hyny ond un wiber o'r nythaid y mae ef yn ei gario yn ei galon; ac er mai dyma yr unig un sydd yn chwithrwd *(hiss)* yn awr, eto, y mae pob un yn ei thro yn feistr ar yr adyn tylawd, yr hwn sydd yn rhoddi ei waed i'w porthi.†

Pob peth sydd yn tueddu at lygredd ac annuwiaeth, dylid ei alltudio ar unwaith yn llwyr ac am byth. Os ydych am gymhwyso eich hun i'r byd annuwiol a thywyll, bydd yn ddigon prydlawn i ddysgu yr iaith ar ol i chwi gael eich parotoi trwy bechodau mwy gweddaidd. Y mae yn dda genyf allu dweyd, nad yw llw i'w glywed ond yn bur anfynych o enau neb ag sydd am hòni yn y mesur lleiaf ei fod yn ddyn parchus; ac nad wyf wedi clywed cymaint ag un am flynyddoedd, oddieithr pan y gwyddwn ei fod wedi ei gynhyrfu, ac yn cael ei ddwyn allan ar anadl wedi ei llygru a'i gwenwyno gan ddiodydd meddwol. Nid oes dim angen ar hyfoesedd am yr addurniadau a berthyn i'r ysbrydion melldigedig; ac y mae gwirionedd a diragrithrwydd bob amser yn ffieiddio y fath gynorthwywyr.

V. *Byddwch yn ofalus wrth ddwyn i mewn destynau ymddyddan.*—Y mae rhai dynion yn byw mewn cylch mor fychan, a chyrhaeddiad eu meddyliau mor gyfyng, fel y gallwch ragdybio beth fydd testynau y gyfeillach, a'r ystorïon a adroddir, a pha le y terfynir. Os goddefwch eich hun i ymhyfrydu mewn rhyw destynau dewisol mewn cymdaith, byddwch yn sicr o ffurfio yr ymarferiad yma. Nid oes dim yn fwy blïnderus ac anfoddhaol na siaradwr o'r fath hyn; rhaid ailfyned dros yr un pethau, ac adagori yr un trysorau. Fe â

† Yr oedd archesgob unwaith, yr hwn hefyd oedd yn etholwr, yn bur dyngedig yn ei ymddyddan; ac wrth ganfod dyn tylawd yn llygadrythu arno, gofynodd iddo am ba beth yr oedd yn synu. 'Clywed archesgob yn tyngu,' oedd yr atebiad. 'Ie,' ebai yr etholwr, 'nid fel archesgob yr wyf yn tyngu, ond fel etholwr.' 'Ond, fy Arglwydd,' ebai y gwr tylawd, 'pan gymer y diafol feddiant o'r etholwr, beth ddaw o'r archesgob?'

rhai allan o'r ffordd i chwareu ar bynciau a feddyliant eich bod chwi yn hoff o honynt; ac fel hyn a ragrithiant i chwi trwy siared am beth a dybiant sydd yn eich boddhau chwi: yn debyg fel pe baent yn eich gwahodd i giniawa, ac yno lanw eich plâd â rhyw ymborth od, trwy dybied eich bod yn hoff o hono, er eu bod hwy a phawb ereill yn ei gasâu. Y mae yn waeth na'ch sarhau; canys y mae yn cynwys holl ofid a phoen sarhad, ond heb y gallu o'i gymeryd yn angharedig. Er anghraifft, pe gwyddai rhyw ddyn mai Calfin ydwyf o ran egwyddorion crefyddol, ac iddo dreulio ei anadl bob tro y cyfarfyddai â fi, i glodfori John Calfin, neu ganmawl y puritaniaid, pan y gwyddwn ei fod yn eu dirmygu yn ei galon, ni fyddai genyf un diolch iddo am gymeryd yr holl drafferth i fy moddhau. Pe bae arno wir ddymuniad am wybodaeth ar y pethau hyn, neu ar ryw bynciau ag y meddyliai ef fy mod yn alluog ynddynt, ymddygai yn garedig ataf trwy roddi cyfleusdra i mi amlygu fy ngolygiadau; ond os bydd y pwnc yn cael ei lusgo i mewn, a hyny yn fynych, nid oes dim braidd yn fwy atgas.

Gwledd i'r meddwl yw ymddyddan; ac nid ydych yn dewis cael bwrdd bychan wedi ei hulio mewn rhyw gornel i chwi eich hunan, ond i gydfwynhau y wledd âg ereill. Cofiwch, gan hyny, y bydd yr ymddygiad a deimlech chwi yn anhyfryd, yn anfoddhaol gan ereill yr un modd; ac na wnewch i ereill yr hyn ni ddymunech i ereill ei wneuthur i chwi.

Fel pwnc o ymddyddan, deuwch â'ch hunan i mewn mor anfynych ag y galloch. Yr ydym oll mewn perygl o hyn; ond, efallai, fod y perygl yn fwy pan yn ieuanc. "Pwnc caled a manwl iawn yw i ddyn siared am dano ei hun," ebai Cowley; "y mae yn rhygnu yn rhy drwm ar ei galon ei hun i ddweyd dim yn isel, o un ochr; ac ar glustiau y gwrandawwr i ddweyd dim canmoliaeth, o'r ochr arall." Y mae yn waith pur beryglus i siared am danoch eich hunan, os bydd eich amgylchiadau yn eich rhwymo mewn un modd i geisio cymhorth. Fe gynorthwyir y tylawd os canfyddir fod ei anghenion yn wirioneddol; ond os cymer boen a thrafferth i geisio perswadio ei fod mewn eisiau, fe dry ei gymwynaswr oddiwrtho gyda chasineb.

Dywedwch mor lleied ag sy bosibl am danoch eich *hunan, eich* cyfeillion, *a'ch* gweithredoedd; canys os dywedwch rywbeth, derbynir o fel arwydd teilwng o fawl neu dosturi. Y mae un ysgrifenydd gwych yn cynghori ei ddarllenwyr i beidio ymddyddan am danynt eu hunain, os nad ydynt o ryw bwys a neillduolrwydd yn y byd. Ond nid yw hon yn rheol dda; canys pwy sydd ar nad yw, yn ei dyb ei hun, yn ddigon i fod yn wrthddrych ymddyddan?

VI. *Gochelwch amcanu at fod yn arebol.*—Os na fyddwch yn bur ofalus, chwi a adroddwch hen chwedlau fel pe baent yn newyddion, ac, efallai, y denir chwi i arddelwi i chwi eich hunan yr hyn a ddywedwyd ganrifoedd cyn i chwi gael eich geni. Yr ydych wedi clywed neu ddarllen y dywediad pert; ond yr ydych wedi annghofio yr amgylchiadau neu y dull y cawsoch afael ynddo, tra y mae y peth yn aros. Y mae yn well myned heibio fel dyn o synwyr cyffredin mewn ymddyddanion cyffredin, nag anturio at fod yn rhagorwych neu yn ddigrif, os na bydd genych ddigon o allu i'w barhau ond am ychydig amser. Ychydig sydd yn gallu masnachu yn y nwyfau hyn, heb deimlo angen benthyca; ac yn fuan iawn fe annghofia yr hwn sydd yn arfer benthyca, mai nid ei eiddo ef yw yr hyn a ddefnyddia mor hael.

Cyn myned yn mhellach, gallaf ddywedyd, os ydych yn cael eich hudo i ymhyfrydu mewn bod yn arebol a digrif, eich bod wedi eich amgylchu mewn tir peryglus. Y mae yn wir y gellir diwyllio y gallu a'r cyneddfau yma; ac fe wneir hyny hefyd. Yr wyf yn gwybod am gymdeithion yn cael eu taflu i grechwen trwy ryw darawiadau a gymerid eu bod yn ddifyfyr; ond pe gwybuasid eu bod gwedi eu myfyrio a'u trefnu o'r blaen, cawsent dderbyniad digon oer. Rhaid mai fel hyn y mae bob amser, i raddau mwy neu lai, gyda dywediadau pert; ac yn hyny yn benaf y mae yr athrylith, gallu peri iddynt basio fel pe baent gwedi eu creu y mynyd hwnw. Y mae dau berygl penodol mewn meithrin arebiaeth. Un yw, bod yn annichonadwy defnyddio erfyn mor finiog, heb glwyfo ereill. Ymdrechwch yn erbyn hyny gymaint ag a fynoch, fe fydd eich digrifwch fel saethau llymion yn cyrhaedd

rhyw un. Fe bair hyny deimladau anhywedd ac angharedig, yr hyn a arwain i ddygasedd a gelyniaeth. Yr hwn a amcana fod yn arebol, braidd na fydd yn sicr o gael gelynion. Ac os clywch am ddyn fo'n well ganddo golli cyfaill na cholli cellwair, gallwch fod yn sicr na flinir mohono yn hir gan wasanaeth cyfeillach. Fe wyr pob dyn fod ganddo ryw wendidau a phethau neillduol iddo ei hunan; ond y maent yn rhanau o'i natur; ac nid yw, ac nid all chwaith hoffi y dyn sydd yn ei glwyfo trwy y rhai hyn. Ein gwendidau ni yw y gwendidau; ac er fod arnom gywilydd o'u plegid yn fynych, fel rhai dynion o'u "perthynasau tylodion," eto, nid ydym yn hoffi eu gweled yn cael eu gwatwar. Cynhyrfir ynom wrthdarawiad i'r dyn sydd yn teimlo ei ragoroldeb gymaint fel y gall wawdio cymeriad rhai ereill. Fe all gynhyrfu y chwerthiniad, ac fe allai y rhagrithir iddo am dro; ond nid gan neb ond y rhai hyny sydd am ennill ei diriondeb er mwyn cael eu harbed. Yr ail berygl o geisio bod yn arebol yw, eich bod yn drygu eich meddwl eich hun. Nid all neb fod yn arebol heb feithrin yn ddyfal ryw ddull od a neillduol yn nhriniaeth ei ddrychfeddyliau. Rhaid i'w fryd redeg mewn rhedleoedd anhysbys i feddyliau yn gyffredin. Rhaid i bob peth yr edrychir arno gael ei roddi mewn goleuni dyeithr; ac yn fuan fe fydd y meddwl wedi cynefino âg ymwneyd â phethau mewn dull afreolaidd. Y canlyniad fydd, yr analluogir y meddwl i fod yn offeryn cywir i dderbyn neu roddi gwybodaeth. A'r dyn a ymdrecha fod yn arebol, a lwydda mor belled, ond odid, ag i fod yn eilfaint *(second rate)*, ac yn werth i ddim ond hyny. Y mae y darluniad a roddir o wâg arebwr gan Le Sage, yn ei ffugdraeth am Gil Blas, heb fod yn mhell, efallai, o fod yn gywir am bob arebwr. "Yn mhellach, y mae efe yn un o'r dynion mwyaf hunan-dybus yn yr Hispaen, er iddo dreulio y triugain mlynedd cyntaf o'i fywyd mewn anwybodaeth tosturlawn; ond, i'r dyben o ddyfod yn ddysgedig, fe aeth at athraw yr hwn a'i dysgodd i sillebu Lladin a Groeg. Heblaw hyn, y mae wedi dysgu nifer annghyffredin o ystorïon difyr, ac wedi eu hailadrodd gynifer o weithiau, nes o'r diwedd y mae yn credu yn hollol eu bod yn wir. Y

mae yn dwyn y rhai hyn i'r ymddyddan; a gellir dweyd am dano, fod ei arebiaeth yn llewyrchu ar draul ei gof." Y mae o bwys cofio, hefyd, fod y sawl sydd yn dweyd llawer o bethau claerwych, yn dweyd llawer o bethau gweinion a ffol; canys fe wyr y myrieridyddion *(pearl-divers)* mai y dyfroedd sydd yn cynyrchu mwyaf o fyrierid, sydd hefyd yn cynyrchu mwyaf o blisg.

"Silva," ebai un o'r blaenion o honynt, "ni a wnawn rywbeth o honot ti, fy nghyfaill. Yr wyf yn gweled fod genyt ystôr o athrylith, ond nad wyt yn gwybod pa fodd i'w ddefnyddio yn y dull goraf. Y mae ofn siared ffolineb yn dy rwystro i siared at amcan, pan y mae miloedd o ddynion y dyddiau hyn yn ennill yr enw o fod yn arebol, yn unig wrth siared at amcan. Os oes genyt feddwl galluog i lewyrchu, gollwng y ffrwyn, a dyro lawn ryddid i'w nerth a'i fywiogrwydd, ac anturia ddwyn allan yn ddiofn y peth agosaf at law, beth bynag fyddo; fe eir heibio dy gamgymeriadau fel dewrder godidog; ac ar ol adrodd mil o ffoleddau, os dygwydd i ti ddwyn allan un arebaeth, fe annghofir y pethau ffol, a chofir y syniad pert, ac felly fe fydd gan y byd feddwl uchel am dy ragoroldeb. Rhaid i bob dyn wneyd hyn, ag sydd yn amcanu at yr enw o fod yn arebol."

VII. *Byddwch yn ofalus hefyd yn eich ymddyddan, rhag gwneyd unrhyw ddanghosiad eich bod yn bur wybodus neu ddysgedig.*—Nid oes dim cymdeithion yn hoffi addef eu bod yn anwybodus; a phan y mae rhyw un yn gwneyd danghosiad rhodresgar o'i ddysg, nid yw hyny amgen na lledwahoddiad iddynt hwy gydnabod ei ragoroldeb, a chyfaddef fod pawb ereill yn anwybodus. Braidd y gallai un gwahoddiad fod yn fwy anhyfryd. Adwaenwn efrydydd unwaith a ymdrechai â'i holl egni i fod yn boblogaidd yn ei gyfeillachau; ond yn methu â llwyddo. Yr oedd yn anhawdd canfod yr achos; ond un prydnawn eglurwyd y cwbl. Yr oedd yn allebu *(quote)* Lladin, ac yn ymddyddan Groeg, ac yn ymddifyru yn neillduol mewn olrhain pethau i'w tarddiad: er anghraifft, cymerodd lawer o boen i geisio dangos i'r cymdeithion fod y gair Saesonig *comedy* wedi colli ei ystyr gwreiddiol yn mhlith y

Groegiaid, canys yr oedd yn gyfansawdd o *cômê*, heol, ac *ôdê*, cân, yn arwyddo *cân i'r heol*, yr hon a arferent gyflawni mewn trol ar hyd ystrydoedd y ddinas. Yr oedd hyn oll yn wir, ond yr oedd y coegddysg yn annyoddefol. Nid yw hyn yn arwydd gwirioneddol o ddysg, gan y gellir cael mewn awr, uwchben geirlyfr da, ddigon o'r fath i boeni cyfeillach am brydnawn cyfan. Ni wna y gwir ysgolhaig ond ychydig o swn am ei ddysg. Y meddyg hanner-ddysgedig, yr hwn sydd yn ofni yn feunyddiol i chwi amau ei fod yn anwybodus, yw y dyn sydd yn defnyddio enwedigaethau *(technicalities)* dyeithr ei alwedigaeth, ac yn troi hyd yn nod enwedigaethau amlwg cyfferiaeth, yn chwyddiaith. Efallai mai dyma y rheswm fod coegddysg mor atgas. Os cyfarfyddwch â dyn sydd yn barod i fwrlymu Lladin, a'ch blino â Groeg ar bob achlysur, gallwch benderfynu fod ganddo gymaint o ddysg ag sydd o galondid gan y ci bychan digywilydd sydd yn cyfarth i chwi bob amser wrth i chwi fyned heibio'r tŷ. Y mae yn wir, os byddwch yn mhlith efrydyddion yn unig, fod y peth yn wahanol; ond yn mhlith cymdeithion cymysg, anaml y gwneir croesaw i'r sylw mwyaf godidog os bydd mewn iaith annealladwy.

VIII. *Yn eich holl gyfeillachau, byddwch yn ofalus i gadw purdeb meddwl.*—Gwrthodir gan bob cyfeillach rinweddol bob tueddiad at yr hyn sydd anweddus. Yn awr, y mae yn anhawdd cael neb a foddheir â hyny. Y mae dywediadau o'r ystyr deublyg, a'r cyffelyb, yn beth atgas iawn mewn cymdaith. Y mae y rheswm am hyn yn amlwg. Nid oes neb yn hoffi cael dangos cymaint o anmharch iddynt ag sydd raid wneyd, pan yr ydych yn cymeryd yn ganiataol y boddheir hwy âg ymddyddan o'r fath yma. Y mae yn sarhad hollol i bob dyn o iawn feddwl a moesau. Ac ni wybum erioed am ddim ond teimladau ac ymddygiadau o anfoddgarwch, pan y dygwyddai pethau anmhriodol fel hyn gael eu dwyn i mewn. Dylai eich holl ailadroddion o ffeithiau ac hanesion, a phob peth arall a ddywedwch i'r dyben o oleuo neu ddifyru ereill, fod yn bur mewn iaith a thybiant.

Pa fodd y mae hanesion a chwedlau i'w defnyddio? Y maent o bwys a defnydd neillduol pan y defnyddir

hwy yn iawn, ac yn waeth na bod yn ddifudd os defnyddir hwy yn anmhriodol. Chwi a wyddoch am ddynion o bob galwedigaeth, sydd bob amser yn adrodd hanesion ac yn dweyd chwedlau. Ymddengys ar y cyntaf fod eu hystôr yn anhyspyddadwy; ond ar ol ychydig o gydnabyddiaeth â hwy, chwi a gewch eu bod yn o gyfyngedig, a bod yr un pethau yn cael eu hadrodd, a chwerthin wrthynt, dro ar ol tro, y naill flwyddyn ar ol y llall. Y mae un yn hynod fel adroddwr "hen chwedlau," a'r llall yn nodedig am gadw bywyd yn y cymdeithion, ac weithiau eu cadw i chwerthin bron yn ddidor am oriau. Ac eto, nid yw y personau yma (ac nid allant fod chwaith), yn gyffredinol, yn neillduol o barchus. Er hyny, y mae hanesion a chwedlau yn ffeithiau sydd yn aml yn egluro egwyddorion pwysig, ac nad ellir yn iawn fod hebddynt. Yr wyf yn dywedyd y gallwch ac y dylech eu defnyddio. Y maent o bwys neillduol; ac y mae yn anhawdd i chwi fod yn fuddiol ac yn effeithiol hebddynt. Gallwch wneyd defnydd helaeth o honynt; bron i mi ddweyd, nad allwch eu defnyddio yn ormodol. Ond y mae dau beth y dylid sylwi arnynt yn y fan yma.

1. Y dylech ddefnyddio y ffaith yr un fel ag y dygwyddodd. Na chymerwch ddim oddiwrthi, ac na chwanegwch ddim ati, er mwyn ei haddurno, na'i gwneyd yn fwy effeithiol at y pwynt. Yr ydych yn athrodi hanesiaeth os tynwch neu os chwanegwch ddim. Y mae rhai dynion nad allant adrodd ffaith ar ffurf hanesyn heb ei throi a'i chyfnewid fel o'r braidd y gallwch wybod mai yr un ydyw. Y mae yr arferiad yn ddrwg; canys cyn hir, chwi a fyddwch yn analluog i adrodd ffaith neillduol, heb ei chyfnewid, os goddefir i chwi ei hadrodd.

2. Na ddywedwch chwedlau, ac na adroddwch hanesion, yn unig er mwyn difyrwch. Eu dyben yw egluro yr hyn yr ydych yn siared neu yn ysgrifenu am dano. Pan y defnyddir hwy i rywbeth heblaw i egluro, y maent o'u lle.

Yr wyf yn gobeithio nad ydych yn meddwl fy mod yn golygu y dylech fod yn fanwl a maith wrth adrodd eich holl ffeithiau a'ch hanesion. Y mae hyny yn

anoddefadwy. Y mae hyny yn debyg i giniawa ar bysgod mân—yn faith iawn ac annifyr yn myned yn mlaen; ac ar ol gorphen, y mae yn hawddach i chwi gofio y blew na'r cig. Ni wnai dyn a werthfawrogai ei amser giniawa fel hyn pe gallai ymwrthod.

Cadwch eich ymddyddan yn rhydd oddiwrth bob cenfigen; ac i wneyd hyn, rhaid i'r galon fod yn glir. Byddwch yn siriol yn eich cyfeillachau. Fe ellir ffurfio hyny yn arferiad; ac fe'ch gwna yn llawer iawn mwy boddus. Y mae genym gymaint o wendidau a chroesau, a chymaint o lawr-y-bryn yn ein bywyd, fel y mae yn hoff genym gyfarfod â chyfaill siriol a difyr. Fe fydd meithrin tônau llon, a dull siriol o gyfeillachu, yn chwanegu cysur i chwi eich hun, ac i bawb y byddwch yn cyfeillachu â hwy.

Y rhai canlynol ydynt y rheolau a rydd yr enwog Mason i'r efrydydd ar y pwnc, ond eu bod gwedi eu talfyru:—

1. Dewiswch eich cymdaith er budd i chwi, yr un fath ag yr ydych yn dewis llyfrau. Y cymdeithion goraf, a'r llyfrau goraf, ynt y rhai hyny sydd fwyaf buddiol a difyrus. Os nad allwch gael na budd na difyrwch *oddiwrth* eich cymdaith, gweinyddwch un o honynt, neu y ddau, *iddynt*. Ond os nad allwch dderbyn na rhoddi, gadewch y cymdaith hyny ar unwaith.

2. Ystyriwch beth yw nodweddiad eich cymdeithion. Os ydynt yn rhagorach na chwi, byddwch yn fwy parod i ofyn cwestiynau, a byddwch yn wrandawwr yn gyffredin; ond os ydynt israddol i chwi, ymdrechwch wneyd daioni iddynt.

3. Pan y bydd y gyfeillach yn marweiddio ac yn darfod, ymdrechwch i'w hadfywio trwy ddwyn i mewn ryw bwnc y gall pawb ddweyd rhywbeth arno. Ni fydd yn beth o'i le i chwi ragbarotoi eich meddwl â phynciau priodol.

4. Pan y dywedir rhyw beth newydd, gwerthfawr, neu ddefnyddiol, rhowch o yn eich coflyfr. Cadwch bob peth ag a allwch, fyddo yn werth ei gadw; ond gwrthodwch bob sothach.

5. Na fyddwch byth yn wâgnod *(cipher)* mewn cymdaith. Ymdrechwch eu boddhau, a chwi a gewch rywbeth i'w ddweyd a fydd yn dderbyniol. Peth an-

foneddigaidd yw bod yn ddystaw bob amser. Fe dderbynir y peth mwyaf cyffredin, os dywedir o mewn dull caruaidd, yn hytrach na bod yn ddystaw; ac fe all sylw cyffredin arwain yn aml i fuddioldeb neillduol. Os bydd dystawrwydd hollol yn y cymdaith, gallwch anturio tori ar hyny bob amser, ac fe fydd pawb yn ddiolchgar i chwi.

6. Na fyddwch byth yn ffrystgar a dadyrddus mewn cymdaith; ac os tueddir eich cymdeithion i fod felly, nac unwch â hwy yn hyny. Os bydd rhyw bwnc yn cael ymdrin âg ef yn ffrystgar, arhoswch nes y gweloch bob ochr iddo, ac y byddoch yn feistr arno. Wedi hyny chwi a allwch siared i fuddioldeb ac at y pwynt. Nac ailadroddwch unpeth yn yr un cymdaith.

7. Cofiwch fod ereill yn edrych ar eu gwendidau a'u camgymeriadau mewn goleuni gwahanol i'r hyn yr ydych chwi; gan hyny gochelwch rhag bod yn rhy barod i'w gwrthwynebu a'u hadolygu mewn cymdaith.

8. Os bydd y cymdeithion yn athrodi neu yn siared yn llygredig, argyhoeddwch hwynt trwy eiriau, os gwna hyny y tro; ond os na wna, gwnewch trwy fod yn ddystaw; ac os metha hyny, ymneillduwch a gadewch hwynt.

9. Nac ymdrechwch i ddysgleirio llawer mewn ymddyddan, fel pe bae hyny yn beth priodol i chwi, a'ch bod yn gydwybodol o ryw ragoroldeb.

10. Cyd-ddygwch lawer â'r hyn fo'n ymddangos i chwi yn anmhriodol: efallai na fydd yn ymddangos felly i bawb: chwi a ellwch ddysgu rhywbeth oddiwrth hyny.

11. Byddwch yn rhydd ac esmwyth, ac amcenwch wneyd i bawb ereill deimlo felly. Yn y dull yma, fe ellir dwyn allan lawer o syniadau gwerthfawr.

At y rhai hyn, gadewch i mi chwanegu, Nac ewch byth o dymher mewn cymdaith. Os ymddygir yn anhywedd tuag atoch, neu os anmharchir chwi gan rywun, nid dyna'r fan i chwi ddal sylw arno. Os dygwydd i chwi fod mor anffodus a myned i resymu â dyn brolgar a phoethwyllt, gwyliwch ar fod yn berffaith oer ac araf. "Dur oer sydd yn tori," a byddwch chwithau wedi cael gafael yn fuan yn y pen goraf i'r ymresymiad. Y mae teimlad a pharch y cymdaith yn troi bob

amser at y person a fyddo yn oer yn ngwyneb profedigaeth. "Os bydd rhyw ddyn o dymher gecrus ac ymrysongar, gadewch o o'r neilldu. Fe chwilia y byd am ddigon o waith iddo. Fe gyferfydd â rhywun tebyg iddo ei hunan, ac fe dâl hwnw iddo yn well nag y gallwch chwi. Fe all dyn ymladd trwy ei oes, os deil sylw ar ddynion o'r fath yma." Ni ddylai dadl (hyny yw, ymdrech am fuddugoliaeth, yr hyn sydd yn cynhyrfu y teimladau yn fawr) byth gael ei goddef mewn cymdaith. A phan y mae ymresymiad yn tueddu yn gryf at hyny, dylai gael ei derfynu.

Nid allaf derfynu heb alw fy narllenydd i ystyried, mai un o'r bendithion mwyaf a gyfranwyd i ddyn yw y gallu o drosglwyddo ei feddyliau a'i deimladau mewn ymddyddan. Y mae yn ffynnon barhaus o gysur; a gall fod yn foddion i fod yn bur ddefnyddiol. Y mae y tafod hefyd yn offeryn i wneyd drwg annhraethol. Ein prif beiriant ydyw i wneyd un ai da ai drwg. Y mae yn ein dwyn ni dan gyfrifoldeb dirfawr ac ofnadwy. Y mae cynhyrfiadau y galon, pan y trosglwyddir hwynt mewn geiriau, yn sicr o effeithio ar ereill, i raddau mwy neu lai. Os effeithir arnynt yn addas, bydd hyny yn wneyd daioni; ond os yn anaddas, drwg fydd y canlyniad. Y mae yn annichonadwy i chwi dreulio cymaint ag un diwrnod yn eich ymwneyd â'r byd, heb fyned dan bwysau dirfawr o gyfrifoldeb oddiwrth ddefnyddiad y rhodd yma. Y mae yr hwn a blanodd y glust yn clywed pob gair, ac fe orfydd i chwi roddi cyfrif manwl am danynt oll y diwrnod mawr hwnw ag y byddys yn chwilio pob cyfrif. Fe all dyn duwiol a fyddo â meddwl diwylliedig, ac ystôr o wybodaeth, a moesau ac ymarferiadau a'i gwna yn dderbyniol lle bynag yr elo, yn nghyda dylanwad, yr hyn y mae diwylliad bob amser yn ei gyfranu,—fe all y fath ddyn, meddaf, fod yn llawer o les i ddynion, o ogoniant i Dduw, ac o ddedwyddwch iddo ei hun, yn ol fel y defnyddia ei alluoedd cymdeithasgar. Fe bair ei eiriau a'i agweddau i ffrwd o ddyddanwch lifo i enaid cyfeillach; hwy a ffurfiant, i raddau, nodweddiad y dwndrwr bychan sydd yn ei wrando; hwy a balmantant ei lwybr i ddefnyddioldeb goruchel a gogoneddus; neu a dreiglant nos o dywyll-

wch a galar yn ol dros ei enaid. Cofiwch fod pob gair a lefarwch yn ehedeg yn ddiorphwys at orsedd Duw, ac y mae i effeithio ar sefyllfa eich enaid i dragwyddoldeb. Unwaith y cwympa dros y genau, nid ellir byth ei alw yn ol; ac fe fydd yr argraff a wna yn para wedi i holl oesoedd y ddaear fyned ymaith.

## PENNOD VII.

GOLAFUR—DIFFYG TEIMLO EI ANGEN—DIFFYG AMSER—DIFFYG MWYNIANT—BLINDER—RHEOLAU—YMBORTH—I ATEB I'R GOLAFUR—I FOD YN RHEOLAIDD—I FOD YN SYML—TREFNIDEDD.

Y MAE yn amlwg i bob darllenydd, ar y cipolwg cyntaf, fod gobaith a llwyddiant yr efrydydd yn dibynu llawer iawn ar ansawdd ei iechyd. Os bydd galluoedd y corff gwedi eu gwanychu neu anmharu mewn un modd, fe fydd y meddwl yn sicr o gydoddef i'r un graddau. Y mae yn wir y gellir gadael i'r cyfansoddiad anmharu yn raddol, ac eto, am dymor, i'r meddwl barhau yn ei fywiogrwydd; yn debyg i dân pan ei porthir â rhyw fath o danwydd, y mae yn llosgi yn loyw nes y mae yn diffodd ar unwaith.

Fe allai eich bod yn dylawd, ac heb fawr o fanteision; ond nid yw hyny o'r pwys mwyaf: chwi a allwch godi trwy bob anfantais o'r fath, trwy hunanymroddiad. Ond os collwch eich iechyd, dyna'r cwbl wedi ei dori i ffwrdd, heb obaith i wneyd dim trwy efryd. Ni wna, ac nid all, y meddwl gyflawni dim neillduol, os na fyddwch yn iach. Gan hyny, llwyr ymroddwch er pobpeth, mor belled ag y mae yn ymddibynu arnoch chwi, i gael "*meddwl gwych mewn corff iachus.*"

Y mae yn dygwydd yn aml gyda'r efrydydd, pan y mae maesydd dysgeidiaeth yn ymagori yn eu heangder diderfyn o'i flaen, ac yntau yn teimlo ei hun yn fywiog ac yn hoenus, iddo ymgadw mor agos gyda'i lyfrau, nes ymwrthod â phob math o adfywiannau. Y mae yn diystyru rhybydd ar ol rhybydd, nes o'r di-

wedd y mae yn methu myned yn mlaen; ac yna, wedi iddi fyned yn rhy ddiweddar, y mae yn canfod fod hadau marwolaeth gwedi eu hau yn ei gyfansoddiant.

Po mwyaf gobeithiol fyddo yr efrydydd, uchaf oll fydd ei ymgeisiadau; a pho gryfaf fyddo awydd-gais ei athrylith, mwyaf oll fydd y perygl. Fe ddygwyd lluaws o'r dynion ieuainc mwyaf gobeithiol i'r bedd yn fore; nid yn gymaint o herwydd iddynt efrydu yn rhy galed, ond o herwydd iddynt esgeuluso dyledswyddau iechyd. Y mae yn wir y gall y dyn a lwyr ymroddo â'i holl enaid i efrydu, ac heb ddim gofal am ei iechyd, fe all, meddaf, gynyddu yn neillduol am dymhor. Fe all deithio yn gyflym dros lawer o dir, ac ymddangos o athrylith hynodol. Ond y mae braidd yn sicr na ddeil o ddim yn hir; ac os nad y bedd fydd ei gartref buan, fe fydd toc wedi myned yn rhy wan a gwywedig i wneyd nemawr o ddim, ond ymboeni gyda natur nychlyd a digalon.

Y mae yn annichonadwy i un dyn fod yn efrydydd trwyadl, heb beryglu ei iechyd, yn niffyg edrych at hyny yn ofalus.* Fe wnaed dyn i fod yn lafurwr. Yr heliwr, a'r sydd yn gwibio trwy goedwigoedd, ac yn dringo mynyddoedd, yw y dyn iach a chaled. Y morwr, a'r sydd yn cael ei daflu o amgylch gan fil o ystormydd, ac yn llafurio ddydd a nos, sydd yn gryf a chadarn ei gyfansoddiad, os na bydd afradlonedd wedi anmharu ei natur. Ac y mae unrhyw ddyn a fyddo yn arfer llafurio, yn debyg o fwynhau iechyd da, os na fydd yn gorweithio yn rhy aml. Ond y mae ymarferion yr efrydydd yn bur wahanol; ac yn tueddu yn fawr, os na chymer ofal neillduol, i wanychu a chrebychu ei natur a'i gyfansoddiad.

Nid all yr un dyn amau, a ddalio sylw go fanwl,

* Y mae gwahaniaeth mewn amgylchiadau a sefyllfaoedd, yn gwneyd y peth yn wahanol mewn gwahanol bersonau. Y mae y sylwadau uchod yn perthyn yn neillduol i'r sawl sydd yn treulio ei holl amser i efrydu, cyfansoddi, &c.; ac i raddau mawr iawn i'r sawl sydd yn treulio rhyw gymaint o'r dydd wrth alwedigaeth heb fod yn yr awyr agored, nac yn gofyn llawer o lafur y corff, ac yn rhoddi y gweddill o'i amser at ddarllen a myfyrio. Ond nid yw yn perthyn cymaint i'r sawl a fo yn treulio rhyw gymaint o'r dydd yn gyffredin mewn rhyw lafurwaith yn yr awyr agored. Sylwir yn helaethach ar hyn yn yr ail ran.

nad un rheswm pam y mae cymaint o ddynion ieuainc gobeithiol yn syrthio i'r bedd mor gynar, yw, eu bod yn ceisio gwneyd cymaint mewn mor lleied o amser. Hyny ydyw, y maent yn barnu ac yn teimlo fod yn angenrheidiol cyflawni y gwaith mawr o ddysgyblu ac ystorio eu meddyliau cyn pump-ar-hugain oed; gan hyny, ymroddant mor llwyr at ddarllen a myfyrio fel y mae yn annichonadwy iddynt amgen na pheryglu eu bywyd.

Y mae amryw o rwystrau ar y ffordd i chwi gymeryd golafur *(exercise)* bywiog a rheolaidd.

I. *Nid ydych yn awr yn teimlo yr angen o hono.*—Y mae yn anhawdd genym gymeryd meddyginiaeth, nes y byddo gorfod arnom; ac y mae cymeryd golafur yn debyg, i'r efrydydd, i gymeryd meddyginiaeth. Efallai eich bod yn ieuanc yn awr—yn teimlo yn heinif, iechyd da, llawn o ysbryd, a phob peth yn wych. Y mae amser yn ehedeg ar adenydd esmwyth. Pam y dylech chwi ddysgu eich hun i fod yn gaethwas i ymarferiad a'ch gorfodogai i gymeryd golafur bob dydd? Y mae yn ymddangos fel pe byddid yn eich rhwymo i ddewis pâr o ffyn baglau, pan y mae genych gystal coesau i gerdded ag a gariodd unrhyw amherawdwr erioed. Cymered y rhai hyny at yr ymarferiad, y rhai sydd mewn perygl o gael y gymalwst, neu syrthio yn ysglyfaeth i gylla drwg ac anhwylus; ond am danoch chwi, nid ydych yn teimlo yr angen. Nac ydych; ac fe allai na theimlwch mohono chwaith nes i chwi fyned yn rhy bell i'ch gwella trwy olafur. Ar y pwnc yma rhaid i chwi gymeryd tystiolaeth y lluaws sydd gwedi myned tros y tir yr ydych chwi yn sefyll arno yn awr, ac sydd yn ei ddeall yn drwyadl hefyd. Dywedant hwy wrthych nad yw o ddim yn ymddibynu ar eich dewisiad chwi i wneyd neu beidio; y gwir yw, y mae yn rhaid i chwi gymeryd golafur, neu roddi i fyny eich holl obeithion.

II. *Efallai eich bod yn teimlo nad oes genych ddim amser.*—Y mae genych gymaint o waith efrydu, neu yr ydych yn llafurio dan ryw anfanteision penodol, fel nad yw yn ddichonadwy i chwi gymeryd golafur. Gadewch i mi ddweyd wrthych, eich bod yn camgymeryd yn fawr yn y pwnc. Os gwnewch brawf ar

gymeryd golafur rheolaidd a bywiog bob dydd am ddim ond cymaint a mis, chwi a fyddwch yn sicr o ganfod y gallwch gyflawni yr un dyledswyddau, ac efrydu cymaint, a hyny yn llawer hawddach nag hebddo. Chwi a ryfeddwch wrth y gwahaniaeth. Fe fydd yr amser a gollir fel hyn i gryfhau a bywiogi eich cyfansoddiad, yn cael ei adennill yn ddeublyg trwy y rhwyddineb a'r hyfrydwch y bydd y meddwl yn ymaflyd yn, ac yn myned trwy, y wers.

III. *Yr ydych yn gwrthod golafur hefyd, efallai, am nad ydych yn teimlo dim mwyniant na difyrwch ynddo.* —Y mae llawer o ffyrdd gwedi eu dychymygu trwy ba rai y gall yr efrydydd gymeryd golafur, a bod y golafur yn fwyniant ac yn ddifyrwch iddo hefyd. Ond heb sylwi ar ddim o honynt yn bresenol, oddieithr yn unig yr un ag yr wyf fi wedi cael fy moddhau fwyaf ynddo, sef *cerdded.* Y mae Buchan yn ei gymhell fel y golafur goraf a ellir ei gymeryd, o herwydd ei fod yn dwyn mwy o gyhyrau *(muscles)* i weithrediad nag unrhyw beth arall a'r nad yw yn boenus. Un o brif ragoriaethau y dull yma yw, ei fod yn syml; y mae pob peth angenrheidiol wrth law bob amser. Ac hefyd y mae yn yr awyr agored; felly gall yr ysgyfaint fwynhau awyr pur y nef, a'r llygaid syllu ar fynyddoedd a dyffrynoedd, coedydd a llysiau, ac ar wrthddrychau bywiol ac anfywiol, ar yr un pryd. Y mae gwrthddrychau y golwg a'r clyw yn lloni ac yn bywiocau y meddwl, ac yn dyrchafu yr ysbrydoedd. Dyna ragoriaeth arall mewn cerdded, chwi a allwch gael cyfaill i gydgerdded gyda chwi, i ddadfeichio y meddwl, ac i lòni yr ysbrydoedd, trwy ymddyddan difyrus. Y mae hyn yn bwnc o bwys neillduol; ac nid ellir ei fwynhau yn dda ond wrth gerdded. Y mae ymddyddanion yn esmwythau y ffordd, ac yn lleihau y blinder. Gan hyny, chwi a ddylech geisio cyfaill i gydgerdded â chwi yn gyffredin. Gwnewch brawf o'r dull yma yn rheolaidd bob dydd am ychydig o wythnosau, a chwi a ryfeddwch mor fuddiol fydd y canlyniadau. Pan na fyddwch yn efrydu, a dim arall i'w wneyd yn benodol, byddwch yn sicr o fyned allan i gerdded, er mwyn ystôrio iechyd erbyn amser dyfodol. Yr oeddwn unwaith yn adwaen dau efrydydd a wnaethant les rhy-

feddol i'w hiechyd trwy hyny yn unig. Hwy a gerddasant dros ddau gant o filldiroedd gyda'u gilydd mewn un haf, heb gyfrif yr un daith islaw pum milldir. Mewn ychydig o amser chwi a ddeuwch yn gynefin â'r ymarferiad; a chwi a deimlwch y fath ddifyrwch a budd ynddo, fel na fyddwch yn holi pa fath dywydd ydyw, ond, A ydyw yr awr i gerdded wedi dyfod?

IV. *Wrth esgeuluso golafur, y mae yn myned yn beth blinderus, ac felly yn cael ei adael heibio.*—Nid oes dim achos i ni fyned yn feddygon er mwyn egluro pam y mae y corff, trwy esgeulusdra, yn myned i sefyllfa ag y teimlir o yn faich i wneyd yr un math o lafurwaith. Y mae y ffaith yn amlwg. Chwi a allwch fyned at eich llyfrau, a chau arnoch, a bod yno bron yn gwbl am wythnosau; ond beth fydd y canlyniad? fe fydd hyd yn nod *meddwl* am gerdded dwy neu dair milldir, bron yn eich blino. Y mae y cyhyrau, y cymalau, a'r holl gyfansoddiad, yn crebachu wrth feddwl am hyny. Fe wynega y cymalau mewn ychydig o fynydau, ac nid oes digon o allu gan yr ewyllys i beri ufydd-dod. Pob dydd ag yr esgeuluswch yr arferiad, fe fydd yr anhawsder yn cael ei wneyd yn fwy; ac felly, y sawl na fo ganddo amser penodol i gymeryd golafur, a fydd heb gymeryd dim cyn bo hir. Nid oes dim a'i gwna yn ddifyr, nac yn ddi-faich chwaith, ond ymarferiad cysōn a rheolaidd. Ni fydd cymeryd rhyw grap yn awr a phryd arall yn ddifyrwch, fel darllen newyddiadur; ond yn hytrach yn faich. Y mae llawer, yn awr a phryd arall, yn cymeryd yr hyn a alwant yn "ddysglaid o olafur;" a phan y mae drosodd, teimlant yn waeth na'r pryd nad ydynt yn gwneyd felly; ac yna eu casgliad doeth yw, nad yw golafur yn cyduno â hwy. Fel yr Indiad, wedi rhoddi un bluen dan ei ben ar y graig, a ryfeddai yn fawr pa fodd y gallai neb gysgu ar lonaid gwely o honynt: felly y mae rhai yn rhyfeddu pa fodd y gall neb wneyd wrth gymeryd golafur caled bob dydd. Y mae golafur yn hyfryd neu yn anhyfryd, nid mewn cymhariaeth i ba un ai ysgafn ai caled fydd, ond yn ol fel y bydd yn rheolaidd neu afreolaidd. Fe fydd y meddwl a'r corff yn rhwystr i chwi fwynhau cysur a buddioldeb golafur, os na fydd yn gyson a rheolaidd.

V. *Tuagat i'ch golafur fod yn wir ddefnyddiol, rhaid i chwi ddal ar y rheolau canlynol:—*

1. Rhaid ei fod yn rheolaidd a dyddiol. Y mae natur wedi planu chwant at fwyd o'n mewn, fel ag i ofyn cynorthwyon newyddion bob dydd, i ateb i dreuliadau y corff. Ond heb olafur, nid all y cyfansoddiad droi y cynorthwyon yma yn feithrinol, a'u cymhwyso at anghenion y corff. Cymerwch olafur mor reolaidd ag yr ydych yn cymeryd bwyd. Y mae bron yn annichonadwy i chwi gael rheswm digonol dros esgeuluso, tra byddo cymalau genych i'ch cario.

2. Dylai fod yn ddyddan a hyfryd. Byddai bod ar y felin draed yn olafur digon rheolaidd a bywiog; ond byddai yn hynod o anhyfryd. Y mae yn wir, y gallai hyny wneyd eich gewynau yn haiarnaidd; ond byddai yr enaid yn drwmfrydig ac annyddan. Y mae o bwys neillduol i chwi fod y golafur yn ddifyrus. Y mae cerdded yn beth da, ond nid mor dda os rhaid i chwi wneyd hyny fel ceffyl y *barcer.* Gan hyny, byddwch yn sicr o ofalu am fod eich golafur yn ddifyrus. "Y mae awduron yn mhob oes gwedi ceisio dangos mai oddimewn i ni y mae difyrwch, ac nid yn y gwrthddrychau allanol. Os bydd yr enaid o dueddiadau boddus, ni fydd yn anhawdd cael gwrthddrychau difyrus iddo."

3. Dylai ryddhau y meddwl. Fe all athroniaeth ein dysgu i oddef anffodion yn ddystaw a chyndyn; ac fe all crefydd ein dysgu i'w goddef yn foddlawn a llawen; ond nid ydynt byth yn ymosod yn eu llawn rym ar ddyn a fyddo â'i iechyd a'i ysbrydoedd mewn iawn hwyl. Ni a ddylem amcanu cadw y corff a'r meddwl yn y fath agwedd, fel ag i fod yn foddlawn yn y sefyllfa bresenol, ac yn ddiofn o'r hyn a fydd. Ond nid allwn byth gyrhaedd hyn, os bydd y meddwl yn wastad wedi ei ordynu fel llinynau offeryn cerdd. Os bydd y meddwl wedi cyrhaedd yr ymarferiad o daflyd ymaith bob myfyrdod a phryder, ac ymwaghau ar unwaith, fe fydd wedi cyrhaedd gallu rhagorol.

Y mae yn ddrwg genyf os yw rhyw un yn casglu oddiwrth fy sylwadau, fy mod yn gwrthwynebu pob llafurwaith trwy ba un y gall yr efrydydd o unrhyw amgylchiadau, ennill iddo ei hun. Y mae llawer o'r

dynion enwocaf gwedi bod yn dal yr aradr, yn areithio yn gyhoeddus, yn arwain byddinoedd, ac yn efrydu yn ddwys uwchben eu llyfrau yn olynol. Bugeiliaid oedd y patrieirch, a mab enwog Jesse; felly hefyd Moses, a rhai o'r proffwydi. Gwneuthurwr pebyll oedd Paul, er maint ei ddysg. Garddwr oedd Cleanthes, ac arferai ddyfrhau ei ardd y nos, fel y gallai gael amser i efrydu y dydd. Efe ydoedd canlynydd Zeno. Caethion oedd Æsop a Terence, ac fe bery eu henwau tra pery iaith. Yr oedd Caisar yn arfer myfyrio yn y gwersyll; a nofiai afonydd, gan ddal ei ysgrifau âg un llaw allan o'r dwfr. Dywedir am Gustavus Vasa, "na tharawodd yr un gwell gweithiwr erioed mo'r dur" nag ef. Yr oedd Mahomet yn gwneyd ei dân, yn ysgubo ei dŷ, yn godro ei ddefaid, ac yn gwella ei esgidiau a'i lodrau, efo "ei ddwylaw santaidd" ei hunan. Ac y mae llawer yn ein hoes ninau, yn neillduol yn yr Allmaen a'r America, yn efrydyddion caled a chywir, ac eto yn byw wrth lafurwaith eu dwylaw. Ac yn wir, nid ellir profi mewn un modd y buasai yr enwogion uchod mor nodedig o ran galluoedd meddwl, oni buasai iddynt gyflawni y llafurwaith y darfu iddynt. Os byddwch yn ymdeimlo mor ddedwydd yn yr ardd, yn y cae, neu yn y weithfa, ag y byddwch wrth gerdded, y mae hyny yn well na cherdded. Beth bynag, y golafur mwyaf difyrus i chwi, yw y goraf er eich lles. Goddefwch i mi ddweyd mewn gair, nad oes yr un efrydydd yn gwneyd cyfiawnder âg ef ei hun, â'i gyfeillion, nac â'r byd, os nad yw yn ymarfer â chyfundraeth reolaidd o olafur; a hyny o herwydd y rhesymau canlynol:—

(1.) Y mae pob sail i feddwl yr hwyheir eich oes trwy hyny. Nid yw y Creawdwr wedi llunio y corff yn y fath fodd ag y gall oddef ei gaethiwo heb olafur, tra y mae y meddwl yn llosgi ac yn treulio ei alluoedd yn ddiorphwys.

(2.) Byddwch yn fwy wrth eich bodd wrth hyny nag hebddo. Nid yw y sylw yma yn perthyn i neb ond y sawl sydd yn cymeryd golafur yn ddyddiol; ond i'r rhai hyny y mae yn perthyn yn benodol. Fe gydnebydd pawb sydd wedi ffurfio yr ymarferiad yma, fod hyn yn wirionedd anwadadwy.

(3.) Byddwch yn fwy o gysur i ereill. Y mae cymdaith difyr yn drysor; ac fe fydd golafur yn sicr o'ch gwneyd yn ddifyr.

(4.) Fe gryfheir eich meddwl trwy olafur. Os ydych yn dewis meithrin chwaeth gwan a nychlyd, nad all ddim oddieithr anadlu yn awr a phryd arall ambell ddelw neu ddrychfeddwl barddonol, fel ysbryd rhyw sylwedd gorburedig, rhy eiddil i ymaflyd ynddo a'i ddefnyddio, a rhy uchawyrol i'w fwynhau, oddieithr gan rai o gyffelyb chwaeth; os ydych yn dewis hyn, meddaf, ymgadwch yn eich llyfrgell trwy y dydd am ychydig o flynyddoedd, nes o'r braidd y bydd eich giau yn gweithredu, ac fe â y byd heibio i chwi fel breuddwyd. Ond os ydych yn hoffi meddiannu meddwl a all dreiddio yn ddiofn i bethau dyfnion, ymgodi at yr hyn sydd yn oruchel, crafangu a dal pethau nerthol, ac ymsymud a gweithredu yn mhlith meddyliau—byddwch yn ofalus i gymeryd golafur bob dydd.

"Yr ydym yn gynwysedig o ddwy ran, a dwy ran wahanol iawn; un yn eithaf analluog i wneyd dim o honi ei hunan, ond yn cael ei llywyddu a'i bywiocâu gan y llall. Pan y mae y corff mewn llawn iechyd a nerth, y mae y meddwl yn cael ei gynorthwyo trwy hyny mor bell ag i allu ymroi yn fwy trwyadl i efrydu —y mae yr amgyffiad yn gyflymach; y dychymyg yn fwy bywiog; yn hawddach eangu y bryd; gellir chwilio y syniadau yn fwy manwl, a'u cymharu yn fwy cywir. Trwy y moddion yma, fe'n galluogir i ffurfio barn fwy union am bethau; i symud, gyda mwy o effaith, y camgymeriadau yr arweiniwyd ni iddynt trwy addysg annghywir, nwydau, anystyriaeth, defodau, anghreifftiau, a'r cyffelyb; i gyrhaedd golygiadau eglurach am yr hyn sydd oraf i ni, am yr hyn sy fwyaf er ein budd; ac yna i ymroddi yn fwy llwyr ar eu hol, ac i barhau yn hyny gyda mwy o benderfyndod a sefydlogrwydd.

Dymunwn wneyd ychydig o grybwyllion yn awr ar YMBORTH:

I. *Dylai eich ymborth gyfateb i'ch golafur yn yr awyr agored.*—Y mae llawer yn ymgadw o fewn y tŷ yn hollol, pan y byddo llawer o waith ganddynt, neu pan y byddo yr hin yn annghysurus; ac eto yn

bwyta llawn cymaint a phe baent yn cymeryd golafur rheolaidd yn yr awyr agored. Dweyd nad oes angen sylwi ar ymborth, sydd wallgofrwydd. Y mae yn *rhaid* i chwi sylwi arno yn fuan neu yn hwyr. Os ydych yn cymeryd golafur rheolaidd bob dydd yn yr awyr agored, gallwch fwyta mwy, a bod yn llai gofalus yn nghylch pa beth a fwytaoch; ond os na byddwch yn cymeryd ond ychydig o olafur, chwi a allwch fod yn sicr y dyoddefwch lawer, os na fwytewch yn gyfatebol i hyny. Nid fy nyben yw eich cynhyrfu i fod mor anfoddgar ag y gallwch, fel pe mai y prif bwnc fyddai dangos pa faint y gallwch flino eich hun ac ereill: ond fy nghais yw, ar fod i chwi sylwi pa faint o ymborth a hyrddiwch i'ch cylla deirgwaith, neu bedair, efallai, yn y dydd. Y dognedd sydd yn dinystrio yr efrydydd yn fwy na'r math; er mai gwirionedd diddadl yw, po symlaf fyddo'r bwyd, goraf oll ydyw. Os bydd yn dygwydd fod gormod o waith genych, neu fod yr hin yn eich rhwystro i gymeryd golafur allan, na fyddwch ry hael yn eich bwyta, er, efallai, yr hudir chwi yn gryf i hyny. Os dygwydd i chwi rywbryd ganlyn yr hudoliaeth, a chamu dros y terfyn mewn bwyta, y llwybr goraf i adferyd eich hun i iawn hwyl yw, *llwyr-ymattal* am ddiwrnod neu ddiwrnod a hanner. Trwy y moddion yma fe wagheir y cylla, ac fe adennilla y cyfansoddiad ei gyflwr cyntefig. Ac yn gyffredinol, fe wasanaetha hyn i chwi yn lle meddyginiaeth. Y mae y meddygon enwocaf gwedi cymeradwyo hyn bob amser. Yr oedd un dyn cyfoethog unwaith yn lled ddisylw o'i gylla, heb ofalu nemawr pa faint na pha beth a fwytäai, ond iddo fod yn ddigon danteithiol; o'r diwedd fe deimlai fod ei iechyd yn adfeilio yn gyflym. Aeth at yr enwog Dr. Spring, o America, i ymofyn meddyginiaeth. Wrth iddo adrodd arwyddion ei afiechyd, deallodd y meddyg dysgedig beth oedd natur ei anhwyldeb. "Mi a allaf eich gwella, syr," ebai efe, "os gwnewch fy nghynghor." Dywedodd y claf y gwnai yn sicr. "Wel yn àwr ynte," ebai y doethawr, "rhaid i chwi ladrata ceffyl." "Beth! lladrata ceffyl?" "Ie, lladrata ceffyl. Wedi hyny chwi a gewch eich dal, eich dyfarnu, a'ch gosod mewn sefyllfa ag y bydd eich bywoliaeth y fath ag y cewch adferiad cyflawn i'ch iechyd yn fuan."

II. *Byddwch yn rheolaidd yn eich ymborth.*—Y mae natur yn hoffi rheol. Hi a oddefa i chwi giniawa unrhyw awr y gwelwch yn dda, ac a gydffurfia â'ch dymuniadau bron yn mhob peth fel hyn, os byddwch yn rheolaidd. Y mae llawer yn niweidio eu cylla trwy yr arferiad plentynaidd o fwyta bob amser rhwng eu prydiau. A'r nos wedi hyny, y peth olaf bron a wnant fydd bwyta a llwytho y cylla wrth fyned i orphwys. Dywedodd Jefferson yn bur synwyrgall, "na edifarhaodd neb erioed am fwyta rhy fach." Y mae hyn yn wirionedd perffaith am fwyta rhwng prydiau, ac wrth fyned i'r gwely. Nid fy mwriad yw myned yn fanwl ar y pen yma. Ond chwi a allwch benderfynu, y caiff yr arferiad o lwytho y cylla, ddydd ar ol dydd, a nos ar ol nos, ei ad-dalu yn chwerw ryw bryd.

III. *Bydded eich bwyd yn syml.*—Nid oes neb o unrhyw alwedigaeth yn debyg o gyflawni dim byd teilwng ac enwog, os bydd yn gaethwas i'w flys. Dylai pob efrydydd yn benodol gilio yn mhell oddiwrth bob arferiad glythawg. Ni ddylai fod yn flysig at un math o fwyd penodol; ond dylai fod yr un mor ddifater at bob math. Ond heb i ni fanylu ar hyn, chwi a ddylech ei wneyd yn rheol, i fod mor syml ag y galloch yn eich bwyta.

Yr wyf yn hyderu na raid i mi sylwi nemawr ar ddiodydd meddwol; canys yr wyf yn credu nad oes neb sydd â chymaint o barch iddo ei hun ag a bair iddo ddarllen llyfr sydd wedi ei amcanu yn unig i wneyd daioni iddo, mewn angen am gynghor yn y pwnc yma. Y mae llawer math o ddynion dan fwy o ryw fath o hudoliaethau allanol yn y peth hyn nag efrydyddion: ond nid oes neb â hanner cymaint o hudoliaethau mewnol a hwy. Y mae rhyw suddiad ac iselder ysbryd yn cyfarfod yr efrydydd yn aml, ag sydd yn gwneyd ei awydd am ryw gymhellai neu gynhyrfiad yn anwrthwynebol bron; ac os boddheir y duedd trwy ddefnyddiad diodydd meddwol, yn fuan chwi a fyddwch mor llwyr yn nwylaw y gelyn, fel y mae yn debyg iawn na waredir byth mo honoch. Gadewch hwynt yn llonydd: na oddefwch i'r hudoliaeth am ddiodydd meddwol byth ddyfod i mewn i'ch ystafell, nac i gyffwrdd â'ch gwefusau. Y mae yn wir y gellid nodi

llawer o wŷr enwog a fuont yn mwythfoddio eu hunain efo y rhai hyn; ond fe fachludodd haul pob un o honynt bron dan gymylau duon, ac fe orwedda eu hysgrifau heb nemawr o ddarlleniad hyd nes annghofir yr awdwr beth bynag. Pe baech chwi ddim ond gallu cael gafael mewn cofrestr o holl efrydyddion ein gwlad am y blynyddoedd a aethant heibio, a nodi pa faint sydd gwedi marw, chwi a ryfeddech wrth y nifer a ddinystriwyd trwy ddiodydd meddwol. Chwi a allwch benderfynu na saif yr efrydydd hyny ddim yn enwog yn ei lwybr, fyddo yn arfer diodydd meddwol hyd yn nod yn achlysurol; ac un i fil na fydd o wedi ei nodi cyn hir mewn rhyw wârth a darostyngiad. Braidd na feddyliwyf fod sylwadau a chynghorion ar y fath bwnc yn sarhad ar fy narllenydd: er hyny goddefwch i mi sylwi, fod perygl yr efrydydd yn fawr iawn. Ac wrth ystyried holl ymarferion ac amgylchiadau yr efrydydd, ymddengys fod diodydd meddwol yn llawer mwy niweidiol iddo ef, nag i ddynion yn gyffredin.

Mi a gaf derfynu y bennod hon gydag ychydig o sylwadau ar DREFNIDEDD. Anfynych iawn y mae gwir efrydydd yn gyfoethog; ac eto, trwy lafur a threfnidedd *(economy)* parhaus, fe all ymgadw uwchlaw anghenion; ond yn gyffredin, rhaid iddo uno y ddwy rinwedd yma efo'u gilydd i gyrhaedd hyny. Y mae o bwys, gan hyny, iddo ddechreu mor fuan ag y gall gyda'r ymarferion tebycaf i'w sicrhau yn hyny. Gwirionedd sicr yw, nad all dynion yn gyffredin gyrhaedd cyfoeth, heb drefnidedd; ac, efallai, ei fod o mor wir, na fydd neb llafurus yn wir dylawd gyda threfnidedd.

Rhowch o i lawr fel gwirionedd, na wnaiff tylodi ddim niwaid i chwi fel efrydydd. Y mae miloedd gwedi eu dinystrio trwy gyfoeth; ond ychydig a niweidiwyd erioed trwy dylodi. Efallai i nodweddiad cawraidd ac uchel Johnson gael ei gryfhau lawer iawn trwy ei dylodi. Arferai ddweyd, fod Richard Savage ac yntau yn cydgerdded yn aml hyd bedwar ar gloch yn y bore i ymddyddan; ac erbyn myned i geisio rhyw adfywiant yn eu blinder, nad allent gasglu tros bedair ceiniog rhyngddynt. Fe gyfansoddodd Savage

ei ddarnau mwyaf gorchestol tra yn cerdded yn y caeau; ac wedi myned i ryw faelfa *(shop)* i ddeisyfu ysgrifbin, fe ysgrifenai ei gyfansoddiadau ar ddarnau o bapyr a heliai ar hyd yr heolydd. Nid ellir diffodd, trwy dylodi, y nwyd hòno sydd yn llosgi am wybodaeth mor angherddol yn mynwes y gwir efrydydd, mwy nag y gellir attal rhediad yr afon fawr lifeiriol trwy dori oddiwrthi y gornant fechan sydd yn rhedeg i lawr o'r mynydd. Mewn rhyw ystyr, y mae tylodi yn fwy o du yr efrydydd nag yn ei erbyn, ac y mae, o gymaint a hyny, yn fwy gobeithiol y gwelir ef yn sefyll yn uchel fel efrydydd: canys pwy nad yw yn hoffi gorchfygu pob rhwystr, er nad yw yn warth iddo, sydd yn sefyll o'i flaen? Y mae hyny yn dangos nerth meddwl a chyneddfau ddigon i ddyrchafu y nodweddiad i olwg y byd. Y mae y ddysgyblaeth sydd yn deilliaw o dylodi yn llymach yn aml nag y gall iaith ei darlunio; ond y meddwl a all ymgymeryd â'r iau, a thani gario yr holl feichiau cysylltedig âg efryd, yw yr un a gydnabyddir ac a berchir gan y byd mewn amser dyfodol. Edrychwch ar y dynion mwyaf eu dylanwad, ag ydynt yn addurn i'w gwlad. A gafodd llawer o honynt eu magu mewn llawnder? A gawsant hwy eu nerth ar welyau o flodau? Neu ynte, ai rhai gwedi cyrhaedd enwogrwydd trwy eu hymdrechiadau eu hunain, heb fawr o gynorthwyon o ran eu hamgylchiadau? Ni raid i'r efrydydd tylotaf yn y wlad ofni canlyniad yr ymchwiliad yma. Na fydded arnoch byth gywilydd i arddel eich bod yn dylawd, os na fydd hyny yn deilliaw o ryw gamymddygiad ynoch chwi. Fe sylwyd cyn hyn, "mai llygaid pobl ereill sydd yn costio cymaint i ni;" ac y mae hyny yn wir; canys tuag at ddenu y llygaid hyny, fe fydd rhai yn wastraffus, ac ereill yn od, yn eu hymddanghosiad. Nid oes neb yn uchel yn nghyfrif ereill, ag sydd yn myned tuhwnt i'w sefyllfa i addurno ei hun; a thra y dylai yr efrydydd amcanu ymddwyn yn mhob golygiad fel bonheddig, ni ddylai ymddiried ar ei wisg am ei nodweddiad, mwy nag y dylai boneddiges addurno ei gwyneb â lliwiau a doddir gan yr haul, neu a olchir ymaith gan y gwlaw.

Mor belled ag sydd yn ddichonadwy i chwi, *ymged-*

*wch rhag dyled.* Nid oes dim, oddieithr colli enw da, yn pwyso ar ysbryd yr efrydydd mor drwm a dyled. Heb son dim am deimlad annibynol mewn dyn, yr hyn nad all y dyledwr ei fwynhau mwy nag y gall "ffetan wâg sefyll yn syth," y mae rhyw ofid yn canlyn yr efrydydd dyledog, na wyr y masnachwr ddim byd am dano. Y mae yn aflonyddu y meddwl ddydd a nos; a rhaid fod gan y dyn hyny a all lwyddo yn ei efrydion tra yn suddo mewn dyled, ryw deimladau gwahanol i'r cyffredin, a rhaid ei fod wedi ei wneyd o ryw ddefnyddiau mwy sarug na'r rhan fwyaf o ddynion. Y mae pob ymdrech i ymwrthod â phob peth nad yw yn hanfodol angenrheidiol; ïe, ac hyd yn nod â rhai o angenrheidiau bywyd, yn llawer iawn ysgafnach na baich o ddyled. Na phrynwch ddim er mwyn ei fod yn rhad. Nid, A ydyw y peth yma yn rhad? a ddylai fod y cwestiwn: ond, A oes arnaf fi wir angen am dano? a allaf fi ddim myned yn mlaen hebddo? Am hyny, cedwch yn mhell oddiwrth y lleoedd y mae pethau rhad yn cael eu gwerthu. "Y sawl sydd yn prynu y peth nad oes arno ei angen, a fydd yn aml mewn angen o'r hyn nad all ei brynu." Ac yn wir na feddyliwch am brynu pob peth fo arnoch ei angen, neu bob peth a allai chwanegu at eich cysur. Rhaid i ni ymwadu â llawer o bethau, nid yn unig pethau er boddhau, ond hefyd pethau a ymddengys ar y cyntaf yn wir angenrheidiol.

Gochelwch wrth brynu llyfrau. Y mae yr hudoliaeth yn hynod o fawr yn hyny; ond chwi a ddylech ei wrthwynebu. Un rheswm am hyny yw, mai ychydig o lyfrau a wnant y tro, os gwneir iawn ddewisiad.* A rheswm arall yw, fod llyfrau yn dyfod yn rhatach y naill flwyddyn ar ol y llall. Chwi a allwch feddwl eich bod yn cael y gyfrol hon a'r gyfrol arall yn rhad; ond yn mhen ychydig o amser, chwi a welwch yn wahanol. Am hyny prynwch mor lleied o lyfrau ag a alloch yn bresenol. Y mae yn ddifyr darllen am yr

* Os rhuthra yr efrydydd ieuanc i brynu llyfrau yn ol ei dueddiadau ei hun, fe fydd yn sicr o edifarhau mewn amser dyfodol: i attal hyny, a'i gynorthwyo i brynu rhai gwir ddefnyddiol, ni a roddwn rifres o'r llyfrau goraf ar wahanol ganghenau dysg, yn Gymraeg, Saesonaeg, &c., mewn attodiad yn y diwedd.

enwog Cowper, fel yr oedd yn benthyca y rhan fwyaf o'r llyfrau a ddarllenodd, o herwydd ei fod yn rhy dylawd i'w prynu, ac nad allai oddef dyled.

Cofiwch eich bod yn awr yn ffurfio ymarferion am yr oes; a bydd eich cysur neu eich annghysur ar eich taith trwy y byd yn ymddibynu llawer iawn arnynt. Camgymeriad mawr yw dweyd fod diffyg trefnidedd yn nod o athrylith, a bod gwastraff ac afradlonedd yn anwahanol oddiwrth ragoroldeb meddyliol. Nid oes dim yn rhy isel i'ch sylw, a'ch cadwo yn rhydd oddiwrth bob pryder, ac a ryddhao y meddwl oddiwrth bob baich i deithio llwybrau dysg. Tra y dylid gwasgu at feddwl yr efrydydd, "nad all cyfoeth wneyd neb yn wir fawr, am nad ellir gwneyd dim yn fawr ag y mae gosodiadau natur gwedi bwriadu iddo fod yn fychan; y gellir gosod mieri mewn gwely gwrteithiol, ond na thyfant byth yn dderw;" eto, ar yr un pryd, dylid gwasgu hefyd, fod yn rhaid ei fod yn hynod o wastraffus o'i gyneddfau a'i alluoedd, os yw yn bwriadu dyfod yn enwog trwyddynt, pan y mae llawer o nerth y cyneddfau yma yn cael ei lyncu gan ofidion dyled. Ac am fod yn ddefnyddiol, y mae cymaint o ddarostyngiad mewn bod mewn dyled, fel nad allwch fod mor ddefnyddiol os bydd arnoch beth i rywun. Ond os bydd raid i chwi fod mewn dyled, ymdrechwch i'r gadwyn fod mor ysgafn ag y galloch, a cheisiwch am ryddid mor fuan ag y byddo modd.

Yn olaf, un o'r moddion goraf i'ch cadw rhag gwastraff, yw ystyried eich bod dan rwymau i Dduw am y cwbl a feddwch,—a bod yn rhaid i chwi roddi cyfrif iddo am eu hiawn neu eu cam-ddefnyddiad.

---

## PENNOD VIII.

GWNEYD POB PETH YN WASANAETHGAR I DDIWYLLIO Y GALON—DIWYLLIO A GOLEUO Y GYDWYBOD—HUDOLIAETHAU—Y DYMHER—GWELLA'R MEDDWL PAN YN UNIGOL—DARLLEN GAIR DUW—ADOLYGU YR YMDDYGIADAU—GWEDDI.

Yn y bennod hon yr wyf yn bwriadu dweyd ychydig ar ddysgyblaeth y galon.

Un o'r pethau blaenaf y dylech ei wneyd, os ydych am ffurfio nodweddiad a fydd yn gyfaill i chwi mewn llwyddiant ac aflwyddiant, mewn einioes ac yn angau, yw *cadarnhau y meddwl mewn egwyddorion sefydlog.*

Nid oes yr un yspaid o'r oes ag y mae y galon yn fwy tueddol i annghred ac anffyddiaeth nag mewn ieuenctid. Nid fy meddwl yw fod ieuaint yn anffyddwyr, ond bod y meddwl yn cael ei daflu o amheuaeth i amheuaeth, fel cwch bychan ar frig y tônau. Y mae yn wir nad yw y meddwl yn ymsefydlu mewn annuwiaeth, ond y mae y galon yn llawn o amheuaeth, fel nad all y meddwl ymgryfhau mewn un gwirionedd moesol na chrefyddol. Os ydych wedi taflu ymaith y rhwymau a ddygwyd arnoch trwy addysg, mor bell fel y gallwch ymhyfrydu mewn unrhyw bechod dirgelaidd a fyddai yn warthus pe gwybyddid o yn gyhoeddus, fe fydd yn hawdd iawn eich ennill yn anffyddiwr. "Magfa anffyddiaeth," ebai Cecil, "yw anianolrwydd a chnawdolrwydd. Y mae tuedd yn yr ieuaint i fod yn anianol. Y mae y Beibl yn sefyll ar eu ffordd. Y mae yn gwahardd anwesu 'chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd.' Ond y mae y meddwl ieuanc yn eu hoffi; gan hyny yn casâu y Beibl, yr hwn sydd yn eu gwahardd. Felly, y mae yn barod i ddweyd, 'Os gall rhyw ddyn ddwyn rhesymau yn erbyn y Beibl, myfi a fyddaf yn ddiolchgar iddo; ac onidê, mi a ddyfeisiaf rai fy hun.' Y gwir yw, nid oes dim pwys mewn rhesymau anffyddol. Y maent yn ddisylwedd ac yn wrthbrofedig oll. Nid ydynt yn foddhaol gan anffyddiaid eu hunain. Pa fath ddynion yw anffyddiaid? Dynion anfoesol a ffyrnig. Nid oes dim tuedd ynddynt i archwilio peth yn dêg a difrif. Y penboethiaid gwylltaf ar y ddaear ydynt. Ac nid ynt eto gwedi cyduno ar un math o gyfundraeth o wirionedd a dedwyddwch. Edrychwch ar gyfyngderau ac anghenion dyn. 'Y mae pob pang o ofid yn dweyd wrthym fod arnom angen am gynorthwywr; ond nid oes gan anffyddiaeth yr un i ni. A beth a all ei dyfais wneyd i chwi yn angau?' gofynwch i'ch cydwybod. Beth yw y rheswm eich bod yn gwrando ar anffyddiaeth? Ai nid llwybr isel, llygredig, a drwg yw anffyddiaeth? Ai nid arlun cywir o'r mab afradlon ydyw, 'Fy nhad, dyro i mi y rhan a ddygwydd o'r dâ?'

Pam, pam y bydd dyn yn anffyddiwr? Tynwch ddarluniad o lwybr anffyddiaeth, ac fe'ch arweinia cyn bo hir i leoedd na feddyliodd eich calon erioed ddim am danynt."

Dyma dystiolaeth un a fu yn teithio ar hyd llwybrau anffyddiaeth; dyu y buasai ei farn yn cael ei seinio trwy y byd, pe buasai yn para yn anffyddiwr; ond ni sylwir arno gan anffyddwyr er pan y daeth yn Gristion enwog. Yn awr, gofynaf i'm darllenydd, yn mhlith y cwbl a ŵyr efe am ddynion trwy hanes a sylwad, a all efe gofio am un meddwl gwir fawr a galluog—meddwl a fu yn fendithiol i'r byd mewn un modd, ac eto wedi ei lwyr lyncu gan egwyddorion anffyddol? Os darllenwch ysgrifau dynion o'r fath yma, yn gyffredin chwi a ryfeddwch wrth yr anfoesgarwch, twyll, plentynolrwydd, a gwendid, sydd yn ymddangos ynddynt. Fe ddywedodd un awdwr yn bur gywir, "nad ellir ymddiried i un meddwl mewn dim, os bydd wedi ei ŵyrdroi a'i gamarwain mewn rhyw brif bwnc." Ac a allwn ni ddweyd am ryw un, "Y mae yn wir nad yw y profion o wirionedd y grefydd Gristionogol, —prawfiadau a fu yn llawn bwysau yn nghlorianau y berniaid goraf, ac yn llawn-foddhaol i'r meddyliau mwyaf treiddgar, yn dderbyniol ganddo ef: y mae yn wir nad yw ei ddeall ef ddim wedi ei arwain i'r penderfyniadau ar y pwnc yma, a olygwn ni yn benderfyniadau angenrheidiol oddiwrth archwiliad cywir a diduedd; eto, mewn pethau ereill, yr oedd yn un manwl, treiddgar, a rhagorol!" Y mae athroniaeth, barddoniaeth, cerddoriaeth, a phob rhan o ddysg a llênyddiaeth yn gyffredin, yn cerdded law yn llaw yn ngoleuni Cristionogaeth. Y maent gwedi eu bwriadu i fod felly; ac nid ellir eu cael mewn un man arall dan y nefoedd. Y mae yn hollol annichonadwy i un dyn, yn nghanol yr holl oleuni yma, orchuddio ei feddwl mewn tywyllwch anffyddiaeth, a chael ei barchu, na bod â dylanwad yn mhlith dynion da. Y mae mor lleied o gyddeimlad rhwng meddwl anffyddiwr a meddyliau goleu y rhan Gristionogol o'r byd, fel, os yw yn dysgwyl bod â dylanwad ganddo ar ddynion, rhaid mai ar y rhai hyny ag ydynt gwedi gwneyd llongddrylliad ar eu cymeriad a'u gobaith, y rhai a wrandawant arno, am

ei fod yn cynyg y wawr olaf o obaith iddynt cyn y cânt eu hyrddu i dywyllwch eithaf, lle ni ddaw y llewyrch lleiaf byth i mewn.

Fy narllenydd, os ydych chwi yn un o'r rhai hyny ag sydd heb egwyddorion sefydlog mewn moesoldeb na chrefydd, mi a ddymunwn, er mwyn eich cysur a'ch defnyddioldeb, i chwi benderfynu y pwnc yn llwyr ac am byth. A ydyw Duw erioed wedi datguddio ei feddwl i ddyn? os yw, pa bryd a pha fodd? Dyma'r cwestiynau mwyaf pwysig a ofynwyd erioed. A dylent gael eu hateb a'u penderfynu, fel y gallo'r meddwl gael rhywbeth cadarn i ymorphwys arno,—mor gadarn nad all dim ei syflyd mewn amser dyfodol. Rhyw wyfynau bychain yn ymlusgo ar y ddaear ydym ni, ddynion, ar y goraf; a gwyfynau digon hunan-dybus hefyd. Ni a allwn ddinystrio llawer o bethau, nad allwn ni ddim eu hadeiladu. Ni a allwn dynu castell i lawr, pan nad allwn adeiladu bwthyn heb gymhorth. Po foreaf mewn dyddiau y sefydlwch eich egwyddorion, mwyaf sefydlog ac effeithiol fydd eich nodweddiad. Chwiliwch y Beibl yn fanwl, a phrofwch o fel profi aur mewn ffwrnais. Os amheuwch ei ysbrydolrwydd, ymosodwch ar y gorchwyl o'i chwilio yn dêg, a gyda thuedd ddidwyll i gael gwybod y gwirionedd: a bydded yr archwiliad mor drwyadl ag y galloch: ond wedi i chwi fyned trwy y gorchwyl, boed hyny unwaith am byth. Felly, fe fydd genych sylfaen i sefyll arni. Fe fydd genych faenprawf diŵyro, wrth ba un y gallwch reoli eich ymddygiadau, eich cydwybod, a'ch calon. Y llong sydd yn dal oraf yn ngwyneb yr ystorm, yw hòno sydd â'i hangor yn sicr, a'i hwyliau gwedi eu plygu yn nghyd, cyn i nerth yr ystorm ei dal. Ac ni raid i'r morwr, sydd yn rhwym i aros wrth y llyw trwy gydol y nos hir dywell, aros hyd nes delo y nos hòno, cyn iddo iawn drefnu ei gwmpawd. Y sawl a sefydlo ei egwyddorion crefyddol yn fore, nid oes ganddo wedi hyny ond dechreu yn ddioedi byw yn ol hyny a phara ato. Ni ŵyr efe ddim am y teimladau gofidus sydd yn nglŷn âg amymddiriad ac amheuaeth, pan y bydd raid iddo fyned yn aml at y gorchwyl o benderfynu rhyw egwyddor. Fe argyhoeddir pob un o wirionedd hyn a ddarlleno yn

ofalus ddeg penderfyniad a thriugain y Parch. Jonathan Edwards, y cwbl o ba rai a wnaed cyn ei fod yn un-ar-hugain oed, a'r rhai mwyaf pwysig cyn ei fod yn bedair-ar-bymtheg. Nid allai yr un dyn ffurfio y fath benderfyniadau yn ieuanc, a byw yn eu hol hwynt wedi hyny, heb ddyfod yn fawr ac yn effeithiol. Nis gallaf yn iawn fyned heibio heb nodi rhai fel anghraifft.

"1. Penderfyniad, y gwnaf beth bynag a farnwyf yn fwyaf er gogoniant i Dduw, ac er fy lles a'm dedwyddwch fy hun, nid gyda golwg ar y byd hwn yn unig, ond tra y parhao fy modoliaeth, pa un bynag a olygir yr amser presenol, neu ynte yn mhen myrddiynau dirif o oesoedd. Penderfyniad, i wneyd pa beth bynag a feddyliwyf fyddo yn ddyledswydd arnaf, ac yn tueddu fwyaf at ddaioni a lles dynolryw yn gyffredin. Penderfyniad, i wneyd felly, yn ngwyneb pob gwrthwynebiad, pa mor aml neu gryf bynag y byddont.

"4. Penderfyniad, i beidio byth â gwneyd, na goddef, un math o beth, mewn enaid na chorff, ond yr hyn a dueddo i fod yn ogoniant i Dduw, os gallaf beidio mewn un modd.

"5. Penderfyniad, i beidio â cholli un mynyd o amser, ond ei ddefnyddio yn y dull mwyaf buddiol ag y gallaf.

"6. Penderfyniad, i fyw â'm holl allu, tra byddaf byw.

"7. Penderfyniad, i beidio byth â gwneyd dim a fyddai arnaf ofn ei wneyd yn awr olaf fy mywyd.

"20. Penderfyniad, i arfer y cymedroldeb mwyaf mewn bwyta ac yfed.

"21. Penderfyniad, i beidio byth â gwneyd dim a gyfrifwn yn achos teilwng o ddiystyru neu feddwl yn fach am arall o herwydd ei wneyd.

"34. Penderfyniad, wrth adrodd hanes, i beidio â dweyd dim ond y gwirionedd pur.

"46. Penderfyniad, i beidio byth â goddef y graddau lleiaf o ddrygnaws neu anfoddlonrwydd tuag at fy nhad na fy mam. Penderfyniad, i beidio â goddef dim o'u heffeithiau yn fy ymadroddion na'm golygon; ac i wylio yn ofalus rhag gwneyd yr unrhyw â neb o'r teulu."

Y mae yr holl benderfyniadau yn dra theilwng o ddarlleniad ac efelychiad pob dyn ieuanc.

Y mae llawer o ddynion ieuainc yn meddwl fod rhywbeth yn niwylliad y galon, ac yn iau crefydd, yn tueddu i iselu a chrebachu yr enaid; ac y gwneid y meddwl sydd yn fawr a galluog wrth natur, yn wael a dinerth wrth ymostwng i reolau moesol. Ond nid yw hyn ond rhagfarn yn hollol. Ewch i unrhyw lyfrgell dda, ac edrychwch yno pwy sydd wedi ysgrifenu gweithiau anfarwol, ac a barhant i effeithio ar feddyliau dynion o oes i oes tra parhao y ddaear. Bron yn mhob anghraifft, Cristionogion sydd gwedi cynyrchu y cyfrolau sydd yn gyfredol âg oesau y ddaear. Y mae y meddyliau mwyaf goruchel, y cyneddfau mwyaf diwylliedig, a'r barnau mwyaf sad, a fu erioed ar y ddaear, gwedi bod yn plygu gerbron allor y Duw anfeidrol, ac wedi eu bywiocâu a'u nerthu â'r dyfroedd sydd yn rhedeg o'i fynydd santaidd ef: a phe baem yn dyrchafu oddiwrth ddyn at y dosparth ardderchog hyny o greaduriaid sydd yn sefyll yn ngwyddfod y Tragwyddol, ni a gaem eu gweled, ar ol llawenychu uwchben creadigaeth y byd hwn pan y cydganodd ser y bore; ac ar ol dal sylw ar ragluniaeth Duw yn dyrchafu ac yn darostwng teyrnasoedd; ac wedi bod yn canlyn ac yn gwylied y duwiol yn eu holl drafferthion ar y ddaear,—ni a gaem eu gweled yn efrydu yr efengyl, a thrwy hyny yn eangu eu hamgyffredion a'u cyrhaeddiadau am y Doethineb Anfeidrol, ac yn para i chwennychu edrych iddynt. A ydyw y drychfeddwl godidog am ledneisrwydd yr "efrydyddion angylaidd" hyn, ddim yn ddigon i geryddu anwybodaeth, tywyllwch, a balchder anfad y rhai hyny sydd yn meddwl y byddai yn ddarostyngiad iddynt ymostwng i efengyl Crist? Y mae yr angylion yn edrych yn feunyddiol i ddirgelwch yr efengyl; ac y maent yn gyd-efrydyddion â'r rhai sydd yn ei myfyrio.

Wrth ddysgyblu y galon yr wyf yn golygu, ei dwyn yn ddarostyngedig i ewyllys Duw, fel y galloch ei ogoneddu ef yn y modd goraf, a gwneyd mwyaf er dedwyddwch dynion. Mi a nodaf rai ffyrdd trwy ba rai y gallir dysgyblu y galon, a diwyllio y teimladau moesol.

I. *Ymdrechwch yn uniongyrchiol bob amser i wneyd pob peth yn wasanaethgar i ddiwyllio y galon.*—Yr ydym mewn perygl i gydnabod pwysfawrogrwydd y pwnc yma, ac eto ei adael o'r neilldu hyd ryw amser mwy cyfleus. Yr ydych yn tybied nad yw eich amgylchiadau presenol yn fanteisiol. Y mae anhawsderau yn awr, am hyny yr ydych yn edrych yn mlaen at amser pan y bydd pethau yn well. Ni fydd eich efrydion yn cymeryd cymaint o'ch amser; hwy a ddont yn llawer hawddach; ac fe fydd genych gyfleusderau nad ynt genych yn bresenol. Ond pan yr ewch oddiyma; neu pan yr ewch i efrydu rhyw beth arall; neu pan ddaw yr amser o'r flwyddyn yn fwy manteisiol; neu ynte pan y cewch gyfaill newydd, yna chwi a ddechreuwch gymeryd gofal am y galon, ac ymwneyd â Duw. O! fy nghyfaill, yr ydych yn camfarnu yn mhell. Y mae pob peth, a phob dygwyddiad yn ein hamgylchiadau, wedi cael ei fwriadu gan y Doethineb Anfeidrol yn rhan o'n dysgyblaeth foesol: ac y mae Ef, yr hwn sydd yn sylwi ar ddisgyniad aderyn y tô, ac yn ei arwain at y gronyn ymborth, yn cyfarwyddo hefyd bob peth yn eich amgylchiadau chwithau, ac yn dysgwyl i'r cwbl gydweithredu er eich gwelliant moesol. Nid oes yr un hudoliaeth yn eich cyfarfod, yr un gofid yn eich blino, nac yr un trallod yn eich gwasgu, heb ei fod i wneyd daioni i chwi. Nac anturiwch ddweyd fod y llwybr i ba un yr arweiniodd eich Tad nefol chwi, yn wahanol i'r hwn a ddewisech chwi eich hunan, ac am hyny eich bod yn esgusodol am beidio â gwneyd ei ewyllys. Nid oes yr un egwyddor y gweithredir oddiarni yn werth dim, os na bydd yn arwain yn feunyddiol i ofalu am y galon. Yr wyf wedi sylwi eisioes ar yr anhawsder o ddarostwng y meddwl yn y fath fodd ag i wneyd efryd yn beth hawdd. Chwi a brofwch hefyd nad yw darostwng y galon ddim yn llawer hawddach. Y mae pob coleddiad ar bechod, a phob esgeulusiad o ddyledswydd, yn cryfhau y tueddiadau a'r ymarferion o wneyd drwg a myned ar gyfeiliorn.

Pe byddai i ragluniaeth ddwyfol dori i lawr eich cyfaill penaf, diau y teimlech ei fod o'n ddyledswydd arnoch ddefnyddio yr amgylchiad i fod er lles a gwell-

iant moesol i chwi. Ond a ydyw yn beth doeth ac uniawn i aros am hyny? i geisio annog Duw i ddwyn trallodau arnoch fel hyn? Y mae pob peth sydd yn eich cyfarfod yn galw arnoch i'w ddefnyddio er eich lles; a phwy bynag nad yw yn gwneyd diwyllio ei galon yn rhan o'i waith dyddiol, y mae mewn perygl neillduol o esgeuluso hyny am byth. Nid peth i'w wneyd ar unwaith ydyw. Nid mewn diwrnod y gellir adeiladu nodweddiad rhinweddol a santaidd; gwaith oes ydyw. Am hyny, dechreuwch ar y gorchwyl gyda phob brys; a gwnewch o yn gymaint rhan o'ch gwaith dyddiol i ddiwyllio y galon, ag ydyw gofalu am y corff, neu ddiwyllio y meddwl.

II. *Gwnewch o yn rhan o'ch gwaith dyddiol i ddiwyllio a goleuo eich cydwybod.*—Nid aeth neb erioed yn feddwyn neu yn dyngwr ar unwaith. Nid aeth neb yn enwog mewn drwg ar un cam. I ddechreu, y mae y llanc yn clywed y rheg, ac yn ei hoffi; a phan y cynygia at hyny ei hunan, nis gall lai na gwrido y tro cyntaf; ond fe â yn mlaen gam ar ol cam, nes o'r diwedd y mae yn gallu bytheirio cableddau a llwon yn ddigon digywilydd. Felly y mae gyda phob pechod. Fel hyn y mae y gydwybod yn cael ei phylu, a'r galon ei chaledu. Yn yr un modd hefyd y mae yn rhaid adnewyddu y gydwybod, a'i dwyn i deimlo pethau dwyfol. Pe na baech yn amcanu at ddim ond rhyw nôd, yn unig er mwyn eich symbylu yn mlaen gyda'ch efrydu, heb ofalu dim am eich gwelliant moesol, mi a'ch cynghorwn yn y modd taeraf, ar y tir hyny yn unig, i ddiwyllio eich cydwybod gyda'r manylrwydd mwyaf. Mi a ddywedaf pam:

Nid oes ond ychydig o ddynion a allant gynhyrfu eu cyneddfau i weithio yn fywiog oddiar ddybenion neu amgylchiadau perthynol i'r byd hwn yn unig. Nid all cyfoeth eu dobrwyo *(bribe)* i ymdrechion diorphwys; ac er y dichon i uchelgais ymaflyd yn yr enaid â llaw haiarnaidd, eto, nid all gyda chrafanc ddigon nerthol i'w gadw mewn gweithrediad cyffredinol: nid all difyrwch, trwy ei sibrwd tyner, wneyd dim tuag at daflu ymaith fusgrellni dyn; ac er i glod seinio yn ei udgorn arianaidd, ni fydd hyny yn ddigon. Nid all y rhai hyn gyrhaedd ond ychydig. Ond y mae cyd-

wybod yn beth a gyrhaedda bawb; ac fe ellir ei diwyllio, nes y cynhyrfa pob cyneddf a gallu yn yr enaid i weithrediad bywiog a pharhaus. Y mae pob cymhelliad arall, pan y chwilir o yn fanwl, yn rhy wan, isel, a dirmygus, ac yn un a ddiystyrech pe gwelech yn gweithredu mewn ereill. Y mae ar yr enaid gywilydd addef ei fod yn gaethwas i ddim ond cydwybod. Ond nid hyn yw y cwbl; y mae pob peth arall yn colli ei allu yn fuan. Y mae profedigaethau, anffodiau, a siomedigaethau, yn digaloni ac yn lladd pob grym arall. Ond nid felly y mae gyda'r dyn sydd yn gweithredu oddiar gydwybod gwedi ei goleuo. Nid ellir ei lwfrhau a'i rwystro ef ond trwy ddwyn ei fywyd. Cauwch ef mewn carchar, ac fe gynhyrfa ei gydwybod ef i gyflawni pethau na feddyliodd am danynt o'r blaen. Fe gynhesai muriau oerion daeardy yr hen Funyan, tra yr olrheiniai Daith y Pererin i fyny i dragwyddol ddydd.

Pe yr argreffid yn ddwys a pharhaus ar y meddwl, ein bod yn gyfrifol i Dduw am y cwbl a wnawn, fe fyddai ein cynydd a'n llwyddiant bron yn anfesurol. Cysylltwch ofynion anfesurol tragwyddoldeb â phob ymdrech i orchfygu pechod, ac i ddarostwng eich blys a'ch nwydau; ac felly chwi a gymhwyswch eich enaid a'ch corff yn fwy i wneyd daioni. Cysylltwch hwynt â phob penderfyniad teilwng, ac â phob ymdrech, pa un bynag fyddai ai am oes ai am fynyd, ac nid ychydig fydd yr hyn a gyflawnwch; nid ewch trwy hyn o fyd heb eich adwaen a'ch teimlo, ac nid ewch i lawr i'r bedd heb wylo am danoch. Y mae pob tuedd ansantaidd a orchfygwch—pob tybiant a drysorwch i'w ddefnyddio mewn amser dyfodol—pob meidyn a afaelwch ynddo, ac a argraffwch â rhywbeth daionus cyn y cymer ei ehediad at orsedd barn—a phob dylanwad a wnewch ar y byd, er gogoniant Duw neu ddaioni dyn; y mae y cwbl, nid yn unig yn gysylltedig â chymeradwyaeth Duw, a gwobrwyon y byd tragwyddol, ond y mae y cwbl yn gynorthwy i chwi i gyflawni gorchestion rhagorach a mwy goruchel, nes o'r diwedd y galluogir chwi i wneyd gorchestion fydd yn syndod i chwi eich hunan. Myfyriwch yn aml ar yr holl ddynion enwog hyny a fuont byw ac a ymddygasant yn

barhaus dan gyfarwyddyd a dylanwad cydwybod gwedi ei goleuo gan air Duw. Ewch, a sefwch uwchben bedd un o'r dynion hyn; a chwi a gewch achos i fyned ymaith dan synu a rhyfeddu wrth feddwl ei fod wedi cyflawni ei waith, a hyny mor gynar, ac iddo fyned adref i orphwys yn moreuddydd ei fywyd, tra yr ydych chwi heb wneyd nemawr o ddim. Pe na bae genyf yr un dyben ond yn unig eich cynhyrfu i anturiaethau goruchel a chanmoladwy, ac i gyflawni gorchestion tra y byddwch byw, y cymhellai a ddewiswn i hyny fel yn rhagori yn annhraethol ar bob peth arall, yw cydwybod gwedi ei diwyllio a'i santeiddio.

Y mae llwybr bywyd wedi ei amgylchu âg hudoliaethau. Rhaid i ni eu cyfarfod bob dydd: nid allwn fyned o'r neilldu, ac nid allwn fyned heibio iddynt, heb iddynt ymdrechu ein dal; ac nid oes dim a'n dyg heibio yn ddiniwaid, ond cydwybod dyner. Er anghraifft: fe'ch hudir ar achlysuron bob wythnos, ac efallai bob dydd, i segura a difrodi eich amser. Nid oes dim yn ddigon nerthol i'ch cynhyrfu i ymaflyd yn eich gwaith. Y mae y darnau amser yma gwedi eu gwasgaru yn dryfrith ar hyd eich llwybr. Ac nid oes dim ond cydwybod gwedi ei goleuo, a wna i chwi ei defnyddio: fe wna hyny. Ond nid ellir ei diwyllio i fyw dan ei dylanwad, os bydd musgrellni wedi eich dal, ac yn eich llywodraethu. Na, y mae yn rhaid i hyn gymeryd lle cyn hyny.

Fe'ch denir yn aml i ddefnyddio eich tafod yn gleddyf i archolli. Fe allai y bydd y cymdaith yn bur rhydd yn eu sylwadau ar bersonau absenol. Ac fe fydd cyfleusderau yn dygwydd y gallwch chwithau daflu gair neu ddau gydag effaith mawr. Ac hefyd, chwi a ennillwch enw am eich craffder wrth farnu nodweddiad dynion, ac am eich gwybodaeth ddofn o'r natur ddynol. Ni fydd ystyriaeth o garedigrwydd, neu hyfoesedd, na theimlad o gyfiawnder, yn ddigon i'ch cadw yn ngwyneb yr hudoliaeth ar lwybr eich dyledswydd: nid oes dim a'i gwna, ond cydwybod dyner.

Yn ystod eich bywyd chwi a fyddwch dan rwymau i ymwneyd â dynion mewn ffordd o fasnach, i raddau mwy neu lai. Ac fe allai eich bod yn llwyr fwriadu

ymddwyn yn gyfiawn ac anrhydeddus; ond fe'ch hudir yn gryf, ar achlysuron o leiaf, i iselu y peth a brynoch, a dyrchafu yn ormodol yr hyn a werthoch, ac felly wneyd âg ereill yr hyn na ddymunech i ereill wneyd â chwi, os na fyddwch dan lywodraeth cydwybod dyner a bywiog.

Chwi a wyddoch pa faint yr ydym yn gwerthfawrogi ein nodweddiad yn ngolwg dynion. Y mae llawer a gwerylant ac a ymladdant am dano; ïe, dewisant golli eu bywyd fil o weithiau, cyn colli eu nodweddiad gerbron dynion: ac y mae cariad at nodweddiad yn beth canmoladwy. Ond beth yw cael ein barnu gan ddynion mewn cymhariaeth i gael ein barnu gan Dduw? Pa bwys ydyw pa beth a feddylia neu a ddyweda dynion am danom, mewn cymhariaeth i'r hyn y mae Duw yn ei feddwl? Pwy, a'r sydd yn credu fod Duw yn gyfiawn, a bod yr enaid yn anfarwol, na ddewisai gael Duw o'i du, yn hytrach na chael yr holl greadigaeth hebddo? Ond nid allwch byth ennill ei nawdd a'i gymeradwyaeth Ef; ac nid allwch ei gael yn gyfaill i chwi, yn niffyg fod eich calon yn feunyddiol dan lywodraeth a chyfarwyddyd cydwybod ddiwylliedig a goleu.

III. *Gochelwch hudoliaethau.*—Doethineb neillduol mewn creaduriaid mor wael a ni, ydyw, nid yn unig ymdrechu gorchfygu pob pechod a'n cyferfydd, ond hefyd cilio o'i ffordd hyd y mae ynom. Beth pe baech ar daith, a rhyw neges bwysig eisiau ei gwneyd, a bod perygl ar y ffordd rhag gelynion; oni fyddai mor resymol i chwi fod ar eich gwyliadwriaeth i gilio o'r ffordd rhag myned i'w gwyneb, ag a fyddai i chwi ymdrechu eu gorchfygu neu ddianc, wedi syrthio i'w plith? Y mae rhywbeth hynod o foddhaol yn nuwioldeb syml Richard Baxter, pan yr adrodda y fendith a gafodd wrth fethu â chael lle yn y llys yn moreuddydd ei oes. Yr ydym oll yn credu yn ngorchwyliad rhagluniaeth; ac ni a wyddom i rai o'r dynion goraf a fu erioed ar y ddaear, nid yn unig gael eu hattal megys rhag meddiannu cyfoeth, swyddau, ac anrhydedd, ond hefyd eu gwneyd yn wrthddrychau i ddyoddef gwawd a dirmyg eu cyd-ddynion.

Ymddengys fod rhyw bechodau yn barod i amgylchu

pob dyn; ac y mae rhyw hudoliaethau penodol yn barod i ddenu pob dyn: ac felly, chwi a syrthiwch i rai yn llawer hawddach nag i ereill. Fe gyferfydd rhai â chwi mewn un man, ac ereill mewn man arall; rhai mewn un agwedd, ac ereill mewn agwedd arall. Y mae o bwys, tuag at eich gwelliant mewn nodweddiad moesol, i chwi wybod yn mha leoedd penodol y byddwch debycaf o gael ymosod arnoch; ac yn ngwyneb y cyfryw leoedd, bod yn wyliadwrus ac yn arfog.

Y mae rhai personau nad allwch gymdeithasu gymaint ag un awr â hwynt, heb glywed rhyw ymadroddion, a derbyn argraffiadau, a dueddant yn fawr i wanychu pob teimlad boneddigaidd, ac i leihau purdeb y galon. Fe allai y bydd eu cymdaith yn serchus ac yn ddenol mewn llawer golygiad; eto i gyd, fe fydd yno wenwyn yn treiddio bron yn anwybodus, a ddifa yn raddol bob teimlad moesol. Yr ydych yn hoffi cerdded efo rhai o honynt; yn hoffi ymweled â hwy; ac yn hoffi gwneyd daioni iddynt. Fe allai y gwnewch: ar eich ochr chwi y mae y perygl. Fe allai na frawychir mo honoch ar y cyntaf wrth y dylanwad a dderbynia yr enaid, a'r teimlad yr arweinir y galon iddo, er mai eu terfyn yw marwolaeth foesol. Pa fodd y dysgwyliwch gryfhau eich ymarferion moesol, a gwella eich nodweddiad, os ymroddwch i hudoliaethau ymddyddanion a font yn marweiddio y teimladau moesol? Dyma un hudoliaeth amlwg; ac nid y llwybr i gynyddu mewn purdeb calon yw myned i'r fath gymdaith, ac yno geisio taflu rhyw ychydig o cleuni moesol, a myned i ffwrdd eilwaith dan ofidio uwchben y colliadau yr hudwyd chwi iddynt; ond y ffordd yw cadw yn mhell o'r brofedigaeth a'r perygl, llwyrymwrthod â phob cymdaith a fyddo yn effeithio yn groes i ddysgyblaeth y galon.

Yn awr gclygwch eich bod yn amcanu gwella eich hun mewn rhinwedd a daioni moesol, ac eto, yn awr a phryd arall, yn ymarfer â darllen rhyw lyfr drwg. Ymddengys i'r llyfr ddyfod i'ch dwylaw yn ddamweiniol. Nid ydych yn ei ddarllen yn aml, efallai, ond weithiau; ac fe allai mai nid chwychwi yw ei berchenog, ond y mae ei feddiannydd yn cynyg ei

fenthyg i chwi. Dyma hudoliaeth a magl wedi ei thaflyd o'ch blaen. Efallai na chewch chwi byth gyfleusdra i'w fyfyrio ar ol hyn; ac a ddylech chwi ddim gwybod beth y mae llyfrau o'r fath yn eu cynwys, fel y galloch rybyddio ereill rhagddynt? Yr wyf yn ateb, Gochelwch, ac na roddwch i fyny i'r hudoliaeth. Efallai y bydd rhoddi i fyny unwaith i'r hudoliaeth yn ddinystr bythol i chwi; ac os na fydd felly, fe fydd yn sicr o gymeryd amser maith cyn y gallwch ymwellhau o'r niwaid mawr a wnaed i chwi yn y tro. Fe ddylid cilio yn mhell oddiwrth beryglon: os unwaith y gwelwch yr aderyn yn syllu ar y sarff, fe ddechreua droi o amgylch dro ar ol tro, ac ar bob troad yn disgyn yn nês nês, nes o'r diwedd y disgyna yn safn y dinystrydd. Y mae genych chwi eich ffaeleddau, fel y gelwir hwynt yn gyffredin. Trwy iawn ystyriaeth ac ymchwil, chwi a ddeuwch i'w hadwaen; os byddwch yn methu â'u chwilio allan, gofynwch i'ch cymydog neu i'ch cyfaill, ac fe noda ef amrai na feddyliasoch chwi ddim eu bod yn perthyn i chwi. Yn awr, beth yw y ffaeleddau yma, ond y lleoedd lle yr ydych yn rhoddi i fyny yn feunyddiol i hudoliaethau? A pha fodd y dysgwyliwch ymwellhau oddiwrthynt, oddieithr trwy eu gochelyd? Er anghraifft, bwriwch eich bod yn naturiol o dymher hyf, frysgar, a phrysur. Arweiniai chwi i wneyd sylwadau rhy fyrbwyll, ac i gyflawni pethau na fyddai yn iawn. Oni ddylech chwi wylio rhag pob hudoliaeth i hyny? Os yw Pedr yn frysgar yn naturiol, ac mewn perygl o daro at ben y cyntaf a gyferfydd, a ddylai ef ddim gadael ei gleddyf ar ol? Efallai eich bod o'r fath dymher ag y bydd i bob cymdaith gynhyrfu eich ysbryd, ac y gellir codi eich teimladau mor hawdd fel ag i golli y llywodraeth arnoch eich hunan ar y pryd hyny, a syrthio i iselder mor ddwfn ar ol hyny. Yn y fath amgylchiad, a ydych chwi yn ddoeth wrth fyned i'r brofedigaeth? A ddylai dyn poethwyllt, a fo'n hawdd ei gynhyrfu i dymher, fyned i amgylchiadau y bydd yn sicr o gael ei hudo i ddigter? Beth bynag fyddo'ch gwendid, neu yn mha le bynag yr ydych yn debycaf o gwympo, gwyliwch, a chiliwch rhagddo. Yr oeddwn unwaith yn adwaen dyn ieuanc rhagorol, yr hwn oedd wedi

meithrin chwant at ddiodydd meddwol yn fore iawn, ac yr oedd bron wedi myned yn anobeithiol. Ond o'r diwedd fe gafodd fuddugoliaeth arno ei hun. Mewn ymddyddan a fu rhyngof fi ac ef am y peth, dywedodd wrthyf, fod ei flys mor gryf, fel yr oedd golwg ar y gwallofydd *(decanter)* yn flinder iddo hyd yn nod y pryd hyny; ac hefyd, pa bryd bynag y clywai y ddiod yn rhedeg o'r faril mewn unrhyw faelfa, ei fod yn rhedeg allan yn ddioedi, pa un bynag a fyddai gwedi gwneyd ei neges ai peidio. Ei unig lwybr i fod yn ddiogel oedd ffoi. Felly y mae gyda phob hudoliaeth. Y ffordd oraf i orchfygu pechod, yw cilio rhagddo. Y mae y sawl sydd yn cellwair â'r hudoliaeth, dan ei gallu eisioes. Y mae y llew yn aml yn gadael i'w ysglyfaeth byw ymsymud, a chwareu âg ef, cyn iddo ei ddryllio.

IV. *Gwyliwch ar eich tymher.*—Y mae llawer wedi ei ddweyd ar dueddiadau a thymherau dynion; ac os bydd gan rywun dymher gâs ac anhyfryd, y rheswm a roddir dros hyny yw, mai felly y mae yn naturiol. Peth hyfryd iawn yw rhoddi cymaint o fai ag a allom ar natur; ond dyna'r gwaethaf, nad yw hyny yn gorwedd yn dda wedi hyny. Nid oes neb yn meddiannu tymher mor dda wrth natur, nad oes angen sylwi arni a'i diwyllio; ac nid oes neb â thymher mor ddrwg, fel nad ellir ei gwneyd yn fwyn a boddus, trwy lafur ac ymdrech priodol.

Un o'r tymherau a'r ddysgyblaeth oraf arni a welwyd erioed, oedd eiddo rhyw fonheddig ag ydoedd yn wyllt, digofus, a ffyrnig wrth natur; ond trwy gymeryd gofal cleifion o amryw fath, fe orchfygodd ei hun mor llwyr, fel na welwyd ef byth allan o hwyl. Y mae gwahaniaeth mawr yn y dedwyddwch a fwynheir neu a gyfranir gan y dyn a fo yn gwylied ar ei dymher, ragor y dyn nad yw. Nid oes un trueni mor barhaus, mor flin, ac mor annyoddefol i ereill, ag ydyw tymher a fo yn eich meistroli, a phob amser yn gythruddol. Y mae digon o gorneli yn holl droadau bywyd, i ni redeg yn eu herbyn, a thori allan mewn byrbwylldra a nwyd, os byddwn yn ewyllysio.

Nid all neb ddychymygu y daioni sydd yn deilliaw o wyliadwriaeth a diwylliant parhaus ar y dymher a'r

galon, nes gwneyd prawf: nid y byddys yn sicr o ddiwyllio y teimladau moesol wrth ddarostwng y dymher; ond y mae yn sicr hefyd na wnewch chwi mo hyny os na bydd wedi ei darostwng. Ychydig erioed a fu â thymher naturiol fwy aflywodraethus na Roger Sherman; er, pan yn ddeugain oed, y cyfeirid ato fel un o'r dynion mwyaf hawddgar. Fe lwyr feistrolodd ei dymher, ac a wnaeth ei diwylliant yn un o brif ddybenion bywyd. Y mae amryw o anghreifftiau a ddengys ei nodweddiad yn hyn yn nodedig. Nis gallaf lai nag adrodd un o honynt wrth fyned heibio. Un bore, fel arferol, wedi iddo ef a'r teulu ymgasglu yn nghyd i gadw y dyledswyddau crefyddol, fe eisteddodd Mr. Sherman yn ei le penodol, ac a osododd un o'i blant i eistedd yn ei ymyl; plentyn bychan—plentyn ei hen ddyddiau; a'r rhan arall o'i deulu yn eistedd oddiamgylch i'r ystafell. Heblaw ei deulu ei hun, yr oedd amryw o athrawon yr athrofa yn lletya yn ei dŷ, ac yn bresenol ar yr achlysur. Yr oedd ei fam hen a methiantus yn un cornel o'r ystafell, yn gyferbyn âg ynad anrhydeddus Connecticut. Yn y man, fe agorodd Mr. Sherman y Beibl ac a ddechreuodd ddarllen. Fe ddechreuodd y plentyn bychan oedd yn ei ymyl wneyd ychydig o aflonyddwch; ar hyny, fe safodd Mr. Sherman, ac a ddywedodd wrtho am fod yn llonydd. Fe ddechreuodd eilwaith; ond a safodd wedi hyny i geryddu yr aflonyddwr bychan, yr hwn oedd yn methu â bod yn llonydd o herwydd ei duedd chwareugar. Fe roddodd ffat ysgafn ar ei glust. Fe welodd ei hen fam yr ergyd, os gellir ei alw felly, a chydag ymdrech hi a gododd, ac a ymlusgodd ar draws yr ystafell. Wedi cyrhaedd cadair Mr. Sherman, hi a gyfododd ei dwrn, ac, yn hollol annysgwyliadwy iddo ef, a'i tarawodd ar ei glust â'i holl nerth. '*Dyna,*' ebai hi, '*chwi a darawsoch eich plentyn, a tharawaf finau fy un inau.*' Am feidyn, fe welid y gwaed yn rhuthro i wyneb Mr. Sherman, ond ni pharhaodd ond megys am feidyn, ac yn ddioedi yr oedd pob peth yn dawel fel arferol. Fe safodd—fe gododd ei ddrychau—fe daflodd ei olwg ar ei fam—ac a ddisgynodd eilwaith ar y Beibl. Nid ynganodd gymaint a gair; ond aeth yn mlaen eilwaith gyda'r addoliad mewn cyflawn dawelwch: yn y cwbl,

rhoddodd anghraifft deilwng i bawb ei hefelychu. Yr oedd buddugoliaeth o'r fath yma yn llawer gwerthfawrocach nag un fuddugoliaeth a ennillwyd erioed ar faes y gwaed.

Yn awr, golygwch eich bod yn niwedd y dydd, wrth edrych yn ol ar yr hyn a wnaethoch ac a ddywedasoch, yn canfod yn un man i chwi ateb rhyw gyfaill yn sur ac anhywedd; mewn man arall, i chwi enllibio un absenol; ac yn y trydydd lle, i chwi gael eich cynhyrfu a'ch blino trwy ryw ddygwyddiad dibwys; er, efallai, i chwi gadw hyny i chwi eich hunan, a theimlo cnoadau tymher ddrwg heb fradychu eich teimladau yn ddim pellach nag yr oedd eich gwedd yn eich dangos. A allwch chwi edrych yn ol ar y cyfryw ddydd gyda chysur? A allwch chwi deimlo eich bod yn cynyddu mewn hunan-lywodraeth, fel ag i allu edrych arnoch eich hunan gydag hyfrydwch a pharch? Os fel hyn y parhewch o ddydd i ddydd, ac o wythnos i wythnos, a allwch chwi ddysgwyl y darostyngir eich calon fwy fwy dan eich llywodraeth? Chwi a allwch fod yn sicr nad all neb sydd yn cymeryd ei reoli gan ei dymherau i'r fath raddau y dydd, fel y bydd raid iddo geryddu ei hun y nos am hyny, byth gyrhaedd rhagoroldeb moesol.

Na ddigalonwch wrth geisio gwellhau tymher afrywiog a drwg, er i chwi fethu ar y cyntaf. Fe fydd llwyddiant, yn y peth yma, yn sicr o ganlyn ymdrech. Un nôd o ddyn mawr, yn gystal ag o ddyn da, yw fod ganddo lywodraeth ar ei dymher. Fe heriwyd Syr Walter Raleigh unwaith gan ryw ddyn ieuanc penboeth; ac o herwydd iddo dderbyn y sarhad a gwrthod ymladd mewn claiarineb digyffelyb, fe ymhyfaodd yr ysgogyn i boeri yn ei wyneb yn gyhoeddus. Cymerodd Syr Walter ei napcyn i sychu ei wyneb, a dywedodd yn bur ddigyffro—"Wr ieuanc, pe gallwn lanhau dy waed oddiar fy nghydwybod, mor hawdded ag y gallaf y sarhad yma oddiar fy ngwyneb, mi a gymerwn dy fywyd ymaith mewn mynyd." Yr oedd yr enwog Dr. Bœrhaave bob amser yn ddigyffro yn ngwyneb pob math o heriadau a sarhad. Pan ofynwyd iddo pa fodd yr oedd yn gallu meistroli ei hunan felly, dywedodd ei fod yn naturiol yn bur barod i ddigio a chythruddo,

ond ei fod, o'r diwedd, trwy weddi a myfyrdod dyddiol, wedi cyrhaedd y llywodraeth hyny arno ei hunan.

Chwi a gyfarfyddwch â llawer o hudoliaethau cryfion i gynhyrfu o ran eich tymher. Ond y mae anwesiad y fath dymher, nid yn unig yn sicr o ddinystrio eich cysur presenol, eich niweidio yn ngolwg pawb fydd yn eich adnabod, niweidio eich defnyddioldeb, a dwyn arnoch henaint anamserol, ond hefyd yn hollol ddinystr i'r heddwch meddwl hyny ag sydd yn gynwysedig mewn cydwybod lân. Y mae y galon yn soddi mewn digalondid, pan, yn niwedd y dydd, wrth ymneillduo i'ch ystafell, y bydd raid i chwi adgofio fod eich tymher eto heb ei darostwng; a phan y dylech fod uwchlaw eich cynhyrfu gan ofidiau bychain sydd yn eich cyfarfod, eu bod yn eich blino ac yn eich gorwasgu yn barhaus.

V. *Byddwch yn ofalus i wella y meddwl pan yn unigol.*—Chwi a gyfarfyddwch âg amserau yn fynych pan y bydd raid i chwi fod wrthych eich hun. Chwi a fyddwch yn cerdded wrthych eich hun, yn eistedd wrthych eich hun, neu yn gorwedd ar obenydd annghysglyd wrthych eich hun.

Fe ddylai pob efrydydd nid yn unig ddysgwyl hyny, ond dymuno hyny: ac, os bydd ei galon yn gywir gyda Duw, ni raid iddo byth ddymuno bod yn llai unigol, na phan wrtho ei hun. Y mae y chwantau a'r nwydau mor dueddol i grwydro, fel yr ydym yn cyfrif y sawl a allo eu darostwng yn bur fedrus mewn hunanlywodraeth. Y ddau anhawsdra a'ch cyferfydd yn barhaus, ydynt, cadw y syniadau rhag bod yn grwydredig, a'u cadw rhag teithio ar hyd llwybrau annghyfreithlawn. Fe ddaw pethau gwâg a dychymygol i ladrata eich syniadau yn bur hawdd pan wrthych eich hun; ac os na fyddwch yn wyliadwrus, chwi a ewch yn gymdaith truenus i chwi eich hun, ac yn hunanhudolydd. Chwi a allwch yn hawdd ffurfio yr arferiad o edrych yn ol, ac adgofio yr hyn a ddarllenasoch neu a fyfyriasoch, neu ddwyn eilwaith i'r meddwl y wybodaeth a dderbyniasoch trwy gyfeillach; ond os na feithrinwch yr arferiad, fe fydd un wrth eich ymyl yn barhaus yn barod i fyned i'r galon ac i feddiannu neu berchenogi y tŷ. Fe ellir diwyllio y cof a'r farn,

trwy osod y syniadau i weithredu ar unrhyw beth a fu dan eich sylw o fewn y pedair awr ar hugain olaf. Yn gyntaf, galwch i gof unrhyw beth gwerthfawr a fu dan eich sylw, ac yna pwyswch o, ac ystyriwch yn mha gysylltiadau y gallwch ei ddefnyddio.

Y mae llawer iawn o fuddioldeb mewn cymeryd hamdden yn fynych i ddefnyddio ein syniadau wrthym ein hunain. Y mae y meddwl a'r teimladau yn cael eu llonyddu trwy hyny; ac y mae hyny yn wrthddrych dymunol yn mhob ystyr. Fe fydd aml siomedigaethau bychain, profedigaethau bychain, a chamgymeriadau, a'ch dygn flinant yn aml. Fe fydd arnoch angen cael amserau i fyfyrio; trwy yr hyn yr esmwythêir ac y lleddfir y teimladau, ac y gwellheir y farn yn mhob ystyr.

Y mae yr amser dyfodol o'ch blaen chwi. Fe ddaw atoch, ac a ddyg gyfnewidiadau gydag ef; fe fydd rhai o honynt yn brofedigaethus, ac yn anhawdd eu dwyn. Fe fydd gofidiau a siomedigaethau yn eich ffordd. Y mae yn angenrheidiol i chwi ragolygu amser dyfodol mor belled ag y gallwch, trwy eistedd i lawr ac edrych ar y dygwyddiadau a ddichon eich cyfarfod. Y sawl nad yw byth yn edrych allan i ragweled yr ystorm, sydd yn gorfod ei chyfarfod yn bur anmharod. Nid fy meddwl yw, y dylech ehedeg yn mlaen i amser dyfodol, ac yno ymdrechu gyda rhyw ddrygfyd a helbul, ac felly oddef anffodion meddyliol, y rhai, efallai, na chyferfydd byth â chwi; ond fy meddwl yw, mai y dyn difeddwl nad yw byth yn cymdeithasu âg ef ei hun, yw y lleiaf ei ddyoddefgarwch wrth gyfarfod â blinderau.

Y mae ar rai ofn eu hunain; ac ni ddychrynant fawr yn fwy wrth ddim nag wrth fod yn unigol. Y mae pob meddwl o'r hyn a fu ac o'r dyfodol, yn eu gwangaloni; ac nid allant gael cysur mewn dim ond wrth annghofio eu hunain. Ond nid yw hyny yn ddoeth. Pe byddai yn ddichonadwy i ryw gyfaill sibrwd yn eich clust eich holl feiau o bob natur, a hyny heb friwo eich teimladau, na pheri i chwi gynhyrfu dan y ddysgyblaeth, byddai hyny yn fendith anmhrisiadwy i chwi. Ond nid allai cyfaill o'r fath hyny wneyd mwy i chwi, nag a allwch chwi ei wneyd i chwi eich hunan, trwy

fyfyrdod pan yn unigol. Fe all dyn fel hyn fod yn athraw iddo ei hunan, ac ar ol arfer ychydig â'r gwaith, fe all bwyso ei weithredoedd, ei ymddygiadau, a'i nodweddiad, yn bur gywir.

Ni fydd y sawl nad yw yn adnabod ei hunan, yn debyg o ymddwyn at ereill yn y fath fodd ag i ennill eu serch. Fe fydd yn debyg o fod yn anfwyn a phigog. Tra, ar y llaw arall, y bydd y sawl a fo yn arfer adolygu ac archwilio ei hun, yn mynydiau tawel ymneillduad, yn debyg o gyrhaedd cymaint o adnabyddiaeth o hono ei hunan ag a'i gwna i ymddwyn gyda thynerwch at golliadau ereill. Wrth efrydu eich nodweddiad eich hun, fe fydd genych faes eang yn agored o'ch blaen. Ond ni wnewch lawer o ddaioni i chwi eich hunan, os na phenderfynwch, wrth edrych arnoch eich hun, i geryddu eich hunan am eich beiau a'ch colliadau. Nodwch y lleoedd lle yr ydych yn llithro, a byddwch yn sicr o'u gochelyd y tro nesaf. Nodwch ar bob tro y byddwch yn troseddu ar gymwynasgarwch, teimladau, neu iawnderau ereill; ac yn mhob amgylchiad y methoch gadw y rheol euraidd, ceryddwch eich hunan â llymder dyladwy er mwyn ymwella. Chwi a gewch allan mewn rhai amgylchiadau penodol, eich bod wedi dangos calon hunanol neu anllad; tymher ddialgar neu anhywedd; ysbryd eiddigus, cenfigenus, neu ddygasog; hunan-dyb anfoneddigaidd; neu sicrwydd a phenderfynolrwydd meddwl, a rwymai ereill i'ch cydnabod yn anffaeledig. Nid all neb fod yn unigol, ac adolygu ei hun a'i nodweddiad am yspaid o amser, heb weled llawer o golliadau, a nodi lluaws o leoedd y dylai wylio ynddynt mewn amser dyfodol.

Un o'r maenprofion goraf i farnu eich nodweddiad wrtho, ydyw chwilio nodweddiad y rhai hyny ag yr ydych yn hoff o'u cymdeithas. Chwi a fyddwch yn fwy cyfeillgar efo rhai nag ereill. Hwy a fyddant yn debycach o wenieithio i chwi; ac nid oes yr un sicrach mynegai i wir nodweddiad dyn, na nodweddiad ei wenieithwyr. Os gallwch ganfod—a phwy nad all, os ceisia?—pwy sydd yn gwenieithio fynychaf i chwi, fe fydd yn hawdd i chwi weled pa le yr ydych yn sefyll. Ni fyddwch yn debyg o ragori mewn un rinwedd foesol ar y rhai a dalo am eich cymdaith â'u gwen-

iaith. Chwi a allwch, fel hyn, gyrhaedd rhyw gymaint o wybodaeth am sefyllfa eich calon; a chwi a fyddwch yn bur ffol os na ddefnyddiwch ryw gymaint o'ch oriau myfyrgar i'r ymbrawf yma.

Trwy sylwi yn fanwl ar eich syniadau pan yn unigol, chwi a allwch gyrhaedd peth nad ellir ei gyrhaedd mewn un man arall; sef golygiadau cywir a phenodol am nodweddiad Duw. Nid all darllen, pregethu, nac ymddyddan, byth roddi syniadau eglur ar y pwnc mawr yma, heb fyfyrdod. Yr ydym yn clywed nodweddiad Duw yn cael ei egluro o'n mebyd; ac yr ydym yn darllen darluniad o'i nodweddiad yn ei air; ond er y cwbl, nid yw yn debyg y ffurfiwn ddrychfeddyliau cywir oddiwrth yr iaith, os na fyfyriwn lawer arno pan yn unigol. Nid yw felly ar bethau ereill. Pe baech o'ch mebyd yn cael clywed eglurhad ar holl ranau a galluoedd agerdd-beiriant, fel y tyfech i fyny fe ddeuai eich drychfeddyliau yn fwy eglur a phenderfynol trwy brofiad. Chwi a welech y peiriant yn fynych, neu chwi a gymdeithasech â rhai a'i gwelent. Ond nid yw ein syniadau am ein Crëwr yn dyfod yn eglur a phenodol trwy brofiad. Fe all yr un enwedigaethau effeithio drychfeddyliau cyfeiliornus trwy ein hoes, os na wnawn ni hyn yn destyn myfyrdod. Gwnaed fy narllenydd ieuanc brawf, ac fe wel y rhydd un awr o fyfyrdod dwys yn unig olygiadau mwy boddhaol a phenderfynol ar nodweddiad Duw na dim arall a wnaeth efe brawf o hono erioed.

VI. *Gwnewch o yn arferiad o ddarllen gair Duw yn ddyddiol.*—Nid yw holl daith y bywyd amgen na dylyniad o rwystrau, siomedigaethau, a gofidion. Mewn geiriau ereill, y mae holl ymddygiadau rhagluniaeth tuag atom gwedi eu rhoddi er ein dysgyblaeth foesol. Nid allwn gysoni ymddygiadau Duw â'i anfeidrol ewyllys da, mewn un goleuni arall; nac ymddarostwng yn foddlonus mewn llawer o amgylchiadau yr ydym yn rhwym iddynt yn aml. Ond nid yw y golygiadau yma o Dduw ac o honom ein hunain, y rhai sydd mor hanfodol i'n heddwch, ac i ddysgyblaeth y galon, i'w cael mewn un lle ond yn ngair Duw. Yr wyf wedi teimlo lawer gwaith wrth ryw ddernyn yn nheithiau yr enwog Mungo Park, pan y mae yn adrodd

ei sefyllfa a'i deimladau pan wedi ei adael wrtho ei hunan gan y rhai a'i hyspeiliodd yn nghanol Affrica. "Pa le bynag y trown, nid oedd dim yn ymddangos ond peryglon ac anhawsderau. Yr oeddwn yn canfod fy hun yn nghanol anialwch dirfawr, yn nhrymder hin ddrycinog, yn noeth ac yn unig, wedi fy amgylchu gan anifeiliaid gwylltion, a dynion gwylltach fyth. Yr oeddwn bum cant o filldiroedd oddiwrth y drefedigaeth Ewropaidd agosaf. Fe hyrddiodd yr holl ystyriaethau yma i fy meddwl ar unwaith, a rhaid i mi addef fod fy ysbrydoedd yn dechreu llaesu. Yr oeddwn yn meddwl fod fy nhynged yn sicr, ac nad oedd genyf ddim i'w wneyd ond gorwedd i lawr a threngu. Ond er hyny, fe roddodd effeithiau crefydd gynaliaeth i mi. Mi a adgofiais nad allai callineb a rhagolwg dynol fy attal rhag fy nyoddefiadau. Yr oeddwn yn ddyeithrddyn mewn gwlad ddyeithr; eto yr oeddwn dan olwg amddiffynol y Llywydd hwnw sydd wedi ymostwng i alw ei hun yn gyfaill y dyeithrddyn. Yn y mynyd hwnw, er mor ofidus oedd fy nheimladau, fe dynodd harddwch rhyw fwswgl bychan fy sylw, yn ddiarwybod i mi fy hun. Yr wyf yn crybwyll hyn, i ddangos oddiwrth fath amgylchiadau gwael y tŷn y meddwl, weithiau, gysur a dyddanwch; canys, er nad oedd y cwbl ddim mwy na blaen un o'm bysedd, nid allwn sylwi ar gydosodiad manwl ei wahanol ranau, heb ryfeddu. Yna dywedais yn fy meddwl, a all y Bôd hwnw, a blanodd, a ddyfrhaodd, ac a ddygodd i berffeithrwydd, yn y rhan ddirgel yma o'r byd, y cyfryw wrthddrych a ymddengys mor ddistadl a dibwys, edrych gyda difaterwch ar sefyllfa a dyoddefiadau creaduriaid a wnaed ar ei ddelw ei hun? Nac all yn ddiau. Ni oddefai ystyriaethau o'r fath hyn i mi anobeithio. Cyfodais, cychwynais, ac yn ddifater am newyn a blinder, teithiais yn mlaen, yn benderfynol fod ymwared gerllaw; ac ni chefais fy siomi."

Y mae hyn yn amgylchiad pur effeithiol yn mywyd dyn dewr. Ond gadewch i ni sylwi fod Duw wedi datguddio ei hunan i'r byd hwn mewn dwy ffordd, a'r naill a'r llall yn berffaith yn ei natur. Un yw trwy ei weithredoedd, y rhai sydd yn dangos ei dragwyddol allu a'i Dduwdod mor amlwg, fel y mae hyd yn nod y

paganiaid yn ddiesgus am beidio ei addoli. Y mae y nefoedd, y ddaear, a'i holl weithredoedd, hyd yn nod y "mwswgl bychan" sydd yn derchafu ei ben yn yr anialwch annghyfaneddol, yn cyduno i amlygu ei ddoethineb, ei allu, a'i ddaioni ef. Ac yr oedd yn naturiol i Park fel hyn gael cynhaliaeth ac addysg i'w feddwl oddiwrth yr olygfa a gafodd ar y goedwig yn cael ei phlanu a'i dyfrhau gan law anweledig; ond yr wyf yn hollol gredu, pe buasai yn edrych i'r datguddiad arall a wnaeth Duw o hono ei hun, a thynu ei gysur o'r Beibl, y buasai ei ymddiriad yn gryfach fyth, a llawenychasai wrth gyflwyno ei hunan i ofal yr Hwn nad yw yn gadael i aderyn y tô ddisgyn i'r ddaear yn ddisylw. Yn y bedwaredd Salm ar bymtheg fe gymharir y ddau ddatguddiad yma, lle y mae rhagoroldeb y datguddiad ysgrifenedig yn cael ei amlygu a'i fawrhau. Ymddengys fod brenin Israel wedi bod yn cerdded ar nen ei dŷ, ar un o'r prydnawnau clir ac hyfrydlawn sydd yn crogi uwchben *Palestina*, i fyfyrio gweithredoedd ei Wneuthurwr. Y mae yn tori allan mewn gorfoledd, gan ddywedyd, fod y nefoedd a'r wybren serenog yn datgan gogoniant Duw; ac wrth droi ei olwg i'r ddaear, fe ddywed, fod pob diwrnod yn llefaru wrth yr un sydd i'w ddylyn, a phob nos wrth ei chanlyniedydd, gan ddatgan ac egluro nodweddiad Duw: ac er nad oes dim ymadrodd i'w glywed, nac un iaith yn cael ei geirio gan weithredoedd Duw, eto y maent yn ei ddatguddio ef lle bynag y tywyna yr haul. Ond wedi'n, ymddengys fel pe bae yn annghofio holl ddysgleirdeb y nefoedd a gogoniant y ddaear, wrth droi i syllu ar air Duw, y datguddiad perffeithiaf a wnaeth o hono ei hun. Y mae ei delyn megys yn gordderchafu wrth fawrygu hwnw; canys dyma ddatguddiad perffaith a chyflawn, yn cyrhaedd yr enaid, yn ymwneyd â'r gydwybod, llawenhau y galon, yn goleuo y deall, yn para yn ei effeithiau ar yr enaid, yn boddhau y chwaeth, ac yn fwy na'r cwbl, yn attal i bechod ac yn puro y galon.

Y mae molawd ardderchog i'r Beibl gan yr ysgolhaig hynodol hwnw, Syr William Jones. Fe'i hysgrifenodd ar y cyntaf ar ddalen wen yn ei Feibl, ac a roddwyd i mewn yn ei wythfed araith o flaen y Gymdeithas ar Ymchwiliadau Asiaidd. "Y mae y Beibl, heb ystyried ei

darddiad dwyfol, yn cynwys mwy o arddnniant (*sublimity)* gwirioneddol, mwy o harddwch godidog, purach moesoldeb, hanesiaeth fwy pwysig, a darnau prydferthach o farddoniaeth ac areithyddiaeth nag y gellir eu casglu, o fewn i'r un cwmpas, o'r holl lyfrau a ysgrifenwyd erioed mewn unrhyw oes neu mewn unrhyw iaith. Y mae yr ysgrythyrau yn cynwys cyfansoddiadau nad ellir cyffelybu dim iddynt o drysorau Groegaidd, Indiaidd, Persiaidd, nac hyd yn nod o ddysgeidiaeth Arabaidd. Nid oes neb yn amau henafiaeth yr ysgrythyrau: ac y mae eu cymhwysiad priodol at ddygwyddiadau a gymerasant le yn hir wedi eu cyhoeddiad, yn sylfaen ddigon cadarn i gredu eu bod yn gyfansoddiadau didwyll, ac o ganlyniad yn ysbrydoledig."

Y mae anffyddwyr ac amheuwyr yn heidiau gwedi efrydu datguddiad natur, ac wedi proffesu adnabod Duw ynddo; ond nid ydynt gwedi tynu oddiyno ddim gwirioneddau y gallant ymuno ynddynt, dim egwyddorion i ddinystrio pechod yn y galon, dim cysuron a allant ddarostwng yr ewyllys i ewyllys Duw mewn adfyd a phrofedigaethau, na dim gobaith a all gynal a dyddanu yr enaid pan y teimla ei dŷ priddlyd yn malurio. "Y mae y Beibl yn debyg i ardd eang a diwylliedig, lle y mae amrywiaeth dirfawr a digonedd o ffrwythau a phêr-flodau,—rhai o honynt yn fwy hanfodol angenrheidiol neu yn fwy ysplenydd nag ereill; ond nid oes cymaint ag un eginyn yn cael ei oddef i dyfu ynddi heb ei fod o ddefnydd ac addurn yn y gyfundraeth. Iachawdwriaeth i bechaduriaid yw y prif wirionedd a ddanghosir yn mhob man, ac yn ngwyneb pob goleuni; ond y mae y pur o galon yn gweled miloedd o ddatguddiadau o nodweddiad Duw, a'i nodweddiad ei hun, ac o nodweddiad y byd; rhai yn gryf ac effeithiol, ereill yn fwy aneglur, fel pe buasid wedi eu bwriadu i'w chwilio allan--rhai yn benodol ac uniongyrchiol, ac ereill megys trwy grybwylliad neu gyfeiriad."

Nid ellwch iawn fwynhau yr ysgrythyrau, os na fydd genych chwaeth atynt: ac i gyrhaedd hyny, rhaid i chwi eu darllen yn ddyddiol. Y mae llawer yn ceisio darllen y Beibl gyda difyrwch, ond yn methu. Y maent gwedi prynu rhai newyddion mewn gwahanol argraffiadau a dulliau, ac eto nid oedd dim gwir fwynhad wrth

ei ddarllen. Y prif reswm yw, nad oeddent yn ei ddarllen yn ddyddiol; ac os na fydd yr arferiad yma genych, ofer i chwi ddysgwyl gweled na theimlo y rhagoriaethau hyny y mae ereill yn eu canmawl. Nid ellwch fwynhau yr un math o efryd, os na chymerwch mewn llaw ond yn awr a phryd arall. Fe wyr pob efrydydd ei fod yn hoffi unrhyw bwnc yn ol fel y parhao i'w ddylyn ddydd ar ol dydd am ryw gymaint o amser.

Nid yn unig mi a'ch cynghorwn yn y modd mwyaf dwys i ddarllen y Beibl yn ddyddiol, ond a chwanegwn ychydig o grybwyllion ar y drefn oraf i wneyd hyny.

1. *Darllenwch y Beibl wrthoch eich hunan.*—Y mae y rheswm am hyn yn amlwg. Fe fydd eich meddwl yn llai terfysglyd, yr ystyriaeth yn debycach o beidio cael ei dwyn ymaith, a'r syniadau yn debycach o beidio â chrwydro. Chwi ellwch ddarllen yn ystyriol, yn ddeallus, a chyda chymhwysiad personol. Fe ddaw toc yn arferiad difyrus; ac yn fuan fe fydd cymaint o awydd a syched ynoch am weled yr amser yn dyfod y cewch fod yn unigol gyda'ch Beibl, a phe baech gyda eich cyfaill daearol goraf. Nid oes yr un chwaeth a wellhair gymaint trwy arferiad a diwylliant, a'r chwaeth am air Duw.

2. *Pan y byddwch yn darllen er mwyn dybenion ymarferol, defnyddiwch y cyfieithiad cyffredin o'r Beibl.*—Wrth fyfyrio y Beibl yn fanwl a berniadol, o angenrheidrwydd fe ddefnyddia yr efrydydd gymaint o ieithoedd ag a all. Ond er mwyn cyrhaedd gwybodaeth gyffredinol o'r datguddiad dwyfol, ac i ddiwyllio a meithrin teimladau moesol y galon, y mae y cyfieithiad cyffredin yn tra ragori ar bob peth arall. Y mae o bwys mawr i feddiannu y fath wybodaeth o'r Beibl ag sydd i'w chael wrth ei ddarllen yn rheolaidd. Fe roddwyd y Beibl yn rhanau o bryd i bryd yn y dull addasaf i sefyllfa y byd, a'r dull goraf i roddi golygiadau cywir i ni ar nodweddiad a llywodraeth Duw. Dylech dreulio un rhan o'ch amser i ddarllen y llyfrau yn olynol o ran eu trefn, gan fyned yn rheolaidd trwy y Beibl fel hyn mor fuan ag y caniata eich amgylchiadau. Ar amser arall gallwch ddarllen rhyw ran sydd yn unig yn grefyddol, megys y Salmau, yr Efengylau, a'r Proffwydi. Nid all yr un dyn ieuanc fod yn rhy gynefin â llyfr y

Diarhebion. Y mae yno beth dirfawr o wybodaeth a doethineb ymarferol wedi ei drysori, ac fe fydd y dyn ieuanc a fyddo yn hyddysg yn hwnw, yn debyg o ymddwyn yn gall. Nid yw holl ddiarhebion ac arebau y byd yn ddim mewn cymhariaeth i eiddo Solomon o ran gwerth; ac nid oes braidd gymaint ag un o unrhyw werth, nad yw ei sylwedd eisioes yn yr eiddo ef.

3. *Darllenwch yr Ysgrythyrau mewn ysbryd gostyngedig a dysgadwy.*—Y prawf goraf o ddwyfoldeb y Beibl yw y prawf mewnol—yr un y mae dyn duwiol yn ei deimlo. Y mae hwn mor gryfed, fel nad all yr un rheswm anffyddiol ei syflyd. Chwi ellwch daflyd amheuon am fynyd ar brawfiadau ereill; gwrthwynebiadau nad ellir eu hateb ar unwaith; ac anhawsderau fydd yn dyrysu; ond pe cruglwythid amheuon fel mynyddoedd ar fynyddoedd, fe deimla y dyn duwiol fod ei Feibl oddiwrth Dduw. A dyma yn gymhwys fel y gellid dysgwyl y byddai mewn llyfr o'r nefoedd. Ond, heblaw hyn, y mae digon o brawf i ddinystrio pob amheuaeth am byth. Y mae yn beth da mesur a chwilio sylfaen yr adeilad, os bydd eich amgylchiadau yn caniatau; ond os nad ellwch wneyd hyny yn awr, gadewch o hyd ryw amser dyfodol. Ond nid ellwch gael dim budd oddiwrth y Beibl os na fyddwch o feddwl isel a gostyngedig uwch ei ben. Fe all plentyn ddweyd fod yr haul a'r ser yn troi o amgylch y ddaear—fod ei reswm yn ei ddysgu felly—a'i fod yn beth cymhwys i Dduw lunio y greadigaeth felly. Ond nid all rheswm y plentyn benderfynu y fath bynciau. Rhaid i chwithau beidio â dweyd y gellwch benderfynu pa beth a pha faint a ddylai Duw ddatguddio o hono ei hun. Y mae yn annichonadwy i ni egluro nac amgyffred y dirgeledigaethau sydd yn perthyn i bob gronyn o raean a phob dyferyn o ddwfr; llawer llai y gallwn ddysgwyl cael datguddiad o Fôd na welodd llygad erioed, ac o wlad nad oes yr un teithiwr byth yn dychwelyd o'i chyffiniau, heb gyfarfod âg anhawsderau a dirgeledigaethau. Fe ddysg gostyngeiddrwydd i ni eistedd wrth draed y datguddiad dwyfol, i dderbyn ei addysgiadau heb unrhyw goegwrthddadl. Y mae parch at yr Awdwr,—cynwysiad yr ysgrythyrau—a gofal am ein dedwyddwch tragwyddol, yn ein rhwymo i ddarllen y Beibl

mewn gostyngeiddrwydd. Yr ydym yn anwybodus, ac mewn angen addysg; yr ydym yn dywyll, ac mewn angen goleuni; yr ydym gwedi ein darostwng trwy ein nwydau a'n pechodau, ac mewn angen o dderchafiad. Nid all llusern rheswm ddim goleuo i ddangos pethau sydd yn crogi tudraw i'r bedd; ni wna tybiadau y dychymyg ddim ond dyrysu; ac os na dderbyniwch y Beibl mewn ysbryd baban, chwi a amheuwch ac a grwydrwch nes cael eich hunan mewn môr o ansicrwydd, heb un ddarlunlen i'ch cyfarwyddo, na cwmpawd i ddangos y ffordd, na phorthladd i gyfeirio ato.

4. *Darllenwch yr Ysgrythyrau tan deimlad o gyfrifoldeb dirfawr.*—Os y llyfr sydd yn eich llaw yw yr unig ddatguddiad a wnaed i ddyn, ac os yw Duw yn llefaru ei feddwl ynddo, yna y mae genych faenprawf at ba un y gellwch bob amser ddwyn eich cydwybod, wrth ba un y gellwch ddiwyllio eich calon, a chynyddu mewn purdeb a santeiddrwydd. Y mae genych lyfr sydd yn alluog i'ch cymhwyso i'r defnyddioldeb uwchaf, ac i nodi allan brif ddybenion eich bodolaeth, yn nghyda'r modd goraf i gyrhaedd hyny—llyfr a all eich tawelu a'ch boddhau pan y blinir chwi gan ofidiau—llyfr a all eich gwneyd yn ostyngedig pan y byddoch mewn perygl o ymdderchafu mewn llwyddiant; neu a all eich cynal mewn iselder a gwendid—a llyfr wedi iddo eich arwain, fel y seren a arweiniodd y doethion o'r dwyrain, trwy y byd hwn, a'ch dwg yn y diwedd i wlad lle caiff yr enaid fyw a gweithredu yn ei nerth naturiol, lle bydd y meddwl wedi ymeangu i'w eithafoedd mwyaf—a lle y bydd eich mwynhad mor gyflawn a'ch dymuniadau. A ellwch chwi esgeuluso y llyfr yma heb wneyd anghyfiawnder â chwi eich hunan? Nid ydych chwi ond megys ar doe, ac heb gael nemawr o amser i ddysgu y pethau sydd o'ch amgylch chwi: ac heb gynorthwy dwyfol, nid allwch wybod beth yw tynged eich natur, na dim a'r sydd yn aros yr enaid yn y byd tragwyddol: ond y mae Duw wedi rhoddi ei air ei hun i'ch dysgu, i'ch cyfarwyddo, ac i'ch sicrhau chwi. Ac os oes ynoch y gradd lleiaf o ddoethineb, chwi a ddarllenwch hwnw yn ddyddiol; ac os na wnewch (mor belled ag y caniata eich amgylchiadau) chwi a ellwch fod yn sicr mai y rheswm o hyny yw, fod ynoch y fath gariad at bechod

fel y mae arnoch ofn i oleuni lewyrchu arnoch i'ch ceryddu.

VII. *Gwnewch o yn arferiad i adolygu ynffyddlawn ar amserau penodol eich holl ymddygiadau.*—Nid fy ngwaith i yw nodi pa bryd y dylai yr amserau hyn fod, na pha mor fynych y dylent fod. Ond dylent ddygwydd yn aml ac yn rheolaidd. Arferai athronydd paganaidd argymhell ei ysgolheigion i chwilio ac ystyried bob nos cyn y cysgent pa beth a wnaethant y diwrnod hwnw, ac felly i gael allan pa weithredoedd fyddai yn deilwng i'w cyflawni y dydd canlynol, a pha bechodau a gwaeleddau y dylid ymgadw oddiwrthynt, rhag iddynt fyned yn arferiad. Y mae rhai amserau neillduol y gelwir ni yn benodol gan ragluniaeth Duw i ystyried ein hymddygiadau, heblaw ar amserau rheolaidd. Er anghraifft, pe byddai llaw afiechyd yn cael ei hestyn arnoch, ac i chwithau gael eich dwyn i deimlo eich gwendid a'ch analluogrwydd, fe ddylai amser eich afiechyd ac amser eich adferiad fod yn amserau y dylech aros megys uwch eu penau, a chymdeithasu yn agos â'ch calon. Os dygwydd i chwi newid eich trigfa, fe fydd hyny yn gyfleusdra rhagorol i chwi i chwilio pa arferion, a pha feiau a ddylech gyfnewid am eu gwell, pa hudoliaethau a fuont yn fwyaf o fagl i chwi, pa gymdeithion a'ch arweiniasant o'r iawn lwybr, a pha bechodau yr ydych yn euog o syrthio iddynt, a fyddent yn achos o flinder mawr i'ch rhieni, ac ydynt gwedi clwyfo eich enaid chwithau, ac os parhewch ynddynt, a'ch cauant allan yn y diwedd o deyrnas nefoedd. Fe ddylai cyfnewidiadau o'r fath yma fod yn leoedd i chwi aros ynddynt, ac adolygu yn ffyddlawn eich holl fywyd, ac, mewn edifeirwch am yr hyn a fu, a phenderfyniadau newyddion, trwy gymhorth dwyfol, i lwyr ymroddi i gynal buchedd well.

Ond nid dyma yr amserau penodol yr wyf fi yn awr yn eu cymhell. Yn niwedd y sabboth chwi a ddylech ei wneyd yn fater cydwybodol i gyflawni y ddyledswydd o ymneillduo ac adolygu yr wythnos a aeth heibio. Y mae yn amser da iawn. Yr ydych wedi mwynhau gorphwysdra melys y sabboth, ac yn agosach o un wythnos i awr marwolaeth, ac i'r awr y cewch eich barnu. Yr ydych wedi mwynhau rhagorfreintiau wythnos arall; yn awr yw yr amser i chwi edrych pa ddefnydd a

wnaethoch o honynt. Yr ydych gwedi cael wythnos arall i effeithio ar ereill; yn awr yw yr amser i edrych pa beth a fu yr effaith o hyny. Yr ydych yn atebol am un wythnos yn chwaneg er ffurfio nodweddiad er gogoniant Duw; yn awr yw yr amser i ystyried pa fodd y darfu i chwi ddefnyddio y cyfleusdra. Bydded yr adolygiad yma yn drwyadl, ac nac esgeuluswch o unwaith. Os gadewch i'r adeg fyned heibio unwaith heb gyflawni y ddyledswydd hon, y mae yn bur debyg yr esgeuluswch hi dro ar ol tro; canys nid oes yr un ddyledswydd a berthyn i ddrylliad y galon, mor ofidus a hunan-archwiliad. Dywed rhai fod yn well ganddynt i ereill nodi eu beiau. Y mae hyn yn debyg i blentyn yn ceisio drych i edrych ei ddwylaw a oes eisiau eu golchi ai peidio. Digon tebyg fod yn well genych gael cyfaill i wneyd hyn na'i gyflawni eich hunan; ond y rheswm yw, am eich bod chwi eich hunan yn alluog i ganfod miloedd o feiau, a miloedd o dueddiadau gau, nad all ei lygaid ef eu cyrhaedd. Y mae yr ymarferiad yma yn hynod o addas i derfynu y sabboth, ac i wasgu yn fwy dwys ar yr enaid yr argraffiadau santaidd hyny ag y mae y dydd wedi ei fwriadu i'w cynyrchu.

Ond y nos, ar derfyn y dydd, ar ol i chwi fyned trwyddo—wedi i chwi chwanegu at nifer eich dyddiau ar y ddaear—wedi i oriau y dydd ehedeg at orsedd barn, a chyhoeddi yno eich holl weithredoedd, eich holl eiriau, a'ch holl feddyliau—y diwrnod fydd yn effeithio mewn rhyw fodd ar eich sefyllfa i dragwyddoldeb: dyma yr adeg y dylech adolygu yn y dull mwyaf ffyddlawn a chywir eich holl ymddygiadau. Fe allai na welwch yn union y buddioldeb o wneyd hyny; ond y mae y buddioldeb yn fwy nag y gall iaith ei amlygu. Chwi ganfyddwch ddyledswyddau wedi eu hesgeuluso y dydd hwnw; ac a fydd yr archwiliad ddim yn sicr o'ch arwain i edifarhau am y gwall, a'i ochelyd y fory? Chwi welwch eich bod wedi gwastraffu amser, awr yma, ac hanner awr acw; a ddysg yr archwiliad ddim i chwi ei ddefnyddio yn well rhagllaw? Chwi gewch eich bod wedi siared yn annoeth mewn amgylchiadau; ac a ddylech chwi ddim dal ar hyny? Ac fe allai eich bod wedi ymdrechu yn erbyn rhyw hudoliaeth, ac i gyflawni eich dyledswydd; fe fydd yn llawenydd i chwi

adgofio hyny. Chwi fyddwch yn debycach i lwyddo y fory. Fe all pob dyn ddweyd y nos, pa un ai ennill, colli, ai gwastraffu cyfoeth a wnaeth yn ystod y dydd; ac felly y gall pob dyn ddweyd yn niwedd y dydd, trwy ofal priodol, pa un ai yn ol ai yn mlaen yr aeth mewn dysgyblaeth y galon. Y sawl sydd yn treulio wythnosau a misoedd heb yr adolygiad aml a manwl yma, a syna yn niwedd yr amserau hyny, pa fodd na bae wedi cynyddu mewn nodweddiad moesol, paham na fae ganddo fwy o hyder wrth obeithio am amser dyfodol. Y gwir yw, ni a allwn fyw yn baganaidd yn nghanol goleuni mawr yr efengyl, a thra, efallai, y byddwn yn cyflawni rhai o'i ffurfiau allanol. Ond fe heda amser oddiwrthych tra yr ydych yn ffurfio cynlluniau a phenderfyniadau da, ac yn meddwl am wneyd yn well rhag llaw, os na alwch eich hunan i gyfrif yn ddyddiol; a phan y daw angau i'ch galw ymaith, chwi gewch y bydd iaith effeithiol athronydd paganaidd wrth farw, yn eithaf addas i'ch sefyllfa:—"Fe'm ganwyd yn halogedig, treuliais fy mywyd yn drwmfrydig, ac yr wyf yn marw mewn pryder drychynllyd! O tydi Achos pob achosion, cymer dosturi arnaf." Fe fydd y boen a'r blinder a rydd ein diffygion a'n pechodau i ni wrth eu hadolygu, yn fuddiol, yn ddymunol, ac angenrheidiol; ac anturiaeth ddychrynllyd yw i neb fyned i orphwys y nos, tan y fath ofynion ag y mae pob efrydydd yn Nghymru y dyddiau hyn danynt, heb adolygu y dydd yn y fath fodd ag yr wyf yn ei gymeradwyo.

VIII. *Arferwch weddio yn ddyddiol.*—Y mae yr awdwyr enwocaf, hyny ydyw, y rhai a fuont fwyaf defnyddiol yn gyffredinol, gwedi bod yn ceisio bendith Duw ar eu hefrydion. Sylwai Doddridge yn aml, na chynyddodd ef erioed yn gyflym mewn dysgeidiaeth ddynol heb weddi, a'i fod yn cynyddu bob amser pan y gweddiai wresocaf. Pan y byddys yn agored i beryglon a fo'n bygwth y corff, megys enbydrwydd rhyw daith, ystorm ar y môr, neu sigliadau daeargryn, nid oes neb yn ei gyfrif yn benboethni neu yn wendid i ofyn cymhorth a nawdd Duw. Ond pa faint sydd yn teimlo, wrth ymosod ar efrydu, pan yr hudir hwy i fyned ar gyfeiliorn mewn mil o lwybrau annghywir, a phan y maent yn agored i fyned yn chwithig o ran eu golygiadau,

cynlluniau, ymarferion, a holl ranau eu nodweddiad, nad oes arnynt angen gweddi! Yr oedd hyd yn nod y paganiaid yn teimlo cymaint o angen cymhorth yn eu hymchwiliadau meddylgar, fel mai anfynych, os byth, y dechreuent ar unrhyw efryd neu lyfr, heb geisio cymhorth y duwiau. Diau, ynte, nad all yr efrydydd sydd yn gwybod ei ddibyniad ar y gwir Dduw, ac sydd yn gwybod pa mor hawdd y teflir meddwl dyn oddiar yr iawn fantol, pa mor bwysig ydyw i'r meddwl fod yn glir, a'i holl alluoedd mewn iawn hwyl,—nad all ef, meddaf, deimlo ei fod yn alluog i gyflawni ei ddyledswydd fel efrydydd yn unig, heb son am ddim rhwymau ereill, heb ffurfio a meithrin yr ymarferiad o weddio yn ddyddiol.

Yr wyf yn gwybod fod miloedd, pan y gwesgir y pwnc yma atynt, yn barod i ddweyd nad oes ganddynt amser i hyny, fod eu gorchwylion y fath fel nad oes ganddynt amser nac ysbryd addas i weddio. Yr wyf yn ateb, na fydd hyn ddim yn attaliad i gyflawni eich gorchwylion, ac yn neillduol efryd. Ond yn y gwrthwyneb, fe fydd y meddwl yn cael ei dawelu, ei adfywio, a'i nerthu, wrth ei droi yn ddyddiol oddiwrth eich gorchwylion ac efryd at weddi. Gofynwch i unrhyw ddyn enwog a'r sydd wedi gwneyd prawf o'r ddau ddull, ac fe ddywed wrthych ei fod wedi llwyddo yn ei efrydion mewn cymhariaeth i'w ffyddlondeb yn cyflawni y ddyledswydd hon. Beth a ddywedir am y fath ddyn a'r Esgob Andrews, yr hwn oedd mor lwyddiannus yn ei efryd fel y gallasai ddarllen pymtheg o wahanol ieithoedd, ac eto, nid oedd yn treulio llai na phum awr bob dydd mewn dyhewyd (*devotion*) dirgel. Y mae esgeuluso gweddi ar gyfrif diffyg amser, yn cael ei gymharu yn bur briodol i'r llafurwr a ddywedai na fedd amser i hogi ei arfau.

Hyderwyf y cewch y crybwyllion canlynol yn fuddiol i chwi os dylynwch hwynt wrth gyflawni y ddyledswydd hon.

1. *Mynwch amser penodol a rheolaidd i weddio.*—Y mae arferiad o'r pwys mwyaf yn nghyflawniad unrhyw ddyledswydd; ond nid ydyw yn fwy felly i un nag i weddio. Nid ellir cyflawni hyn gystal mewn un sefyllfa a phan yn unigol. Yr oedd cynghor Crist i fyned i'r *ystafell*, yn deilliaw o'i wybodaeth am y natur

ddynol. Mynwch amser penodol; a phan ddaw yr adeg, os bydd eich calon yn gywir tuag at Dduw, chwi a'i defnyddiwch fel yr awr fwyaf hyfryd yn y dydd. Fe fydd dyfodiad yr amser yn galw y ddyledswydd i gof, yr hon, efallai, heb hyny, a ollyngid heibio yn nghanol trafferthion ereill. Fe ddylid cadw yn fanwl at drefn yn nghyflawniad y ddyledswydd hon, er mwyn cyflawniad ffyddlawn a digoll, ac yn neillduol er mwyn cysur yn ei chyflawniad. Ni chafodd neb erioed fwynhad cyflawn o grefydd, a fyddai heb amserau penodol gwedi eu neillduo i weddio.

2. *Dylai yr amserau yma fod yn y bore ac yn yr hwyr.*—Y mae y meddwl yn dawel yn y bore; nid yw hudoliaethau y dydd gwedi ymosod arnoch; na gorchwylion y dydd gwedi llanw y meddwl a'ch blino. Cyn i chwi gychwyn ar ddyledswyddau y dydd, ei ofalon, a'i hudoliaethau, dechreuwch y dydd trwy weddi. Chwi fyddwch yn sicr o gyfarfod âg hudoliaethau; a phrofedigaethau i'ch rhinwedd a'ch amynedd yn sicr o'ch dal; a llawer gwaith cyn nos fe fydd arnoch angen amddiffyniad a gofal eich Tad nefol. Ewch ato, a gofynwch am ei gynghor i'ch arwain, ei allu i'ch cynal, ei bresenoldeb i'ch dyddanu, a'i Ysbryd i'ch santeiddio. Yna chwi fyddwch wedi gwneyd yr hyn sydd yn gyfatebol i hanner dyledswyddau y dydd, pan y byddwch gwedi cael ei ofal a'i gynorthwy ef. A phan ddaw y nos—pan y byddwch wedi gorphen dyledswyddau y dydd; pan fydd y corff yn flinedig, a'r meddwl wedi marweiddio; pan fyddo y byd wedi ei gau o'r golwg gan gysgodau y nos; pan y byddwch chwithau yn dechreu edrych yn ol i adolygu y dydd; a phan y gwelwch faint o ddiffygion a ddygwyddodd yn nghorff y dydd, pa faint o anmherffeithderau sydd yn nglŷn â chwi, pa faint o bechodau sydd yn hylldremio yn eich gwyneb, a pha mor lleied a wnaethoch y dydd hyny dros Dduw, drosoch eich hunan, a thros ereill—dyma amser addas i weddio. Fe fydd yn beth dymunol iawn eich bod yn gallu teimlo fod genych Un y gallwch fyned ato, ac a rydd wrandawiad i chwi hefyd; Un a faddeua i chwi os gofynwch yn edifeiriol ac yn enw Iesu Grist; Un a dderbyn eich offrwm prydnawnol, ac a'ch nertha erbyn y fory, ac a'ch gwisga yn ei gyfiawn-

der ei hunan. Fe fydd yr awr yma, os iawn ddefnyddir hi, fel ymweliad cysurlawn y cyfaill anwylaf. Gochelwch rhag i ddim eich rhwystro i gyflawni eich dyledswyddau crefyddol yr oriau hyn. Meddyliwch am Daniel, prif weinidog Persia, yr hwn oedd â thrafferth cant ac ugain o daleithiau yn gorphwys ar ei feddwl; eto yn gofalu am ddigon o amser i fyned dair gwaith yn y dydd i'w ystafell i addoli Duw. Meddyliwch am Alfred, â gofalon brenhinol ganddo; am Luther, yn nghanol ystormydd o gynddeiriogrwydd Pabaidd; am Thornton, wedi ei amgylchu â mil o orchwylion masnachol; eto, heb byth adael i drafferthion gwahanol alwadau eu rhwystro yn oriau eu dyhewyd.

3. *Cadwch gydwybod lân oddiwrth bob arferiad pechadurus, os ydych am gael buddioldeb trwy weddio.* Os ydych yn byw mewn rhyw bechod gwybodus i chwi, chwi a fyddwch yn sicr o ddinystrio eich oriau gweddi. Y mae yn rhaid i hyny, neu gymundeb â Duw derfynu; ac yn wir, nid yw yn ddichonadwy i'r ddau gydbara. Os nad ydych yn cadw y sabboth; os ydych yn ysgafn a chellwerus yn eich ymddyddanion; yn ddrwgdybus neu yn enllibus o ereill; neu os ydych yn coleddu meddyliau neu arferion llygredig yn y dirgel, fe fydd yn annichonadwy i chwi awyddu am yr awr weddi.

Efallai yr ymddengys yn ddyeithr i rai o'm darllenwyr, fy mod yn cymhell y ddyledswydd hon arnynt, pryd, efallai, nad ŷnt yn proffesu eu bod yn Gristionogion, neu yn grefyddwyr. Ond a feiir fi os ydynt hwy yn peidio hyd yn nod proffesu eu bod am ufyddhau a gogoneddu Duw? A ydych chwi yn rhy uchel i angen eich cyrhaedd, fel nad rhaid i chwi weddio? Beth os nad oes genych chwaeth at weddio; a wna esgeuluso y ddyledswydd feithrin neu greu y chwaeth hyny ynoch? Os ydych wedi byw cyhyd yn ddeiliad o lywodraeth Duw, yn ngwyneb yr holl fanteision a gawsoch, a than bob rhwymedigaeth a orphwys arnoch, ac eto yn byw yn ddiweddi, a ellwch chwi ddadlu yr esgeulusdra yma o'ch dyledswydd fel rheswm am beidio ei gwasgu arnoch? A fyddwn i yn gyfaill ffyddlawn i dderbyn yr esgus yma, ac addef, gan i chwi geisio dianc o sylw Duw cyhyd o amser, ac heb ddiolch iddo am ei drugareddau, na gofyn iddo am ei ddaioni, y dylech gael eich

gadael eto heb i un rhybydd gael ei gyfeirio atoch? Na. Ac os ewch i geisio dadlu na fuoch yn arfer gweddio, sicrhaf i chwi eich bod yn ddiesgus—eich bod yn colli llawer iawn o dangnefedd meddwl, a'r boddlonrwydd o roddi eich holl anghenion a'ch profedigaethau gerbron yr hwn a ddichon eich gwaredu. Yr ydych yn colli yr holl egwyddorion hyny sydd yn gwneyd nodweddiad dyn yn wir rinweddol, mawr, a sefydlog: ac yr ydych yn colli cyfleusderau gwerthfawr, pa rai sydd yn myned ymaith yn gyflym, a pha rai, os camddefnyddir, a barant loesau chwerwon i chwi ryw ddiwrnod.

4. *Cyflwynwch eich gweddiau yn enw Iesu Grist.*—Efe yw yr unig Gyfryngwr rhwng Duw a dyn. Efe yw yr hwn sydd yn eistedd â'r thuser aur yn ei law ddeau, a'r hwn sydd yn byw yn dragywydd i eiriol drosom. Y mae efe yn Archoffeiriad goruchel a thrugarog, ac a all gydymdeimlo â'n holl wendidau. Nid oes genym ddim cyfiawnder o'r eiddom ein hunain; nid all fod ynom ddim hyder mewn cyflwyno ein gweddiau yn ein henwau ein hunain. Ond yr hwn sydd â mwyaf o ysbryd Crist ganddo; yr hwn sydd yn dyfod yn agos ato mewn myfyrdod a dyhewyd; yr hwn sydd â'r golygiadau goruchaf am y Gwaredwr, ac iselaf am dano ei hunan, yw yr hwn a fwynha fwyaf wrth orsedd gras. Fe fydd eich gweddiau yn oerion, oddieithr iddynt ddyfod o galon wedi ei chynhesu â'i gariad ef. Ni fydd eich deisyfiadau yn wresog, yn niffyg i chwi deimlo eich angen o Waredwr hollalluog.

5. *Ceisiwch gymhorth yr Ysbryd Glân.*—Pan y mae Duw yn ein cyfarwyddo i weddio, nid yw yn gwneyd fel y gall eistedd megys mewn pellder oddiwrthym, yn debyg i ryw frenin oerllyd a difater, yn unig i wrando ein gweddiau, ac i dderbyn ein haddoliad; ond er mwyn i ni gael agosâu ato ef. Y mae efe wedi addaw yr Ysbryd Glân i'r rhai a ofynant ganddo, ac nid oes yr un rhodd i'w chymharu â hon. Y mae y cwbl a wneir i ddyn mewn galw ei ystyriaeth at bethau tragwyddol, santeiddio y galon, a pharotoi yr enaid at wasanaeth Duw yn y byd hwn ac erbyn y byd a ddaw, yn cael ei gyflawni gan yr Ysbryd Glân. Nid all hyd yn nod yr enaid a adnewyddwyd trwy ras ddyrchafu ei serchiadau a'i ddymuniadau ar ol pethau nefol o hono ei hun. Y

mae llygredd ei natur yn faich trwm i'r duwiol;—ond y mae yr Ysbryd Glân yn cynorthwyo eu gwendid, yn symud rhwystrau cnawdol o'r ffordd, ac yn cynhyrfu yr anian newydd, fel y gellir gweddio yn ysbrydol. Y mae rhybyddion pwysig yn cael eu rhoddi yn y Beibl rhag i ni gamddefnyddio y rhodd nefol yma. Efe yw y Santeiddydd i buro eich calon,. a'r Dyddanydd i'ch cynal a'ch cysuro mewn bywyd ac angau. Gofynwch am ei gynorthwy trwy ffydd, a chwi a gewch eich diogelu rhag hudoliaeth, eich addysgu i fod yn ddefnyddiol yma, eich goleuo yn eich golygiadau, eich eangu yn eich teimladau, eich cywiro yn eich amcanion, eich gwneyd yn foddlawn yn eich amgylchiadau, yn dawel yn angau, ac yn ogoneddus mewn anfarwoldeb tudraw i'r bedd.

## PENNOD IX.

### AM DDYBENION BYWYD.

Pa sawl golygiad prydferth sydd yn symud heibio y meddwl mewn un diwrnod, pan y mae y ffrwyn yn cael ei thaflu ymaith, a'r dychymyg yn rhydd oddiwrth bob rhwystr! Pa mor gywrain, difyr, a buddiol a fyddai hanes gweithrediadau un meddwl am un diwrnod! Pwy sydd o'm darllenwyr na ddychymygodd brydferthach haf nag a flodeuodd erioed--golygfaoedd perffeithiach nag a dynwyd erioed gan y darlunydd—trigfanau harddach nag a godwyd erioed—dyrchafiadau mwy goruchel nag a gyfranwyd erioed—cartref tawelach nag a fwynhawyd erioed—cymdeithion mwy angylaidd nag a gerddodd y ddaear erioed—a gwynfyd mwy cyflawn, a mwynderau mwy dyddanus, nag a fwriadwyd erioed i ddyn? Chwi a ellwch alw y rhai hyn yn freuddwydion y dychymyg, ond y maent yn gynefin i'r efrydydd. Er gwaeled y rhai hyn, dyma etifeddiaeth y dyn sydd yn byw yn unig i'r byd hwn. Y mae gan y gwir Gristionogion eu rhagddysgwyliadau, ond nid paentiad y dychymyg, eithr y gwirioneddau y mae ffydd yn eu datguddio. Wrth iddynt edrych i lawr ar hyd dyffryn

amser, y maent yn canfod seren yn cyfodi, y mynyddoedd oesol yn goblygu, y pantiau yn cael eu dyrchafu, a'r lleuad yn cael ei gwisgo â gogoniant yr haul: y diffaethwch a'r lleoedd sychion yn llynoedd dwfr: natur megys yn dyspeidio: y sarff yn annghofio ei cholyn: y llewpart a'r oen yn cydorwedd: a llaw y plentyn yn ymaflyd yn mwng y llew. Y ddaear a oleuir, a'r seren a lewyrcha nes dwyn i mewn y tragwyddol ddydd. Teyrnasoedd a syllant nes annghofio rhyfel a'i gweithredoedd llofruddgar, a'i gwisgoedd gwaedlyd. Dyma ragddysgwyliadau gogoneddus! ond nid gweithrediadau dychymyg tywyll ŷnt. Deuant oll i ben. Fe gerdda pechod a marwolaeth law yn llaw am yspaid maith ar y ddaear, ac ni lwyr ddileir ôl eu traed hyd nes y toddir y ddaear gan dân y dydd olaf. Ond y mae pen un wedi ei ysigo eisioes, a cholyn y llall wedi ei gymeryd. Hwy allant ruo yn hir, ond y maent mewn cadwynau, ac y mae llygad ffydd yn canfod llaw yr hwn sydd yn dal y gadwyn.

Ond y mae genym olygfaoedd gogoneddusach eto. Yr ydym yn edrych am nefoedd newydd a daear newydd, lle y mae cyfiawnder yn trigo. Ni fydd pechod yno i anharddu y prydferthwch, dim gofid i leihau y llawenydd, na dim pryder i ysu y galon, na chymylu y wedd. Ni a allwn brofi ein hunain i raddau mawr wrth ein rhagddysgwyliadau. Os yw ein syniadau a'n teimladau yn rhedeg yn rhedle amser, ac yn dawnsio o'r naill degan daearol i'r llall, er i'n dysgwyliadau gael eu cludo mewn gwisgoedd angylaidd, y mae yn brawf athrist fod ein calon yma hefyd.

A oes rhyw wendid yn y gobaith yma o eiddo dynion duwiol? A ydym ni ddim yn feunyddiol yn ceisio gorphwysdra i'r enaid? Ychydig flynyddau yn ol fe aeth dyn ieuanc i fyny i frig hwylbren rhyw long, ac yno fe eisteddodd i lawr i fyfyrio. Yr oedd yn unig fab ei fam, a hòno yn weddw. Yr oedd wedi ei gadael er gwaethaf ei dymuniadau, dagrau, a gweddiau. Yr oedd wedi bod yn crwydro dros y moroedd, ac yn awr yn dychwelyd adref. Dechreuai feddwl am holl olygfaoedd a llwybrau ei fabandod; yr holl ofal a'r pryder yr oedd gwedi gostio i'r fam hòno; yn nghyda'r holl anufydd-dod o'i du ef, a'r holl gariad o'i thu hithau nad allai dim

dyfroedd ei ddiffoddi. A fyddai hi yn cysgu yn y bedd, pan y deuai at ei dôr unwaith eto? A fyddai ei gartref yn para yn debyg yr un fath a phan y gadawodd ef o? Y goeden, y ffrwd, y llyn, y caeau, y goedwig, —a fyddent hwy oll fel cynt? Ac a dderbyniai ei fam ef i'w mynwes, neu a fyddai hi yn cysgu yn llwch angau? A ailgydnabyddai hi ei bachgen afradlawn, a maddeu ei holl gamweddau blaenorol, a'i garu ef eilwaith â chariad anniffoddadwy mam? Ac a gai ef eilwaith gartref, fel na fyddai iddo grwydro mwy yn mhlith estroniaid? Yr oedd pwys y fath syniadau yn ormod. Fe wylodd wrth adgofio ei anufydd-dod. Fe fethodd cyfyngderau a chaledi dori ei ysbryd, na phlygu ei galon falch; ond meddwl am gartref, am orphwys, am beidio â myned allan mwy, am beidio â dyoddef mwy, am beidio â chroesi cariad ei anwyl fam byth mwy, a'i drylliodd yn chwilfriw. Ai nid y natur ddynol oedd hyn? Ac a ydyw o yn wendid mewn dyn duwiol i lawenhau wrth feddwl am y diwrnod hwnw pan y llyncir angau mewn buddugoliaeth? pan y sych yr Arglwydd Dduw holl ddagrau, ac y cymer efe ymaith holl warthruddiadau ei bobl, fel y byddo iddynt lawenychu a gorfoleddu yn ei iachawdwriaeth? "Yr wyf fi yn myned," ebai yr enwog Hooker, "i adael byd terfysglyd ac eglwys annhrefnus, i fyned i fyd ac eglwys lle y mae pob angel, a phob dosparth o angylion, yn sefyll gerbron yr orsedd, ac yn cyflawni y gwaith hyny yn unig y mae Duw wedi nodi iddynt."

Y mae y byd yn gyffredinol wedi hollol gamddeall dyben bywyd ar y ddaear; neu ynte y mae ef yn ei gamddeall sydd yn canlyn goleuni y Beibl. Edrychwch ar ddynion yn unigol, ac ymddengys mai eu hamcan yw boddhau rhyw duedd at wagogoniant, i gamarwain a chanlyn eu blys a'u nwydau, yn nghyda thueddiadau hunanol, lle bynag yr arweiniant. Os edrychwch ar ddynion yn y cyfanswm o honynt, y balchder a'r nwydau yma a derfynant yn nghynlluniau eang uchelgais, mewn rhyfeloedd a thywallt gwaed, mewn ymryson, ac yn ninystr pob peth sydd yn wir rinweddol a dymunol. Y mae pob dalen o hanesiaeth dynolryw wedi ei lliwo â gwaed; ac nid yw amgen nag hanesiaeth rhyw neu genedl a wnai ei phrif nod neu amcan i ddibrisio ei

galluoedd, ac iselu yr hyn a amcanwyd i dragwyddol wynfyd, i'r diraddiad ffieiddiaf a all pechod ei wneyd. Ar un pryd, chwi a welwch fyddin o bum miliwn o ddynion yn canlyn eu blaenor, yr hwn, i chwanegu at ei glod a'i enwogrwydd (!!) sydd yn peryglu yr holl fywydau yma, yn nghyda heddwch ei deyrnas oll. Gwelir yr holl ddynion yma yn cwympo i mewn efo eu gilydd i fyw, i ryfela, ac i drengu, er mwyn derchafu a boddhau rhyw bryfyn gwael y llwch. Pa fath alluoedd oedd yma gwedi cydgysylltu! Y fath feddyliau oedd yma mewn gweithrediad! Y fath olygfa o ymdrechion oedd yma! A phwy, o'r holl dyrfa, a ganlynai wir ddyben bywyd! O Sercses eu blaenor, hyd at y gwaelaf yn y fyddin, a oedd cymaint ag un (pan y pwysid ef yn nghlorian y gwirionedd Dwyfol) yn cyflawni y dyben i ba un y rhoddwyd bywyd iddo, ac i ba un y mae bywyd yn cael ei gynal?

Edrychwch eilwaith. Dacw holl Ewrop yn ymgodi mewn cynddaredd yn erbyn y tir santaidd. Y maent yn byddino yn enw Arglwydd y lluoedd. Y mae y groes yn chwifio ar eu banerau, a'r bedd santaidd yw yr arwyddair ddydd a nos. Ond yn mhlith y rhai hyn i gyd, o'r penboethyn a gynhyrfodd Ewrop i ryfel, hyd at y llanc distadlaf yn y wasanaeth, pa faint a gynhyrfid âg ysbryd y gallasai cyfiawnder, heb son dim am gariad, ei amddiffyn! Golygwch fod yr un nifer o ddynion—y miliynau a gyfodasant i ddyfetha eu gilydd, ac i ganlyn dyn a fuasai unwaith yn filwr, a'r pryd hyny yn offeiriad ac yn fynach, yr hwn a adawodd y byd mewn amheuaeth pa un ai proffwyd, gwallgofddyn, ynfyd-ddyn, neu derfysg-flaenor ydoedd,—golygwch, meddaf, eu bod gwedi treulio cymaint o'u heinioes a'u daoedd bydol i daenu ysbryd y Gwaredwr hwnw yr oeddynt yn gwastraffu cymaint er mwyn ei fedd; a golygwch beth pe buasai y fyddin yma yn ddynion santaidd a goleu, yn defnyddio eu galluoedd i wneyd daioni i'w cyd-ddynion, ac i ogoneddu Duw, pa mor wahanol a fuasai y byd erbyn heddyw! Pa faint, dybygech chwi, o'r holl fyd Cristionogol y pryd hyny, a ymdrechasant dan ysbryd ac i ddyben a gymeradwyir gan y byd mewn gwell amser, ac yn neillduol a gymeradwyir gan y nef?

Edrychwch am fynydyn ar y gorchestion y mae trachwant wedi wneyd. Am o gylch pedwar canrif, y mae trachwant dynion, ïe, dynion gwareiddiedig, gwedi bod yn ysglyfaethu ar fywydolion Affrica. Y mae wedi cymeryd meibion a merched Cam, ac wedi eu collfarnu i drueni, anwybodaeth, a chaethiwed. A pha beth yw y canlyniadau? Wyth miliwn ar hugain gwedi eu lladrata o wlad eu genedigaeth! A'r farn yw, fod y cynydd yn bumplyg yn nhŷ y caethiwed er y pryd hyny; neu mewn geiriau ereill, fod yn agos i gant a deg a thriugain o filiynau o fodau dynol ac anfarwol gwedi eu difeddiannu o iawnderau dyn, a thrwy rym cyfreithiol gwedi eu darostwng yn mhell tua sefyllfa yr anifeiliaid direswm! Ond nid yw hyn ond un dull y bu trachwant yn gweithredu. Yn awr, golygwch, beth pe buasai cymaint o amser, o arian, ac o ymdrech, yn cael eu defnyddio i daenu celfyddydau gwareiddgarwch, dysg, a chrefydd, pa fath ddaioni annhraethol a gawsai ei wneyd! Ac ar y diwrnod rhyfedd, pan y bydd y cofrestrwr angylaidd yn darllen hanes y byd hwn, pa mor wahanol fuasai yr olygfa! Os nad yw dynoliaeth wedi ei lwyr golli o blith y trigolion anffodus hyny, nid yw hyny yn deilliaw o herwydd nad yw gorthrymder wedi ei gyfreithloni yn ddigonol, a thrachwant wedi cael caniatâd digon eang i ganlyn ei ysglyfaeth, hyd nes ydyw y bedd wedi dyfod yn nawddle dymunol.

Fy amcan yw ceisio eich dwyn i sylwi ar y camddefnydd a'r camwri echrydus y mae dynolryw yn gyffredin wedi ei wneyd o'r meddwl. Pan y dechreuodd Cristionogaeth ei gyrfa ogoneddus, yr oedd y byd wedi treulio ei holl nerth i geisio darostwng ei hun yn ddigon isel i gofleidio Paganiaeth. Yr oedd y prawf wedi ei wneyd droion nas gwyddom pa faint. Yr oedd yr Aifft, Babilon, Persia, Groeg, Rhufain, a Hindostan, wedi ymdrechu. Yr oedd y naill a'r llall wedi treulio digon o nerth meddwl i adgenhedlu cenedl wrth geisio adeiladu cyfundraeth o Baganiaeth lygredig: a phan yr adeiledid y gyfundraeth, boed ei dull a'i llun yr hyn y bo, yr oedd y genedl wedi treulio ei nerth; a'r canlyniad oedd syrthio a suddo dan effeithiau camddefnyddiad y meddwl. Nid oedd yr un gen-

edd ar wyneb yr holl ddaear, nad oedd yn soddedig dan gamddefnyddiad o'i galluoedd, pan y cafodd yr efengyl afael arni. Yr oedd ein henafiaid wedi eu llethu bron dan bwys y grefydd dderwyddol.

Anghraifft nodedig arall o gamddefnyddiad y meddwl, a gŵyrni dealltwriaeth a chalon dyn, yw yr eglwys Babyddol. Y mae yn anhawdd meddwl na dychymygu y gallesid ffurfio cyfundraeth mor gyflawn ac effeithiol a hon i dwyllo a darostwng yr enaid, y dealltwriaeth, a'r oll o ddyn. Pa faint o feddyliau a raid fod wedi bod mewn cydweithrediad, i gau allan y goleuni nefol, ac i gladdu y manna a fwriwyd mewn cawodydd mor helaeth! Pa fath gyfundraeth! hela holl lyfrau y byd o fewn i furiau y fynachlog; dinystrio holl ysgolion y byd, oddieithr yn y mynachlogydd hyny, y rhai a gynelid i ddysgu i ddynion fod yn fwy ffyrnig ac ysgeler i gyflawni eu dichellion dinystriol; a thwyllo y byd efo arddefodau a ffoleddau gweigion, trwy guddio y Beibl, a brygawthan crefydd mewn iaith annealladwy. A phan y dyrchafwyd yr holl ffieidd-derau hyn i'r goleuni yn amser y diwygiad, pa fath gywreinwaith oedd y cynllun olaf a amcanwyd i fygu y rheswm—y chwiliadlys *(inquisition)!* Ymddenys fel pe buasai uffern wedi defnyddio ei holl rym dyfeisgar i ffurfio llwybr i gau y meddwl dynol mewn tywyllwch Aifftaidd; ac ni bu yr un wladwriaeth Babyddol erioed eto yn ddim amgen na gwladwriaeth isel, anwybodus, ofer-goelus, a gwael. Ond pa faint o feddwl a ddefnyddiwyd, ac a ddefnyddir, i gynal y fath gyfundraeth! A pha golled i'r byd y mae wedi ei hachosi, trwy ddiffodd, mewn tragwyddol nos, y miloedd dirifedi o feddyliau gogoneddus a ddinystriwyd ganddi!

A grewyd dyn er mwyn rhyfel? A greodd ei Wneuthurwr ef y llygad, er mwyn iddo anelu yn well ar faes y gwaed? A gynysgaethodd efe ef â dyfais, fel y gallai ddarganfod ffyrdd i ddinystrio wrth y miloedd? Ac a blanodd efe syched yn ei enaid, fel y gallasai ei dori â gwaed dynion? Pa wyddoreg neu gelfyddyd a all ymffrostio o fwy o fanylrwydd, o fwy yn ei dysgu, yn ei dyrchafu mewn penboethni, ac yn ei chanmol mewn cân? Eisteddodd athrylith erioed

wrth draed duw y rhyfel, a gwaghaodd ei holl nerth a'i gyfoeth i barotoi aberthau godidog iddo. Nid yw y meddwl dynol erioed wedi gwneyd y fath orchestion a phan yn gweithredu ar olygfeydd gwaedlyd. A fu medr erioed yn fwy gweithgar a llwyddiannus, a barddoniaeth erioed yn llosgi yn fwy tanbaid na phan yr oedd fflamau Caerdroia yn goleuo ei dalenau? A oes rhyw gerddoriaeth yn fwy effeithiol na hòno sydd yn arwain dynion i ryfela? A gyfrenir rhyw anrhydedd mor rhwydd, ac a berchenogir o mor rhad, a'r anrhydedd a ennillir trwy ymladd am ychydig o oriau? Edrycher ar y dyn hwnw oedd, ychydig yn ol, yn syndod i'r byd, yn galw i ryfel, yn byddino, ac yn gwastraffu bron holl drysorau Ewrop, am ddeuddeg neu bymtheg mlynedd. Pa faint o luoedd o feddyliau a ddarfu iddo gasglu at y gwaith llofruddiedig, sef rhyfela —meddyliau a allasent fendithio y byd â llênyddiaeth, celfyddyd, ac ysgolion, ac âg efengyl y tangnefedd, pe na ŵyrdroisid hwy oddiwrth wir ddybenion bywyd!

Dywed un awdwr athronaidd, wrth ysgrifenu ar y mater, fel hyn: "Gadewch i ni olygu, er mwyn egluro y pwnc, fod holl gynlluniau ac amcanion uchelgais, creulonder, a dichell, gwedi eu dileu oddiar ddalen hanesiaeth; ac yn gyferbyn âg enwau yr ymdrechwyr gwaedlyd, y rhai ag y mae y byd wedi edrych arnynt er's oesoedd gyda syndod, fod ymdrechion gwir Gristionogol gwedi eu hysgrifenu mor nodedig a goruchel, ac yna ofyn pa fath wahaniaeth a fuasai yn y golygfaoedd a ganfu y byd, a pha mor wahanol a fuasai y canlyniadau! Buasai Alecsander wedi ennill buddugoliaethau yn Persia llawer godidocach nag eiddo Granicus ac Arbela; buasai wedi teithio dros yr India, fel Buchanan, ac wylo am fyd arall i'w ddwyn dan lywodraeth yr Iachawdwr; ac, wedi dychwelyd i Babilon, buasai farw, fel Martyn, yn aberth i aiddgarwch Cristionogol. Buasai Caisar wedi gwneyd Llydaw a Phrydain yn ddeiliaid i'r ffydd, ac wedi croesi y Rubicon efo ei lengau apostolaidd, gan wneuthur y Rhufeiniaid yn rhyddion yn yr Arglwydd; buasai yn ragredegwr i Paul, ac wedi gwneyd hanner ei waith. Buasai Chalemagne yn Luther. Buasai Charles o Sweden yn Howard; ac yn ei ymdaith o'r Baltic i'r

Eucsine, fel angel trugarog, cwympasai, pan ar ryw neges ddaionus; ac wrth gyfrif ei ddyddiau wrth y gweithredoedd a wnaethai, cawsai farw, fel Mills, yn niwedd hiroes o rinwedd ac elusengarwch. Buasai Hume wedi egluro dirgelion duwinyddiaeth, ac amddiffyn, fel Edwards, y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint."

Yr ydym yn hòni nad yw yr oes hon tu ol i'r un oes a fu erioed, am wir egwyddor foesol a theimladol, a gweithredoedd dyngarol ac haelionus. Ond pa faint o hyn sydd yn y byd yn gyffredinol? Pan y mae cymylau yn ymgasglu yn y ffurfafen wladyddol, a rhyfel yn bygwth cenedl, pa fodd y derbynir y rhagarwyddion? Pa faint sydd yn troi o'r neilldu i wylo, ac yn ymbil rhag yr euogrwydd, y gwae, a holl ddrygau a thrueni rhyfel? Y mae y rhan fwyaf o lawer yn meddwl fod yr anrhydedd a ennillir, efallai, trwy ychydig o ymdrechion gwaedlyd, yn ddigon o dâl am y gost, y moesau, y bywydau, a'r dedwyddwch sydd yn rhaid eu haberthu wrth anturio yr oruchafiaeth. Gadewch fod y genedl yn rhuthro i ryfel, er mwyn rhyw bwynt ac enwogrwydd. Sylwch ar y trigolion pan y maent yn ymgasglu, swp ar ol swp, mewn llawn awydd a phryder, fel pe baent mewn dysgwyliad dwys i glywed yr arwyddsain i'w galw i'r farn. Y maent yn dysgwyl am glywed y newydd cyntaf o faes yr ymladdfa, lle y mae anrhydedd y genedl wedi ei gyngwystlo. Nid oes yr un newydd a ddaeth erioed o'r nef, wedi peri cymaint o lawenydd iddynt a chlywed fod un llong wedi gorchfygu neu soddi un arall!

A oedd o yn beth rhyfedd ac annghyffredin, fod un redegfa ceffylau wedi casglu yn nghyd dros hanner can mil o drigolion, a hyny yn nghanol cenedl Gristionogol? A oeddent wrth hyny yn ymddwyn mor groes i nodweddiad ac arferion y bobl yn gyffredinol, fel ag i beri rhyw argraff dwys ar deimladau moesol y genedl?

Dacw genedl o ddynion yn ymddangos ar chwareufwrdd amser, ac yn cael y byd mewn tywyllwch, anwybodaeth, a phechod. Treuliant eu bywyd i ennill yr anrhydedd gwâg a gollir fel tarth, ac i gasglu yr ychydig gyfoeth a gyfrenir gan ludded a phryder, ac

yna ciliant ymaith. Yn y cyfanswm, nid yw y genedl yn ymdrechu nac yn gofalu am effeithio yn ddaionus ar y byd. Nid ydynt yn meddwl am adael y byd mewn gwell cyflwr na'r un y cawsant ef.

Y mae y byd er's miloedd o flynyddoedd wedi cysgu mewn anwybodaeth, neu yn soddedig mewn tywyllwch caddugawl. Y mae cenhedlaethau gwedi codi y naill ar ol y llall, ac wedi plygu ac addoli yr haul, pren, careg, ymlusgiad, a lluaws o wahanol wrthddrychau, ac yna yn myned ymaith. Ond a ydyw y gwastraff dirfawr, y golled annhraethol hon dros amser a thragwyddoldeb, yn blino a gofidio dynolryw? A ydyw y byd yn gweithio er mwyn eu hadferiad a'u rhyddid? Na, na! nid oes ond rhan fechan, hyd yn nod o'r byd Cristionogol, wedi edrych ar y trueni gyda theimlad dyngarol. Y mae y rhan fechan yma yn gwneyd rhyw ychydig ar eu rhan. Y maent yn dwyn efengyl Duw, a chyda hi gelfyddydau gwareiddgarwch, goleuni ysgolion, cysegriant y sabboth, ac effeithiau a gobeithion anfarwoldeb, i eithafoedd y ddaear. Ond pa fodd yr edrychir ar yr ymdrechion hyny gan gyffredinolrwydd y byd? Pa le y mae y cydymdeimlad â chenhadwr y groes, pan y mae yn myned wrtho ei hunan, a'i fywyd megys yn ei law, i dywyll-leoedd y ddaear, y rhai sydd yn llawn o drigfanau trawsder? Y mae y byd yn chwerthin am ben y dyb y gellir adferyd y ddaear; ac, er fod y llewod a'r llewpartiaid yn cael eu dofi yn feunyddiol, a'r sarff wenwynig ei rhiniaw, ni chredir fod nodweddiad moesol byth i gael ei wella. Ymddygir at gynlluniau ac amcanion y genhadaeth, fel gwallgofrwydd; ac edrychir ar y Beibl mor ddieffaith ag athroniaeth oerllyd y byd, a phregethu heb ddim nerth ond y grym areithyddol a berthyn i'r tafod sydd yn traethu. Ond y cwestiwn yw, pa fodd y mae y bobl yn gyffredin yn penderfynu mewn agwedd mor oer a difater, nad ellir byth wella y byd, a phawb yn myned at ei alwedigaeth, fel pe na bae o un pwys na chanlyniad? Y rheswm yw am fod dynolryw mor dra hunanol: mor hunanol, meddaf, fel nad yw sefyllfa y byd sydd yn gorwedd mewn drygioni yn eu cyffroi yn y mesur lleiaf—a bod cyffredinolrwydd y byd wedi methu, ac yn methu prif ddybenion bywyd.

Nid oes dim yn wir fawr mewn dyn, ond cyn belled ag y mae wedi ei gysylltu â Duw. Yr unig ddoethineb a grybwyllir am Sercses yw, y sylw a wnaeth wrth edrych ar ei fyddin, na fyddai cymaint ag un o'r llu dirfawr fyw yn mhen y can mlynedd. Ymddengys mai rhyw dywyniad dygwyddiadol ydoedd o wir oleuni a theimlad. Gellir cynwys hanes holl enwogion y Beibl mewn gair,—hwy a rodiasant gyda Duw, ac a ufyddhasant i'w ewyllys yn mhob peth: ac nid all neb o nodweddiad gwahanol, gael ei alw yn fawr gydag un math o briodoldeb.

Edrychwch ar ddynion yn unigol. Er anghraifft, fe dynir eich sylw at ryw ddyn yn un o'n trefi porthladdol. Y mae yn cerdded yn gyflym a chrynedig, yn ol ac yn mlaen, a phob mynyd y mae yn edrych draw yn mhell i'r cefnfor tywyll. Y mae yn dysgwyl i'r llong hòno ddyfod i'r golwg sydd â'i faner ef yn chwifio ar frig yr hwylbren. Y mae wedi cychwyn i'r daith er's tair blynedd, ac yn awr y mae yn dychwelyd adref yn drwm-lwythog â chyfoeth. Am yr holl amser yma, y mae wedi ei chanlyn yn ei fyfyrdod, ddydd a nos: pan yr oedd yn dywyll—pan y rhuthrai yr ystorm—pan udaï y gwynt—meddyliai am ei long; ac ni bu ei harlun o'i feddwl gymaint ag un awr gron pan yn ddeffro. Fe aeth ei holl enaid ef gyda hi; ac eto, yn yr holl amser, ni anfonodd gymaint ag un weddi at yr hwn sydd yn dal y gwynt a'r tònau yn ei law; ac eto hefyd, pan y mae ei fynwes yn ymferwi o lawenydd yn ngwyneb ei dychweliad llwyddiannus, nid yw yn meddwl dim am ddyrchafu ei ddiolchgarwch at Dduw; am ddim gweithredoedd trugarog i'w cyflawni; nac yn ystyried dim ei fod yn gyfrifol am ei feddiannau. A ydyw y fath ddyn, yn byw er mwyn cyfoeth yn unig, yn amcanu at wir ddyben bywyd?

Edrychwch ar un arall. Y mae yn cerdded yn ol ac yn mlaen yn ei ystafell; ei dalcen yn grebychlyd; ei wedd yn wywedig; ei lygaid yn soddedig i'w ben; ac yn llawn o bryder trafferthus. Edrycha allan trwy y ffenestr gan ddysgwyl ei genhadwr, ac yna syrth eilwaith i ddwys fyfyrdod. Braidd y gellir credu fod dim llai nag iachawdwriaeth ei enaid a allai achosi y fath bryder. Gwledyddwr *(politician)* cyfrwys yd-

yw, a dysgwyl clywed y mae am lwyddiant rhyw gynllun newydd y mae yn awr wedi bod yn ei roddi ar waith, gan obeithio y cynorthwyir ef trwy hyny i ddringo esgynlawr uchelgais. Y mae yn llygadu bob mynyd ar y wladwriaeth; yn sylwi yn fanwl ar bob cyfnewidiad; ac yn teimlo carc *(solicitude)* a raid fod, ar amserau, yn dra dirboenus ac annyoddefol. Y mae miloedd o'r fath ddynion, a ddefnyddiant ddynion fel offerynau, yn ddiystyr o bob mesur, os gallant hwy ddim ond cyrhaedd eu prif ymgais—dyrchafu eu hunain. A ydyw y fath ddynion yn amcanu at brif ddyben bywyd?

Edrychwch eilwaith. Dyna ddŷn â chwaeth ddiwylliedig, a theimladau têr. Y mae ei enaid yn llawn o farddoniaeth, a'i deimladau yn fywiog i bob swyn ddaearol. Gall edrych i fyny ar wyneb yr wybren hwyrol, a sylwi ar heirddliwiau y wawrddydd, gan ryfeddu eu prydferthwch; ond nid yw ei enaid byth yn edrych i fyny trwy natur at Dduw natur. Fe all gymdeithasu yn hyfrydol gyda pherffeithderau y byd naturiol, ond nid yw yn cymdeithasu dim gyda Thad yr ysbrydoedd. Ei ddifyrwch hefyd yw cerddoriaeth. Fe ŵyr pa fodd y mae ymweithio i felysder seiniau peroriaethol. Ond er hyn i gyd, y mae yn ymgadw y tu allan i drothwy teml Dduw, ac nid oes ynddo awydd i fwyta ymborth angylion. Y mae y drain sydd yn tyfu ar Sinai yn anhyfryd i'w enaid ef; ond nid yn llai felly na'r rhos sydd yn blaguro ar Galfaria. Y mae yn byw, yn cynllunio, ac yn gweithredu yn gymhwys fel y gwnai pe na bae yr un Duw yn bod uwch ei ben, gerbron yr hwn y mae ei feddyliau yn noeth bob amser. A ydyw y fath ddyn—yr ysgolhaig prydferth—yn cyflawni y dyben i ba un y crewyd o? A phe bae pob dyn diwylliedig yn ymddwyn yn hollol fel y mae ef, a chwanegai y byd mewn gwybodaeth, rhinwedd, neu grefydd? Fe grewyd dyn i ddybenion uchel a godidog—y cyfryw ag y mae angylion yn ymhyfrydu ynddynt, ac mewn cymhariaeth â hwy y mae pob gwrthddrych arall yn syrthio i ddiddymdra, a phob mwyniant arall mor ddiwerth a dirmygus a dom.

Y mae pob dyn ieuanc sydd yn darllen y tudalenau yma yn dysgwyl bod yn weithgar, a dylanwad ganddo,

a chyrhaedd rhyw wrthddrych teilwng o'i ymdrechion. Fe fydd y gwrthddrych hyny yn un o'r pedwar canlynol: difyrwch, cyfoeth, enw, neu wir ddyngarwch.

Ni chaf aros ar y cyntaf o'r rhai hyn: canys nid oes angen am un rheswm i ddangos a phrofi pa mor wael ac annheilwng i'w ddysg, i'w gyfeillion, ac iddo ef ei hun, yw ymddygiadau yr hwn sydd yn darostwng ei hunan trwy wneyd blys a nwydau ei natur anifeilaidd yn brif amcan bywyd, ac sydd yn edrych atynt am ei brif ddedwyddwch. Os ydych am sicrhau eich diraddiad a'ch darostyngiad am amser a thragwyddoldeb, a dinystrio pob gobaith am dawelwch, mawredd, a defnyddioldeb, mi a allaf ddweyd wrthych pa fodd y mae cyflawni y cwbl. Ni fydd genych ddim i'w wneyd ond meithrin eich chwantau, ac ymollwng gyda thueddiadau eich nwydau; yfed o'r dyfroedd melys sydd yn annghyfreithlawn, a bwyta yn y dirgel o'r bara gwaharddedig, a chwi a ellwch fod yn sicr a phenderfynol eich bod wedi dewis ffordd sydd yn uniawn —ond uniawn i ddinystr a cholledigaeth.

Nid yw ymdrechion am gyfoeth mor ddirmygus; ond nid ydynt yn deilwng o enaid anfarwol. Fe all dyn erlynu cyfoeth, a meithrin hunan ar yr un pryd, a hyny gyda chalon a fyddo yn addoli yr hyn a ennillir; a phe gallai wybod y parhäai yr hyn y mae yn ei gasglu yn mherchenogaeth y teulu am ganrifoedd, ac y cynyddai yn feunyddiol, addolai yn wresocach fyth. Ond gadewch i mi ddweyd wrth yr efrydydd yn y fan yma, os cyfoeth yw eich gwrthddrych, yr ydych wedi methu y ffordd. Nid oes yr un llwybr yn y wlad nad ellwch gyrhaedd y nôd yn hawddach na thrwy efryd. Nid all yr un efrydydd ennill cyfoeth, mewn amgylchiadau cyffredin, heb grebachu ei holl enaid a meddwl i'r fath raddau a ddinystria bob hawl i fod yn efrydydd.

Ond yr hudoliaeth gryfaf a fydd yn barod i'ch goddiweddyd, fydd byw a gweithredu dan ddylanwad uchelgais, ac i werthu eich amser, eich ymdrechion, a'ch hunan hefyd, er mwyn clod dynion. Efallai nad oes yr un ffrwd ddaearol mor felys a'r un sydd yn rhedeg o'r ffynnon yma. Ond ychydig a wyddoch am y peryglon sydd yn amgylchu y dyn a ŷf o honi—y saethyddion sydd yn llechu yn y cadbwll. Y mae

cymaint o bethau yn lleihau ac yn difa y boddhad a gyfrenir gan uchelgais, fel, pe na bae yr un nôd uwch a godidocach i'r bywyd, byddai yn beryglus amcanu ato. Pa faint a ddechreuasant eu bywyd mewn gobeithion goruchel, a dysgwyliadau diderfyn bron, y rhai, mewn ychydig amser, a syrthiasant mewn digalondid a difaterwch, o herwydd iddynt weled fod y pren yn uwch ar y bryn nag y tybiasant, a'r ffrwyth yn anhawddach ei gyrhaeddyd! Ond golygwch fod dyn yn llwyddiannus, a'i ddymuniadau yn dechreu cael eu cyflawni. Ar eich dynesiad ato, chwi a ganfyddwch frychau na welid o bell, a beiau a guddid gan belydr cyntaf ei nodweddiad. Nodir y gwendidau hyn, dadseinir hwy, mwyheir, a lluosogir, nes yr ymddengys yn rhyfeddod fod neb yn gallu bod o nodweddiad mawr dan y fath lwyth o waeleddau. Y mae y rhai hyn yn peri blinder: y maent yn debyg i haid o gŵn bychain yn eich canlyn trwy y dydd, ac yn peri aflonyddwch i chwi y nos hefyd. Ond fe ddichon i chwi oddef hyn. Chwi a ellwch fyw er i'ch holl ffaeleddau gael eu taenu yma a thraw. Ond beth os rhoddwch gymaint ag un cam gwallus wrth ddringo y bryn—pa le y byddwch wedi hyny? Pa faint o'r rhai hyny sydd gwedi edrych ar glod dynion bron mor werthfawr a'u bywyd, sydd gwedi gweled eu holl obeithion a'u dysgwyliadau yn cael eu chwalu yn chwilfriw, a hyny yn more eu hoes, trwy roddi rhyw un cam tuag at gyrhaedd eu hamcan, ond bod hwnw, mewn gwirionedd, yn gam gwallus! Fe dorodd y droell ar unwaith, a'u holl amcanion gyda hi, a'u calon hefyd efallai. Ond nid hyn yw y gwaethaf sydd o'ch blaen, os ydych yn byw er mwyn clod. Nid all clod am ddim byd daearol barhau dros fawr o amser. Byrhoedlog ydyw bob amser; ac y mae llawn cymaint o waith cadw a chynal clod, ag ydoedd ei ennill ar y cyntaf. Nid yw yn llai o orchwyl i chwi gadw yr enwogrwydd y buoch yn llafurio am flynyddoedd am dano, nag ydoedd i'w gyrhaedd ar y cyntaf. Os na fydd yr enwogrwydd hwnw yn cynyddu yn barhaus, fe fydd yn sicr o ddechreu llaesu a gwywo yn fuan. Rhaid i'ch gweithredoedd goraf fyned yn well o hyd; a'ch ymdrechion uchaf fyned yn uwch yn feunyddiol,

neu ddechreu syrthio; ac wedi y cwbl, gwnewch yr hyn a fynoch, a chystal ag y mynoch, nid ydych yn y diwedd ond yn unig myned i gyfarfod â dysgwyliad. Dacw ddyn yn ysgrifenu llyfr; ei ymdrech cyntaf ydyw. Nid oes dim dysgwyliad am dano. Fe'i derbynir o yn groesawus, a chyda chanmoliaeth hefyd. Dacw ef yn ysgrifenu un arall; ond nid yw i gael ei fesur wrth yr hyn a wnaeth o'r blaen. Rhaid iddo gael ei fesur wrth safon y farn gyffredin; a byddai y derbyniad a fyddai yn ddigon i ddyrchafu awdwr newydd, yn ddinystr iddo ef. Rhaid i chwi dalu yr holl dâl yma os byddwch byw er mwyn clod eich cyd-ddynion. Ni chyfranant o hono hyd y gallant beidio; a galwant hyny yn ol mor fuan ag y cânt adeg. Nid yw ymdrechion goruchel yn ddim amgen na dylyniad o gynhyrfiadau eiddigeddus, o ofnau difaol, o ddysgwyliadau goruchel, o ddymuniadau diorphwys, ac o siomedigaethau chwerwon. Y mae rhyw ddiffyg parhaus yn yr enaid—rhyw ymgyrhaeddiad at awyr gwâg, ac at oleuo rhyw ddymuniadau newyddion yn y galon.

Y mae gofidion ereill, a siomedigaethau sicr, yn cyfarfod â phawb sydd yn byw er mwyn enw da ei gydddynion, ag sydd yn hollol anwybodus nes iddynt eich goddiweddyd; a phan yr ymaflant ynoch, y maent yn hynod o drallodus. Y mae yr awydd am glod, cyn hir, yn myned yn wynawg, ac yn gryfach, gryfach. I'r un graddau ag y bydd eich dymuniad am glod ac enw da gan eich cyd-ddynion, y bydd eich siomedigaeth yn ddwys a gofidus pan attelir y cyfryw glod. Os yw clod yn eich dyrchafu ac yn eich cynhyrfu, fe fydd attaliad ar y clod hyny yn iselu eich ysbrydoedd, ac yn difa eich cysur, i'r un graddau. Fel hyn, ni fyddwch ond megys pêl-droed rhwng dynion, i'ch taflyd lle y mynant hwy, a byddwch yn nwylaw pob math o ddyn: canys fe all pob dyn ddwyn eich cysur os myn, ac y mae pob dyn yn barotach i feio nag i ganmawl.

Un peth eto. Os rhoddwch eich bryd ar ganmoliaethau dynion, chwi a ganfyddwch, os derbyniwch hwynt, na fydd yn rhodd, ac nad all gyfranu yr un dedwyddwch gwirioneddol i chwi, tra y byddai eu hattal yn sicr o'ch annghysuro mewn modd penodol. Y mae y dyn uchelgais a fyddo wedi ei siomi, yn dru-

enus; nid o herwydd fod ei golled yn fawr, ond o herwydd fod ei ddychymyg am flynyddoedd wedi bod yn ei wneyd yn fawr iddo ef. Mi a allwn eich arwain at fedd un dyn hynod o obeithiol, a fu byw er mwyn clod yn unig. Y gwrthddrych cyntaf y sefydlodd ei olwg arno ydoedd cyflawni swydd gyhoeddus benodol. I gyrhaedd hyn fe lafuriodd ddydd a nos. Yr oedd yn deilwng yn mhob ystyr; ond fel yr oedd ar fin cael ei ddewis iddi, fe deimlodd un o'i brif gyfeillion yr effeithiau hyny yn ormodol ar ei grach-gynlluniau hunanol ei hun; gan hyny, fe ddaeth i'r cyfle yn yr adeg, ac a attaliodd y dewisiad. Fe ddychwelodd y dyn tylawd tuag adref yn isel a thorcalonus. Y mae yn wir nad oedd colli yr etholiad hwnw o un pwys neillduol; ond yr oedd ef wedi myfyrio a sefyll cymaint uwch ei ben, fel yr oedd o ganlyniad annhraethol yn ei olwg ef. Fe'i gwywodd yr ergyd ef, ac mewn ychydig o fisoedd fe syrthiodd i'r bedd yn ysglyfaeth i siomedigaeth. A ydyw hyn yn amcan teilwng o ddyn? Ai hyn yw dyben goruchel bywyd ar y ddaear? Un ysgrifenydd enwog, yr hwn oedd yn byw er mwyn clod, a fu byw nid yn unig yn hwy na'i glod, ond hefyd yn hwy na'i gyneddfau meddyliol; a llawer awr a dreuliodd yn ei hen ddyddiau methiantus i wylo am nad allai ddeall y llyfrau yr oedd wedi eu hysgrifenu pan yn ieuanc.

Ond tra yr ydwyf wedi amcanu dangos yn fyr nad oes modd i chwi gyrhaedd dyben bywyd yn un o'r ffyrdd a soniwyd, rhaid i chwi ddeall nad oes dim yn ysbryd yr efengyl sydd yn taflyd yr enaid megys yn ol arno ei hun, heb roddi unrhyw wrthddrych iddo ar ba un y gall ddefnyddio ei gyneddfau. Os teflir cariad at ddifyrwch, cariad at gyfoeth, a chariad at glod dynol o'r galon, nid ydym yn bwriadu gadael yr enaid yn oer ac amddifad, heb ddim i'w gysuro, nac i gynhyrfu ei deimladau cynhesaf, santeiddiaf, a mwyaf godidog. Na, pell ydym oddiwrth hyny. Ond fy nymuniad yw, fod i chwi ffurfio eich cynlluniau yn y fath fodd, a chanlyn y gwrthddrych yr amcanwch ato yn y fath fodd, ag y byddoch yn mwynhau boddlonrwydd a thawelwch tra yn ei ddylyn, a chydwybodolrwydd nad ydych chwi yn byw yn ofer, tra y byddo

eich enaid yn ymagor yn mhob cyneddf nefol a goruchel, ac yn ymbarotoi gogyfer a sefyllfa sydd wedi ei bendithio â phur oleuni anfarwoldeb.

Y mae yn angenrheidiol i chwi ymddwyn tan ddylanwad egwyddor ddigon eang; a arweinio bob amser, yn mhob amgylchiad; a'r hon a fo yn llyncu yr holl enaid. Dylai fod y fath ag a arweinia i safon uchel a godidog mewn gweithred a theimlad, ac a gynhyrfa ymdrechion mwyaf gorchestol yr holl ddyn, gorff ac enaid, mewn anturiaethau a wnant ddaioni i ddynion yn gyffredinol. Nid oes ond un annogaeth yn meddu y cyneddfau hyn; a hyny ydyw, amcanu at ogoniant Duw, a gweithredu mewn cynllun fo yn cynwys tragwyddoldeb yn gystal ag amser. Yn ngoleuni y Beibl, mewn dymuniad i wneyd yr hyn y mae Duw yn ewyllysio i chwi wneuthur, chwi a fyddwch yn sicr o gyflawni prif ddyben bywyd.

Y mae yn naturiol i chwi ofyn yn y fan yma, A ydyw o yn angenrheidiol bod â'r safon goruchel o ymddwyn er gogoniant Duw, ger eich bron yn feunyddiol? Yr wyf yn ateb, Ydyw yn ddiamheuol.

Chwi a wyddoch fod genym allu i ddewis unrhyw wrthddrych i roddi y galon arno, ac i edrych ar y cymhelliadau hyny a fyddo yn angenrheidiol i dynu y serchiadau at y gwrthddrych hwnw; ac yna y mae genym allu i droi holl rym yr enaid i gyrhaedd y cyfryw wrthddrych. Yr oedd Demosthenes yn ŵr ieuanc uchelfrydig iawn. Bernir nad oedd ganddo fawr iawn o egwyddor; ond fe sefydlodd ei fryd ar enw a chlod, ar yr enwogrwydd hyny nad allasai dim ei gynyrchu ond ffraethineb areithyddol. Yr oedd y gwrthddrych a amcanai ato yn uchel, yn wir: ond ni thrôdd ei olwg oddiwrtho yr un mynyd. Fe aeth dros bob rhwystr, ïe, hyd yn nod y rhwystrau hyny ag yr oedd natur wedi eu taflyd ar ei ffordd. Fe roddodd ei galon, ei holl enaid i geisio enwogrwydd a pharch; ac fe ddringodd fynydd y buasai y rhan fwyaf yn llithro i lawr. Dywed Cicero, ei ganlyniedydd, fod ganddo safon o fawredd o'i flaen ag oedd yn anfesuredig—yn anfeidrol. Fe benderfynodd yntau sefyll wrth ochr Demosthenes. Fe lafuriodd; fe ymdrechodd; fe ennillodd y fuddugoliaeth; ac y mae yn sefyll, efallai, mor uchel

a'i feistr ar fryn enwogrwydd. Yr ydym yn son yn aml am hunan-ddysgawdwyr enwog; ac am enwogrwydd goruchel, a gweithredoedd rhyfeddol. Beth a'u gwnaeth yn fawr? Beth a wnaeth Buonaparte yn ddychryn y byd? fe osododd ei olwg ar lywodraeth Ewrop o leiaf, ac fe ruthrodd at hyny fel cawr; a buasai wedi cyrhaedd y nôd, oni buasai fod Un Hollalluog yn y nefoedd, yr hwn a all beri fod y cryf yn ddinerth. Fe wnaeth ei hun yn eilun iddo ei hunan, ac a benderfynodd ddwyn yr holl fyd i blygu iddo.

Chwi a wyddoch y gall un dyn osod ei galon ar uchelgais, a breuddwydio uwch ben ei gynlluniau, hyd nes y llyncont bob peth arall; y gall un arall osod ei galon ar gyfoeth; ac arall ar bleserau cnawdol; a phob dyn ar y gwrthddrych a fo yn fwyaf cydnaws âg ef ei hun. A ellwch chwi amau nad ellwch, trwy gymhorth yr Arglwydd, wneyd gogoniant Duw yn brifnod eich bywyd? byw i hyny ac er mwyn hyny? bod yn uchel a nerthol mewn ymdrechion? bod yn enwog a dysglaer mewn santeiddrwydd personol, a chael delw Duw yn argraffedig ar eich calon?

"Ai fy nyledswydd yw gwneyd ewyllys Duw yn brif safon, neu reol, fy mywyd?" Gofynwch i'ch rheswm eich hun. Beth a ddywed ef? "A roddaf fi fy nghalon i geisio cyfoeth, a thrysorau y ddaear?" Na; fe gymer adenydd ac a eheda ymaith. Fe ddaw angau yn fuan, ac a ymafla ynoch â chrafangiad mor gadarn, fel y bydd yn rhaid i chwi ollwng eich holl gyfoeth. Cofiwch na bydd y sawl a "brysuro i fod yn gyfoethog, yn ddigerydd." Ond y mae yr enaid yn ymeangu mewn dymuniadau; y mae yn sychedu, ac yn ymddyrchafu; ac a ydych chwi yn tybied y digonir o â'r ychydig gyfoeth a ellwch chwi gasglu? a wna yr ychydig amser sydd yn eich meddiant ddyddanu yr enaid yn nhragwyddoldeb? Na: y mae y sach i ba un yr ydych yn casglu eich aur a'ch arian, yn un dyllog. Fe dry pob afon sydd yn rhedeg dros wely o aur, yn waed, fel afon yr Aifft.

Gofynwch i reswm, "A roddaf fi fy nghalon i geisio anrhydedd? i geisio sylw dynion? at y weithred yma, neu yr ymdrech arall?" Mor dylawd a fydd eich tâl am eich llafur! Os llwyddwch i dynu sylw rhyw

ddyn arnoch, fe genfigena *ef* wrthych. Ac os methwch, byddwch *chwithau* yn bur siomedig. Nid oes yr un tŷ ar draeth amser, na fydd i'r tònau ei olchi ymaith; nid oes yr un llwybr yma na fydd i draed siomedigaeth ei gerdded; ac nid oes yr un nawddle na fydd i flinderau a gofidiau ei yspeilio. Y mae cartref wedi ei barotoi i'r enaid, ond nid ellir ei gyrhaedd ond yn unig yn ffordd Duw; ni agorir ei ddrysau i neb arall.

Gofynwch i'ch cydwybod hefyd, Beth y mae hi yn ddweyd yw prif ddyben bywyd? Gwrandewch ar ei llais yn ystafelloedd eich calon. Hi a ddywed wrthych nad oes ond un ffrwd bur, a hòno yn rhedeg o orsedd Duw; ac nad oes ond un amcan goruchel a theilwng i ysbryd anfarwol, a hyny ydyw, cyrhaedd cymdeithas a nawdd Duw, fel y gallo yr enaid ehedeg dros y bedd heb ddim ofn, arswyd, na dychryn. Nid oes ond un llwybr yn myned trwy y byd, a'r sydd yn oleu, yn ddiogel, ac yn anrhydeddus; sef y llwybr a nodwyd gan Iesu Grist yn ei air, ag sydd yn arwain i ogoniant. Gadewch i gydwybod lefaru, pan yr hudir chwi i wastraffu diwrnod neu awr, neu i gyflawni unrhyw bechod gwybodus, neu esgeuluso unrhyw ddyledswydd wybodus, a hi a'ch argymhella trwy holl annogaethau goruchel a santaidd y byd tragwyddol, i fyw i Dduw, i roddi eich holl alluoedd i'w wasanaeth, ac i geisio ei anrhydeddu yn mhob peth a wnewch.

Yn awr, fe oddefa y darllenydd ieuanc i mi ddwyn gerbron yr annogaethau a ymddanghosant i mi, y dylent orphwys ar y meddwl, i'w ddwyn i fyw fel hyn, gan wneyd gogoniant Duw yn brif ddyben bywyd.

Y mae yn beth naturiol i ni hoffi cael yr enaid wedi ei lenwi. Yr ydym yn synu wrth edrych ar ael y bryn, yr hwn sydd yn crogi megys uwch ein penau; ac y mae y rhyfeddod sydd yn llenwi yr enaid yn hyfryd. Yr ydym yn synu wrth edrych ar y môr cynddeiriog yn treiglo ei dònau nerthol, ac wrth wrando ar ei lais trystfawr yn ateb yr ystorm sydd yn crogi uwch ei ben; yr ydym yn teimlo aeth o'n mewn, ac y mae arddunìant yn cael ei gynhyrfu yn y meddwl. Felly y mae gyda y dymuniadau. Y mae rhyw hyfrydwch annysgrifiadwy mewn cael yr enaid wedi ei

lenwi â dyben mawr a goruchel—y cyfryw ddyben a all lyncu yn gyfreithlawn holl deimladau y galon, a chyneu holl ddymuniadau yr enaid. Pwy erioed a ffurfiodd gartref digon perffaith i foddhau dymuniadau yr enaid? Gan bwy erioed y bu digon o gyfoeth neu anrhydedd, os hyny fyddai y gwrthddrych? Pwy dorodd ei syched erioed wrth yfed yma? A phwy erioed, y meddiannwyd ei galon gan wrthddrych daearol, nad oedd digon o le yn ei ysbryd i aflonyddwch, dymuniad am gyfnewidiad, a gofid a chythrudd yn yr ymdrech? Ond nid felly y mae pan y mae gogoniant Duw yn llanw yr enaid, a phan y mae y llygaid gwedi eu sefydlu ar hyny yn brif ddyben bywyd. Chwi a ellwch fyw yn agos ato, a thynu yn nês ato yn feunyddiol; ac nid yw yr enaid yn teimlo cenfigen, eiddigedd, neu siomedigaeth, wrth ddynesu at wrthddrych ei ddymuniadau. Y mae y rhai sydd yn agos at yr orsedd yn llawn o'r un meddwl yma,—Pa fodd y gallwn ni wneyd mwyaf er gogoniant yr Hwn sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd? Nid oes dim cynlluniau bychain, dim syniadau ffril, na dim gofalon distadl yn cael lle yn eu mynwesau; canys y maent yn gyflawn eisioes.

Pwy a'r nad yw yn teimlo y baich o bechod, i raddau mwy neu lai? Gwnewch Dduw yn wrthddrych bywyd, ac ni pharhewch chwi ddim fel arferol. Y mae gair y bywyd yn cael ei dagu gan ofalon, ei gau allan gan uchelgais, a'i drin yn ddirmygus pan y mae yr enaid yn ymgyrhaedd at fwyniant amserol. Nid oes gan yr hudwr oruchafiaeth mor lwyr arnoch a phan yr ydych yn llenwi eich calon â'r byd hwn, ac yn byw er mwyn ei wobrwyon. Ond nid felly y mae pan yr ydych yn byw i'ch Crëwr. Yn ofer y darfu i'r hudwr gynllwyn o amgylch yr Iachawdwr, i gruglwytho ei hudoliaethau; methodd â chael dim lle ynddo—dim cymaint ag i un hudoliaeth. A ydych chwi byth yn gofidio yn niwedd y dydd, eich bod wedi syrthio yma a thraw yn ystod y dydd?—fod eich calon yn oer ac ofnus wrth geisio gweddio?—fod cwmwl tywyll yn cuddio rhyngoch a Haul y bywyd? Pan y mae y galon yn cael ei llenwi â da, y mae y drwg yn cael ei gau allan.

Y mae arnoch angen egwyddor a'ch tuedda i fod yn fywiog o blaid daioni eich cyd-ddynion. Fe ddichon i'ch rheswm a'ch cydwybod ddangos yn amlwg i chwi y dylech wneuthur daioni i'ch cydgreaduriaid; ac weithiau fe'ch cynhyrfa hyn chwi at waith; ond ni fydd y dylanwad yma yn ddigon sefydlog a digyfnewid. Y mae arnoch chwi angen egwyddor a'ch ceidw yn fywiog at eich dyledswydd bob amser. Ni fydd eich dyddiau ond ychydig ar y ddaear. Rhwng pob codiad a machludiad haul, y mae lluaws yn syrthio i dragwyddoldeb. Fe ddaw eich tro chwithau yn fuan. Chwi a fyddwch yn gwybod yn fuan pa un a ydych i wisgo coron am dragwyddoldeb, neu ynte eich gwisgo â gwarth a thrueni diddarfod—pa mor ddysglaer fydd y goron hòno, neu pa mor ddwfn fydd yr anobaith. Fe fydd holl ad-daliadau y byd tragwyddol yn disgyn arnoch cyn hir, ac y mae angen arnoch am egwyddor oddifewn, a fyddo yn eich cynhyrfu yn ddiorphwys i, ac yn eich cynal mewn, dyledswyddau gweithgar, llafurus, hunan-ymwadol, ag a fyddo yn lledaenu eich dylanwad, yn nerthu ac yn cryfhau eich nodweddiad trwy yr oes. Ond nid yw yr egwyddor yma i'w chael ond yn unig trwy geisio ei sylw a'i gymeradwyaeth Ef, yr hwn a gyfranodd bob trugaredd a ddaeth erioed i'ch meddiant.

Yr ydych yn hoffi gweled ffrwyth eich ymdrechion yn mhob achos; ond nid ellwch gyflawni pob cynllun gyda sicrwydd. Chwi a ellwch ymdrechu bod yn gyfoethog, ond eto marw yn dylawd. Chwi a ellwch hiraethu am enwogrwydd, ond eto fod byth heb ei gyrhaedd. Chwi a ellwch hiraethu am ddifyrwch, ac eto i bob cwpan gael ei chwilfriwio, ac i chwithau golli pob gobaith. Fe ddichon i bob gwrthddrych o'ch amgylch eich gadael yn unig, a'ch twyllo yn eich holl ymdrechion. Ond ni fydd felly os byddwch byw i Dduw. Trysorwch i chwi drysor yn y nef, a chwi a ellwch ymgyfoethogi bob dydd, ac ni siomir chwi. A phan y cesglir chwi i gartref y proffwydi a'r apostolion, at ysbrydoedd y cyfiawnion, chwi a welwch y pryd hyny yn fwy perffaith effeithiau gwynfydedig bywyd â'i amcan i ogoneddu Duw.

Chwi a ddylech weithredu bob amser oddiar y cyf-

ryw egwyddorion ag a gymeradwyir gan y gydwybod, yn mhob amgylchiad, ac ar bob achlysur. A wyddoch chwi beth yw eistedd i lawr yn niwedd y dydd i fyfyrio, a rhywbeth yn pwyso ar yr enaid fel plwm—rhyw gwmwl dû rhyngoch a gorsedd gras? A wyddoch chwi beth yw gorwedd i lawr y nos, ac edrych yn ol ar y diwrnod, a'r dyddiau a aethant heibio, heb allu cael un man goleu a thawel, lle y gall y cof aros ac ymhyfrydu? A wyddoch chwi beth yw gosod eich pen ar y gobenydd, a theimlo ceryddon cydwybod, a phoen yn y galon, tra y mae yr awrlais yn mesur oriau y nos ymaith? Y mae y gydwybod y pryd hyny wrth ei gorchwyl yn galw yr enaid i gyfrif. Y mae yn fflangellu ac yn cynhyrfu tònau euogrwydd, hyd nes yw yr enaid yn teimlo fel pe bae wedi ei gladdu danynt. A ydych chwi ddim yn cymdeithasu fel hyn â'ch calon ar amserau? Ond os byddwch mewn heddwch â Duw, ac yn byw yn hollol iddo, fe dawela eich cydwybod chwi, hi a'ch cysura, ac a ddaw â gobaith i'r enaid hyd yn nod yn yr awr dywyllaf. Nid oes yr un cyfaill a ddichon lenwi lle cydwybod dawel. Fe rydd dynion yn aml eu cyfoeth, eu hamser, ac hyd yn nod eu bywyd, i dawelu y gydwybod. Ond nid yw hyny i'w gael ond yn unig mewn byw i Dduw: gwnewch hyny, a hi a'ch arweinia i lwybrau heddwch a gwynfydedigrwydd.

Fe fydd y byd, yn fuan neu yn hwyr, yn sicr o anrhydeddu y dyn sydd yn byw i Dduw. Weithiau fe edrych dynion yn gas ar y duwiol, ac a gymerant arnynt ffieiddio duwioldeb; ond hwy a addurnant feddau y proffwydi, tra y mae esgyrn yr annuwiol yn gorwedd mewn llwyr annghof. Ni fydd enw Luther byth farw, nac enw Martin, Mills, Whitfield, Wesley, Charles, Harris, a lluoedd ereill, tra y bydd miloedd o ddynion annuwiol, o gymaint neu fwy dylanwad pan yn fyw, a'u henwau gwedi eu llwyr ddileu am dragwyddoldeb. Ond nid yw enw a chymeradwyaeth dynion o ddim pwys. Y mae arnoch eisiau cymeradwyaeth y nef. Er fod angylion yn ddengmil o filoedd, a'u lleisiau yn aneirif, ac er eu bod yn mwynhau perffeithrwydd gwybodaeth, perffeithrwydd santeiddrwydd, a pherffeithrwydd dedwyddwch, eto y maent oll yn un cwm-

wl mawr o dystion o'ch gyrfa. Y maent yn plygu dros eich llwybr wrth i chwi redeg tua'r Jerusalem Newydd. Pwy na fyddai yn llon, pe cai ef holl gymeradwyaeth ei holl gyfeillion a'i gydnabyddion? Ond er nad ellwch chwi ddysgwyl hyny, chwi a ellwch gael yr hyn sydd lawer gwell. Chwi a ellwch gael cymeradwyaeth yr holl waredigion, yr holl angylion, ac hyd yn nod y Duw tragwyddol ei hun; a hyny nid am awr, diwrnod, wythnos, neu flwyddyn, ond am dragwyddoldeb! Fe dderfydd y nefoedd fel llyfr wedi ei blygu, ac fe dderfydd pob peth ond heddwch a chymeradwyaeth Duw. Ni dderfydd hyny byth. Byddai yn werth eich bywyd cael ei gymeradwyaeth ef ond am un awr pan y deloch i farw; ond chwi a gewch ei fwynhau yn Dad, yn Gyfaill, yn Ogoniant, am oes yr oesoedd. A oes rhyw amheuaeth yn eich meddwl pa le yr arweiniai doethineb chwi yn awr? "Fe sicrhawyd yr argyhoeddiadau cyntaf a gefais am grefydd, trwy sylwi fod gan ddynion gwir grefyddol ryw ddedwyddwch sylweddol, yr hyn yr oeddwn i wedi profi nad allai gwrthddrychau gwâg y byd mo'i roddi. Nid annghofiaf byth y pryd yr oeddwn yn sefyll wrth wely fy mam pan yr oedd yn sâl, ac yn gofyn iddi,—"A oes arnoch ddim ofn marw?" "Nac oes." "Nac oes! pa fodd na byddai ansicrwydd sefyllfa ddyfodol yn peri dychryn i chwi?" "Am fod Duw wedi dweyd wrthyf, 'Nac ofna: pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd, fel na lifant drosot.'" Y mae adgofio yr amgylchiad yma wedi tynu llawer gweddi daer o'm calon, am gael marw o farwolaeth yr uniawn."

Yr wyf yn siared wrthych, ddarllenydd, ar eich rhan eich hun, ar ran y byd sydd mewn cymaint o angen eich dylanwad a'ch ymdrechion mwyaf goruchel a santaidd. Fe all ereill siared am ddyngarwch ac ewyllys da, ond pwy a rydd eu calonau a'u galluoedd er adferyd y byd, heblaw y rhai hyny y goleuwyd eu meddyliau, ac yr argraffwyd ar eu calonau gan wirioneddau Cristionogaeth? Pwy a adeiladodd yr ysbytty cyntaf a fu erioed ar y ddaear? Cristion. Pwy gyntaf a feddyliodd am ysgolion rhad i'r werin? Cristion. Pwy yw y dynion sydd yn gwareiddio yr anwariaid?

Pwy sydd wedi tori rhwymau a llyffetheiriau corff a meddwl, ac wedi dwyn rhyddid gwladol i ddyn? Pwy erioed a ymdrechodd yn fywiog, rheolaidd, a diflino, i daenu rhydd-ymofyniad, i addysgu yr anwybodus, i nerthu a bywiogi y meddwl, ac i ddyrchafu nodweddiad dealltwriaethol a moesol dynolryw? Y dynion goleu hyny ydynt, ag sydd yn gweithredu dan ddylanwad y Beibl. Yr unig ymdrech a wneir yn awr ar wyneb yr holl ddaear, er daioni dynolryw, a wneir gan eglwys y Duw byw. Ar hyn, ac ar hyn yn unig, fel offeryn yn llaw Duw, y gorphwys ein holl obeithion am adferiad y byd o dywyllwch, anwybodaeth, a phechod. At ein hieuenctid Cristionogol, y rhai sydd yn awr yn diwyllio ac yn dysgyblu eu meddyliau, yr ydym yn edrych am yr ysbrydion hyny sydd i fyned ar led dros wyneb y ddaear, yn wasgaredig fel y Lefiaid, yn mhlith yr holl lwythi, er lles cyffredinol. Ar y milwyr ieuainc yma dan faner y groes, yr ydym yn edrych, fel offerynau neillduedig Duw, i gyflawni gwaith mawr a godidog. Os byth y dyrchefir meddwl dyn o'i ddarostyngiad anifeilaidd—os yw gwybodaeth ddynol a dwyfol i fyned ar led—os yw dedwyddwch teuluaidd i gael ei brofi trwy yr holl fyd, y mae gan ieuenctid ein hysgolion, y rhai a fedyddiwyd â'r Ysbryd Glân, waith mawr i'w wneyd.

Ni anturiodd dynion ieuainc erioed i chwareufwrdd y byd mewn amgylchiadau mwy pwysig a neillduol; amgylchiadau ag sydd yn gofyn calon adgenhedledig a santaidd—meddwl wedi ei ddysgyblu a'i fantoli yn dda—aiddgarwch yn llosgi, a chariad i wneuthur daioni nad all llawer o ddyfroedd mo'i ddiffoddi, na llifddyfroedd mo'i foddi.

Yr ydych yn ymosod ar y byd mewn amser pan y mae y meddwl dynol yn rhoddi ei holl nerth mewn gweithrediad, a phan y mae athrylith wedi troi ei ddyfais i gynorthwyo dyn i feistroli defnydd *(matter)* i'w droi yn gyfan-gwbl at ei wasanaeth ei hun. Ymddengys fel pe bae natur yn ymostwng i'r dirdyniadau; ac yn awr, nid yw na gwynt na gwlaw, mynyddoedd na dyffrynoedd, yn nemawr o rwystrau ar ffordd dynion. Y mae genych gyfeillion i'ch dyddanu yn mhob ymdrech deilwng; y rhai a ddaliant eich breichiau i

fyny pan y syrthiont, ac a gyfnerthant eich ysbrydoedd pan y llaesont. Y mae hanesiaeth a phrofiadau yr oesau a aethant heibio ger eich bron; ac wrth eich traed y mae yn gorwedd arluniau dynion ag y bydd yn anrhydedd, yn ogoniant, ac yn anfarwoldeb i chwi eu canlyn; er fod ereill y byddai yn farwolaeth i chwi eu hefelychu. Y mae y Beibl genych hefyd, yr offeryn nerthol hwnw trwy gymhorth pa un y mae nodweddiad personol a gwladwriaethol yn cael ei ddyrchafu yn fuan i enwogrwydd; a'r hwn yw y prif foddion i fendithio y byd. Y mae miloedd, sydd yn meddiannu gwir ysbryd y Llyfr bendigedig hwnw, yn awr ar y maes wrth eu gwaith, yn ymdrechu i achub y byd. Y mae llawer yn cwympo, a rhai nerthol iawn hefyd, "gormod o lawer i grefydd a duwioldeb eu hebgor;" ond cynllun Duw yw y cynllun, ac nid yw symudiad neb, pa mor gymaint bynag y byddo, yn dyrysu dim ar ei gynllun mawr ef. Cofiwch, mai dan oleuni cyflawn a phur yr efengyl, y gelwir arnoch i fyw a gweithredu. Os byw i Dduw a wnewch, gan gyflawni y dyledswyddau goruchel sydd o'ch blaen, chwi a gewch gyfeillion i'ch dyddanu ar y ffordd, ac i gydfyned â chwi law yn llaw, fel gwir ddyngarwyr, a'r prif amcan mewn golwg fydd dwyn meibion lawer i ogoniant. Uwchben i chwi, y mae duwiolion ymadawedig yn sylwi ar eich camrau. Ac yno hefyd, uwchlaw pob tywysogaeth ac awdurdod, y mae yr Iachawdwr bendigedig yn eistedd â choron yn ei law a fydd yn eiddo i chwi yn fuan os byddwch yn ffyddlawn iddo. Fe fydd ef yn agos atoch. Ni ddiffygia ef byth. Fe rydd pob pechod a orchfygwch chwaneg o nerth i chwi; fe'ch gwneir gan bob hudoliaeth a wrthwynebwch yn fwy rhydd yn yr Arglwydd; fe sylwir ar bob deigryn a dywalltwch gan eich Archoffeiriad mawr, ac fe ddyrchafa pob uchenaid a roddwch i'w glustiau ef. Cyfodwch, gan hyny, fy nghyfeillion ieuainc! cyfodwch, a gwisgwch am danoch arfogaeth Duw. Ymrestrwch dan faner Iesu Grist; a bydded eich cyneddfau, eich galluoedd, a'ch calon, i gyd yn eiddo iddo ef. Gogoneddus a llachar yw y dydd o'ch blaen chwi; gwŷnion a llawnion yw y maesydd sydd yn dysgwyl wrthych; parod a nerthol yw y campwyr a ânt gyda

chwi; a phrydferth ar y mynyddoedd a fydd eich traed, pa le bynag yr eloch, a daionus. Y mae sefyllfa y byd y fath, fel yr ymddengys fod pob peth yn gwaeddi yn uchel ar bawb, "Gwnewch ryw beth," —"Gwnewch,"—"O gwnewch;" Gweddiwch yn daer am ddylanwadau yr Ysbryd Glân: gwyliwch yn ddyfal ar eich calon; ciliwch oddiwrth bob pechod; edifarhewch am bob pechod; gwyliwch a gweddiwch; byddwch byw i Dduw; a'ch etifeddiaeth, trwy ei ras ef, fydd yr hyn "ni welodd llygad, ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn erioed."

TERFYN Y RHAN GYNTAF.

## RHAN II.

### PENNOD I.

RHAGFARN YN TARDDU ODDIWRTH BETHAU—ODDIWRTH EIRIAU—ODDIWRTHOM EIN HUNAIN—ODDIWRTH EREILL.

Wrth ragfarn y meddylir yn gyffredin, rhyw ddrwgdyb a goledda rhyw un am arall. Ond mewn modd mwy neillduol a phriodol y meddylir penderfyniad y meddwl am unrhyw berson neu beth, cyn gwneyd archwiliad têg mewn perthynas iddo; ac yn gyffredin yr ydym yn ei olygu yn gamolygiad neu gyfeiliornad: o'r hyn lleiaf, y mae yn olygiad wedi ei ffurfio heb reswm digonol drosto, neu yn addefiad o osodiad cyn cael prawf o'i wirionedd, er i'r peth ynddo ei hunan ddygwydd bod yn wirionedd.

Y mae amrywiaeth dirfawr o'r rhagfarnau hyn; pa rai sydd yn ngafael â dynion o bob oed a sefyllfa: a dyma sylfaen mil o gyfeiliornadau ac o gamymddygiadau yn y byd a'r eglwys, yn gystal ag mewn dysg. Y mae yn angenrheidiol i ddyn a fo yn ymofyn am y gwir, i chwilio yn fanwl i'r hyn ag sydd yn wreiddyn i gymaint o gyfeiliornadau, er cynorthwy iddo waredu ei hun, mor bell ag sydd yn ddichonadwy iddo, oddiwrth hen ragfarnau, a gochelyd yn fanwl rhag rhai newyddion. Y maent mor lluosog, ac mor gymhlith â'u gilydd ac â chyneddfau y natur ddynol, fel mai anhawdd yw eu gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd yn aml: eto, er mwyn trefn, ni a'u dosparthwn i'r pedwar dosparth canlynol—sef rhagfarn yn tarddu oddiwrth bethau, oddiwrth eiriau, oddiwrthom ein hunain, ac oddiwrth ereill.

I. Y math cyntaf o ragfarn yw hwnw sydd yn tarddu oddiwrth y peth y byddwn yn meddwl neu yn barnu am dano. Ond ni a ddylem ystyried yn y fan yma nad oes dim yn natur pethau yn ein harwain yn angenrheidiol i gyfeiliornad, os defnyddiwn ein rheswm yn iawn, ac attal ein barn nes yr ymddengys y gwirionedd mewn digon o oleuni. Ond gan ein bod

mor dueddol i ddefnyddio pob ymddanghosiad ac amgylchiad amheus mewn pethau i ffurfio camolygiadau, ac i'n harwain i gyfeiliornad, ymddengys yn beth tra phriodol i ni ystyried beth sydd mewn pethau a all achlysuro ein camgymeriad.

1. Y mae tywyllni rhai gwirioneddau, a'r anhawsder o'u chwilio allan, yn un achlysur o gamolygiad a rhagfarn.

Y mae rhai gwirioneddau yn anhawdd o herwydd eu bod yn gorwedd yn mhell oddiwrth egwyddorion cyntaf gwybodaeth, ac yn gofyn rhesymiad maith a manwl cyn eu cyrhaedd. Felly y mae llawer o bethau mewn alsoddeg a mesuriaeth; yn nghyda rhai pethau mewn gwahanol ranau gwyddoniaeth. Y mae llawer o bethau hefyd yn dywyll mewn athroniaeth naturiol, o herwydd nad allwn ddyfod o hyd iddynt gydag un math o sicrwydd, heb lawer iawn o lafur, ac o brawfiadau anhawdd a chostus.

Y mae gwirioneddau ereill yn bur dywyll, o herwydd na feddwn mo'r moddion neu gyfryngau addas i ddyfod i wybodaeth o honynt. Heblaw llawer o bethau fel hyn yn y byd naturiol, ni a allwn grybwyll hefyd am ysbrydion a byd ysbrydol: pa fodd y maent yn gweithredu—yn ymsymud—a pha fodd y mae ysbryd wedi ei uno â chorff.

Yn awr, y mae llawer iawn o'r hil ddynol yn anfoddlawn i fod yn anwybodus o'r cyfryw bethau; ac yn hytrach na hyny, ffurfiant farnau byrbwyll, dychymygant am bethau heb un prawf gwirioneddol, a chredant y peth hyn a'r peth arall am danynt, cyn iddynt erioed eu deall a'u hamgyffred; ac felly y maent yn syrthio i gyfeiliornad.

Gellir gwella o'r rhagfarn yma, fel o bob rhagfarn braidd, trwy chwilio yn fanwl ac yn amyneddgar, yn nghyda pheidio â ffurfio y farn nes y byddwn gwedi cyrhaedd cyfryngau cymhwys i'r wybodaeth, ac hyd nes y canfyddwn ddigon o brawfiadau o wirionedd y pwnc.

2. Y mae ymddanghosiad ffugiol pethau yn achlysur arall o ragfarn, neu o farnu yn fyrbwyll. Y mae yr olwg allanol ar bethau, yr hyn sydd yn dwyn ein sylw gyntaf, yn wahanol iawn yn aml i'w natur fewnol;

ac fe'n hudir i farnu yn fyrbwyll wrth yr olwg allanol. Fel hyn y twyllir llawer un mewn perthynas i ambell lyfr. Y mae yn llawenhau wrth ei enw ac wrth ei wyneb ddalen—y mae yn ei brynu, ac yn ei ddarllen gyda dysgwyliadau goruchel; ond er ei siomedigaeth, y mae yn cael y cwbl yn ysgafn a gwael. Yr oedd y dysgwyliadau mawrion hyn yn tarddu o farn wedi ei ffurfio yn rhy fyrbwyll. Yr ydym yn rhy dueddol i farnu gwerth llyfr oddiwrth ei edrychiad allanol; neu oddiwrth ryw adolygiad a wneir arno gan rywun analluog neu annghydwybodol. Y mae y cruglwyth o eiriau bostfawr a bentyrir yn aml ar grach-feddyginiaethau mewn hysbysiadau cyhoeddus, yn denu llawer darllenydd i'w hystyried yn anffaeledig, ac i'w defnyddio gyda gobaith cryf o'u rhinwedd, ond y cwbl yn ofer.

Fe'n hudir i ffurfio ein barn am bersonau, yn gystal ag am bethau, wrth yr olwg allanol yma. Lle y mae cyfoeth a mawredd, yr ydym yn dueddol i alw y dyn hwnw yn ddedwydd; ond nid ydym yn canfod cyffroadau anesmwyth yr enaid: ac o'r tu arall, pan y gwelwn ddyn o ymddanghosiad tylawd a charpiog, o'r braidd y gallwn olygu ei fod yn ddedwydd nac yn synwyrgall. Ond y mae ein barn yn cael ei ffurfio yn rhy fyrbwyll; sef yn unig oddiar yr olwg allanol. Trwy rym y rhagfarn yma y gwrthododd yr Iuddewon ein Hiachawdwr bendigedig; nid allent hwy oddef y grediniaeth fod y gŵr a ymddanghosai yn fab y saer, yn Fab Duw hefyd. Ac o herwydd fod Paul yn ddyn bychan o gorffolaeth, ac o ymddanghosiad gwael, amheuai y Corinthiaid a oedd ef yn ysbrydoledig ai peidio.

Fe wellheir y rhagfarn yma trwy helaethach a hirach ymwneyd â'r byd; a dal sylw, fod pethau weithiau yn well, ac weithiau yn waeth na'u hymddanghosiad. Gan hyny, nyni a ddylem wylio yn fanwl ar, ac attal ein tueddiad i ffurfio ein barn am bersonau a phethau, cyn cael manteision a chyfleusdra addas i'w profi a'u chwilio yn dêg. Cofiwch nad yw penwŷni yn gwneyd athronydd; nad yw pob peth dysglaer ddim yn aur; ac y gall peth garw fod o werth dirfawr.

3. Y mae cymysgedd o gyneddfau gwahanol yn yr un gwrthddrych, yn achlysur i gamfarnu, ac yn arwain i ragfarn. Yr ydym yn dueddol i gael ein hudo gan y gyneddf a effeithia gyntaf neu ddwysaf arnom, ac i farnu am y gwrthddrych oll yn ol hyny, heb yr un sylw ar ddim arall. Pan y darllenwn ryw lyfr ag a fyddo yn cynwys llawer o wirioneddau rhagorol, fe'n hudir, nid yn unig i gymeradwyo yr oll o'r llyfr, ond hefyd holl lyfrau yr awdwr. O'r tu arall, os bydd gwallau neu ffaeleddau penodol mewn rhyw awdwr, yr ydym yn dueddol i wawdio a dirmygu pob peth a ysgrifenir ganddo, ac o'r braidd y gallwn addef ei fod yn meddiannu synwyr cyffredin.

Fe symudir y rhagfarn yma trwy ddysgu gwahaniaethu pethau yn iawn, ac nid eu barnu yn y cyfanswm. O'r braidd y mae un peth yn myd natur na chelfyddyd, yn myd crefydd na moesoldeb, yn hollol unffurf. Y mae cymysgedd o ddoethineb a ffolineb, o rinwedd a gwŷd, ac o dda a drwg, mewn dynion a phethau. Ni a ddylem gofio fod gan rai dynion lawer o ffraethineb, ond ychydig o farn; a bod ereill yn synwyrgall, ond nid yn ffraeth. Y mae rhai o dymher dda, heb fawr o foesau; ac ereill yn llawn o foesau, ond o dymher ddrwg. Ni a ddylem wybod y gall un dyn fod yn ddysgedig ac yn bechadurus; ac y gall arall fod yn annysgedig, ond yn rhinweddol. Fe all un dyn fod o feddwl cryf, ac o farn ragorol, ond yn siaradwr gwael; tra y bydd un arall o alluoedd ymadrodd nodedig, ond o feddwl arwynebol a ffril. Fe geir rhai dywediadau rhagorol weithiau mewn llyfrau ffol a gweigion; a rhai syniadau digon ffol mewn llyfrau gwerthfawr. Gan hyny, dylem beidio â chanmawl na chollfarnu wrth y cyfanswm; ond gwahaniaethu y da oddiwrth y drwg, a'u barnu yn annibynol ar eu gilydd: y mae hyn yn arwydd o feddwl yn gallu barnu yn dda.

4. Y mae y gwahanol ffyrdd, neu y gwahanol oleuni y danghosir unrhyw beth i'r meddwl, yn achlysur i gamolygiad neu ragfarn. Pe y gosodid plâd crwn ar osgo o'n blaen mewn pellder priodol, ymddanghosai yn hirgrwn; a phe troid ei ymyl atom, ymddanghosai fel llinell uniawn. Felly hefyd, wrth edrych ar wahanol blygiadau rhyw ddernyn o sidan symudliw, ymddengys

un plyg yn goch, un arall yn felyn, ac felly yn y blaen, o herwydd ei wahanol sefyllfaoedd mewn perthynas i'r goleuni; ond os gosodir o yn y fath fodd ag i edrych arno yn yr un goleuni, fe ymddengys oll o'r un lliw.

Felly hefyd y mae mewn gwybodaeth a dysg: a'r unig ffordd i waredu ein hunain oddiwrth y math yma o ragfarn, yw chwilio y peth o bob tu, i gymharu ei wahanol ymddanghosiadau â'u gilydd, a gadael i bob un gael ei briodol bwys yn nghlorian ein barn, cyn i ni lwyr benderfynu arno.

II. *Rhagfarn yn tarddu oddiwrth eiriau.*—Y mae ein drychfeddyliau a'n geiriau gwedi eu cysylltu yn y fath fodd, fel, tra yr ydym yn barnu pethau wrth eiriau, fe'n harweinir i amryw gamgymeriadau. Gellir dosparthu y rhai yma i ddau fath—y cyfryw a fo yn tarddu oddiar eiriau neu ddywediadau unigol, a'r rhai a fo yn tarddu oddiar eiriau gwedi eu cyfansoddi yn araith neu draethawd.

1. Y camgymeriadau mwyaf penodol o'r dosparth blaenaf, ydyw y rhai canlynol: 1. Pan y mae ein geiriau yn ddiystyr, heb un drychfeddwl yn perthyn iddynt. 2. Pan y mae ein geiriau yn cynwys dau neu chwaneg o ystyriaethau. 3. Pan y mae dau neu chwaneg o eiriau o'r un ystyr a'u gilydd. Y mae yr amrywion yma gwedi achosi llawer iawn o gamgymeriadau, mewn llawer cysylltiad; ac yn neillduol mewn duwinyddiaeth.

2. Yr ydym yn agored i fath arall o gamgymeriad neu gyfeiliornad mewn cysylltiad â geiriau; sef, yn eu ffurfiad yn araith neu draethawd. Y mae y perygl yma eto yn ddeublyg. 1. Y cyntaf yw, pan y mae rhyw un yn siared neu yn ysgrifenu yn gall ac yn synwyrol, ac at y pwynt hefyd yn aml; ond heb ddull denol o amlygu ei hun. Fe allai ei fod yn defnyddio geiriau gwael, clogyrnaidd; a brawddegau uchelseingar ac annealladwy. Y mae yn wir fod hyn oll yn tarddu o ddiffyg chwaeth, ac yn tueddu yn fawr at beri i'r gwrandawr neu y darllenwr edrych yn ddirmygus ar y cwbl a ddywedo neu a ysgrifeno y cyfryw un. 2. O'r tu arall, pan y byddo rhyw ddyn ffraeth yn siared neu yn ysgrifenu ar ryw bwnc, yr ydym yn dueddol i dderbyn ei olygiadau yn ddiarchwiliad, trwy gael ein

tynu megys yn ddifeddwl gan swyn ei ffraethineb a llyfndra ei iaith barablber. Fe gabola *(polish)* rheithioreg bob gwall nes yr ymddengys fel gwirionedd, ac a addurna bob bai, nes yr ymddengys fel rhinwedd. Celfyddyd ydyw ag sydd â gallu a dylanwad eang a rhyfeddol; y mae yn cuddio y gwir yn aml, ac yn amlygu cyfeiliornad gwrthun yn y goleuni mwyaf denol. Y mae harddwch agwedd, pereidd-dra llais, rheoleidd-dra acenion, a phrydferthwch arddull, a holl ddeniadau yr areithydd, wedi arwain y gwrandawyr yn aml i gyfeiliornad, ac wedi effeithio arnynt i dderbyn a chymeradwyo beth bynag a ddywedir gan y fath siaradwr boddus. Tuag at waredu ein hunain o dan lywodraeth y fath ragfarn a hyn, y mae yn angenrheidiol i ni ddysgu, hyd y gallom, wahanu ein syniadau a'n drychfeddyliau oddiwrth eiriau ac ymadroddion —barnu pethau yn ol eu naturiaethau, ac yn eu perthynas naturiol â'u gilydd, yn wahanedig oddiwrth iaith —ac i benderfynu peidio â derbyn dim ond y gwir, yn mha liw neu wisg bynag yr ymddengys.

III. *Rhagfarn yn tarddu oddiwrthom ein hunain.*— Nid yn unig y mae pethau a geiriau yn achlysuro rhagfarn, ond y mae pethau ynom ein hunain yn achlysuro yr un peth: ac yn wir, ni byddai gan y cyfryw bethau gymaint o ddylanwad arnom oni bae fod ynom ein hunain y fath ffynnonau niweidiol.

1. Y mae llawer o'n rhagfarnau a'n camgymeriadau yn cael eu magu o herwydd gwendid ein rheswm, a'n hanallu i farnu pethau pan yn blant. Trwy hyn, yr ydym yn ffurfio golygiadau gwallus am lawer o bethau sydd o'n hamgylch, ac am lawer o amgylchiadau bywyd. Y mae y chwedlau a glywodd un, pan yn llanc, wrth dân hirnos y gauaf, a'r syniadau a ffurfiodd oddiwrthynt, yn nghyda mil o amgylchiadau ereill, wedi effeithio mor ddwys ar ei feddwl, fel nas llwyr ddileir trwy yr oes. A thuag at ymwellhau oddiwrth y rhagfarn yma, y mae yn angenrheidiol i ni nodi, mor belled ag y gallwn, pa rai yw y golygiadau a ddarfu i ni ffurfio pan yn blant; ac ystyried nad oeddym yn alluog y pryd hyny i ffurfio barn gywir; a'u dwyn eilwaith gerbron brawdlys ein dealltwriaeth, pan mewn mwy o oedran a gallu i benderfynu.

2. Y mae ein synwyrau hefyd yn rhoddi gwybodaeth annghywir i ni am bethau yn aml. Gellid meddwl wrth yr olwg mai sylweddau gwastad o ychydig fodfeddi ar draws yw yr haul a'r lleuad, canys felly y maent yn ymddangos i'r llygaid. Y mae y synwyr o deimlad yn dueddol i beri i ni feddwl nad oes dim pwys mewn awyr, o herwydd nad ydym yn ei deimlo felly. Y mae dynolryw yn gyffredin yn agored i'r camgymeriadau hyn pan yn blant; ond y mae oedran a phrofiad yn symud llawer o honynt, a dysg a gwybodaeth yn symud mwy. Fe'u symudir trwy amryw ffyrdd. 1. Trwy gynorthwy un synwyr nyni a allwn symud cyfeiliornad synwyr arall; megys am bren uniawn pan y gyrir o i lawr ar ei ben i ddwfr, ymddengys yn gam; ond cedwir ni rhag credu hyny, wrth ei dynu allan, gan y golwg a'r teimlad. 2. Y mae defnyddiad ein rheswm, yn nghyda gwybodaeth mewn gwyddoniaeth ac athroniaeth naturiol, yn ein gwaredu oddiwrth lawer iawn o ragfarn a achlysurid gan ein synwyrau, mewn perthynas i gyrff daearol ac wybrenol. 3. Ni a ddylem gofio fod ein synwyrau gwedi ein twyllo lawer gwaith, mewn llawer amgylchiad; nad ydynt yn rhoi ond gwybodaeth gymysglyd ac hannerog am bethau mewn llawer cysylltiad. 4. Dylem gofio hefyd mai prif ddyben ein synwyrau yw rhoddi gwybodaeth i ni am y gwahanol berthynasau y mae y cyrff sydd o'n hamgylch yn eu dwyn â'n cyrff ein hunain; ond nid ydynt yn alluog o honynt eu hunain i'n dwyn i wybodaeth athronaidd am bethau. Rhaid addef, mai trwy gymhorth y llygad a'r glust, mewn modd penodol, y cynysgaethir y meddwl â llawer o ranau gwybodaeth; eto, rhaid defnyddio rheswm bob amser yn nglŷn â defnyddio synwyrau, tuag at ffurfio barn gywir am bethau.

3. Y mae y dychymyg yn achos o lawer iawn o gamolygiadau a rhagfarn. Y mae rhai dynion yn credu pa beth bynag a argreffir yn ddwys ar y dychymyg Y mae hyn yn arwain llawer i anturio eu cyfoeth a'u meddiannau ar y chwareyddiaethau llygredig a dinystriol sydd yn y byd, a hyny yn y modd mwyaf hyderus, o herwydd eu bod yn dychymygu yn gryf fod ffawd yn gysylltiedig â rhyw beth y maent hwy yn

ei ddewis sydd yn perthyn i'r chwareufa. Miloedd, hefyd, o broffwydoliaethau o'r fath, yn nghyda holl ffoleddau penboethni, sydd wedi tarddu o'r ffynnon yma.

Un ffordd i ennill buddugoliaeth ar y gyneddf afreolus yma, yw gwylio arni yn barhaus, a'i hattal yn ei holl grwydriadau eithafus; peidio â chredu dim yn unig o herwydd fod y dychymyg yn ei hoffi. Y mae y dychymyg yn allu defnyddiol a difyr iawn mewn areithyddiaeth, barddoniaeth, &c.; ond mewn ymchwiliad oer a thêg ar ol gwirionedd, dylai sefyll o'r neilldu, i roddi lle priodol i'r deall, yn niffyg galw am ei gymhorth i egluro rhyw bwnc penodol trwy gyffelybiaeth.

4. Y mae y gwahanol nwydau a serchiadau yn ffynnonau i ragfarnau parhaus a diderfyn. Y maent yn gosod hug megys ar bob gwrthddrych y maent yn ymwneyd âg ef, ac yn rhoddi eu lliw eu hunain arnynt, ac fel hyn yn arwain y farn ymaith oddiwrth y gwir. Cariad y fam a wna iddi feddwl fod ei phlentyn ei hun yn rhagori ar bob plentyn arall; a cheisia weithiau i ni gredu fod hyd yn nod yr anaf sydd arno yn harddwch. Y mae gobaith a dymuniad cryf am ryw beth, yn peri i awr o oediad ymddangos cyhyd a thair neu bedair. Y mae gobaith cryf yn peri i ni feddwl nad oes dim yn rhy anhawdd i amcanu ato: ond y mae digalondid yn dweyd wrthym fod pob rhwystr yn anorfod. Y mae ofn yn peri i ni ddychymygu fod rhyw greadur dinystriol yn y llwyn, pan nad oes dim ond y gwynt yn chwythu arno. Y mae casineb, digofaint, yn nghyda'r holl nwydau a'r tymherau annuwiol o'r un dras, yn peri i ni feddwl yn waeth o lawer am ddynion nag y dylem, ac yn ein tueddu i gredu pob drygair a ddywedir am danynt.

Y ffordd i ymwella o'r rhagfarnau hyn, yw gwylio yn ddyfal arnom ein hunain ac ar ein nwydau, fel na byddont âg un llaw yn y gwaith pan y byddom yn myned i ffurfio barn am unrhyw beth: a phan fyddo ein serchiadau yn gynhes, dylem ymattal rhag rhoddi ein barn ar ddim. Dylem ffurfio ein barn am bersonau a phethau yn yr oriau tawelaf ag yr ydym yn eu mwynhau, pan y mae nwydau y natur oll yn ddystaw,

a'r meddwl mewn llonyddwch perffaith: a dylai y barnau hyn gael eu trysori yn y meddwl erbyn yr amser y bydd angen am danynt.

5. Achos arall o lawer iawn o ragfarnau, yw y cariad sy genym atom ein hunain, a'r berthynas sydd rhwng personau a phethau ereill a ni. Yn gyffredin, yr ydym yn dueddol i feddwl fod rhyw ragoroldeb penodol yn mhob peth o'r eiddom ni, pan, mewn gwirionedd, nad oes dim byd neillduol ynddynt ond mai nyni a'u piau. Pe buasem gwedi cael ein geni yn mhlith gerddi yr Eidal, creigiau gwlad y Swis, neu rew ac eira Rwssia a Sweden, nyni a fuasem yn credu fod rhyw ragoriaethau yn perthyn i wlad ein genedigaeth. Yr ydym yn coleddu meddyliau gwych am ein plaid ein hunain; ond credwn chwedlau drwg yn hawdd am bersonau o blaid wahanol. Y mae genym feddwl mor dda am ein syniadau a'n hymarferion, fel o'r braidd y credwn yr hyn a ddywed neb wrthym mewn ffordd o gerydd: ond y mae yn hynod o hawdd genym dderbyn pob math o weniaith. Yr ydym yn gosod i fyny ein golygiadau ein hunain mewn crefydd a dysg, fel maenprawf uniongred a gwirionedd; ac yn barod i farnu arferion ac ymddygiadau dynion ereill yn ddyledswydd neu yn drosedd, yn ol fel y barnem hwynt yn ddyledswydd neu yn drosedd i ni, er i'w hamgylchiadau hwy fod yn bur wahanol.

Oddiwrth y duedd niweidiol o osod i fyny hunan yn gynllun i'r hyn y dylai ereill fod, y tarddodd yr ysbryd annghristionogol o orfodaeth ac erledigaeth; er nad oes mwy o reswm drosto nag y sydd dros arferiad y gormesdeyrn hwnw, oedd â gwely ganddo yn cyfateb i'w hyd ei hunan; a phob dyn bychan o gorffolaeth, fe'i dirdynai ar yr aethglwyd nes ei wneyd o'r un hyd a'i wely; a dywedir hefyd, ei fod yn tori coesau pawb a fyddai yn rhy hir iddo.

Oddiar egwyddor o'r un dras a hon, yr ydym mor dueddol i gamddeongli a gŵyro llawer o awduron enwog, ac yn neillduol yr ysgrythyrau santaidd, i beri iddynt siared o'n tu ein hunain. Trwy y dylanwad sy gan ein cyfundraeth fabwysiedig ar y meddwl, fe'n gwneir weithiau mor lygadgraff fel ag i ganfod ein golygiadau ein hunain mewn lleoedd o'r ysgrythyrau na

feddyliodd yr ysgrifenwyr santaidd erioed am y fath beth. Ac ar amserau ereill y mae yn tywyllu y llygaid i'r fath raddau, fel nad allwn ganfod dim yn groes i'n syniadau ein hunain mewn un man, er, efallai, ei fod yn ddigon amlwg i ereill. Y mae gan bob berniad ei gyfundraeth ei hun; ac os na fydd y testyn cyffredin yn ateb ei ddyben, fe ddewisa ryw ddarlleniad gwahanol, ac a sicrha mai hwnw yw y cywir. Neu ynte, rhaid ystyried y testyn cyffredin yn ddiffygiol neu yn ormodol; ac fe fydd yr ystyr yn llythyrenol neu yn ffugyrol, yn ol fel yr etyb oraf i'w gyfundraeth ef. Fe chwanegir, neu fe dynir allan, bennodau a llyfrau cyfain o'r gyfrol santaidd, trwy allu yr un egwyddor. Yr oedd Luther yn methu canfod pa fodd yr oedd cysoni epistol Iago âg athrawiaeth cyfiawnhad trwy ffydd yn unig, am hyny nid allai addef ei fod yn ddwyfol. Y mae hwythau y Pabyddion yn hela yr apocrypha i'r Beibl, ac yn ei ystyried mor ddwyfol ag unrhyw ran, am eu bod yn credu fod athrawiaeth y purdan yno, a bod yno weddiau tros y meirw. Ond gadawant yr ail orchymyn allan, am ei fod yn gwahardd addoli delwau. Ac y mae hyd yn nod y Cristion syml a chyffredin yn canfod rhywbeth yn mhob pennod yn gyfnerth i'w olygiadau neillduol ei hun, ond gwell ganddo am y pennodau hyny sydd yn llefaru ei gyfundraeth ef yn fwyaf eglur a phenderfynol: dyma ragfarn sydd yn nglŷn iawn â'r natur ddynol. Y mae gan hunan effaith ddinystriol iawn yn mhellach ar ein dealltwriaeth, ac yn dra niweidiol pan y byddys yn barnu pethau. Pan y bydd ein tueddiad ein hunain, esmwythdra, anrhydedd, neu elw, yn ein hudo at unrhyw beth a fyddo yn amheus o ran ei gyfreithlondeb, rhyfedd fel y byddwn yn tasgu y meddwl, ac megys yn gordynu ei alluoedd, er mwyn cael rhesymau trosto, ac i geisio boddhau ein hunain ei fod yn gyfreithlawn! Fe farnodd yr ynad fod iawn i'w wneyd i ryw ddyn yr oedd ŷch wedi tori i'w gae; ond pan y clywodd mai ei ŷch ef ei hun ydoedd, fe gafodd afael mewn digon o resymau i dynu y farn yn ol. Ond y mae yr Iachawdwr wedi rhoddi rheol effeithiol i ni wylio ar y rhagfarn yma mewn mater o gyfiawnder rhwng dyn a dyn; a hyny ydyw, rhoddi fy nghymydog yn fy lle

fy hun, a fy hun yn lle fy nghymydog: neu mewn geiriau ereill, gwneyd i fy nghymydog fel yr ewyllysiwn i fy nghymydog wneuthur i mi. Nyni a ddylem gofio fod gan bawb ei *hunan* yn gystal a ni, a bod chwaeth, tymherau, a thueddiadau gwahanol ddynion yn bur wahanol i'w gilydd, ac yn groes i'w gilydd yn fynych: gan hyny, os nad ellir profi fod pob un o'r amrywiaethau yma yn wirionedd safadwy, nid yw hunan yn faenprawf cywir o wirionedd a thwyll, ac o dda a drwg.

6. Y mae gwahanol dymherau, mympwyon, yn nghyda gwahanol ddulliau o feddwl, pa un bynag ai naturiol ai ymarferol, â dylanwad cryf iawn ar ein barn, ac yn achlysuron i lawer o gamgymeriadau. Gadewch i ni sylwi ar rai o honynt.

(1.) Y mae rhai dynion o dymher hygoelus iawn, pan y mae ereill yn dangos tuedd i wrthwynebu bob amser. Y mae y dyn hygoelus yn barod i dderbyn pob peth fel gwirionedd, er na fydd ond rhyw gysgod o reswm drosto. Fe'i tynir yn rhwydd i olygiadau unrhyw lyfr newydd a ddarlleno, neu unrhyw ddyn medrus y siarado âg ef. Y mae o feddwl mor wan, fel y rhydd ei olygiadau ei hun i fyny yn ngwyneb y gwrthwynebiad cyntaf. Ond y mae y gwrthddadleuwr o ysbryd gwahanol iawn. Y mae ef yn barod i wrthwynebu pob peth a ddywedir. Ni rydd ef ond ychydig o sylw i resymau dynion ereill, o herwydd rhyw feddwl diystyrllyd sydd o'i fewn, nad oes nerth ynddynt. Pan y mae yn clywed neu yn darllen rhyw beth gwahanol i'w olygiadau ei hun, nid yw yn caniatau amser iddo ei hunan i ystyried ai gwir fydd ai peidio; ond defnyddia ei holl alluoedd yn ddioedi i geisio ei wrthbrofi. Y mae y dynion hyny sydd yn hoff ganddynt ddadlu ar bob achlysur, yn gyffredin dan ddylanwad trwm y math yma o ragfarn: dadleuant yn aml yn unig er mwyn buddugoliaeth, ac amddiffynant unrhyw beth a ddywedasant, bydded mor gyfeiliornus ag y bo, yn hytrach nag addef y gwall; ac fel hyn y mae y gwir yn cael ei golli yn swn a chynhwrf dadleuon gorwyllt: ac yn fynych iawn y mae dadleuon o'r fath yma yn cael eu troi yn y diwedd yn wawdiaith bersonol. Y mae ysbryd gwrthwynebu mor

goegathrawaidd ac atgas, fel y dylai pob dyn gymeryd llawer o drafferth i wylio arno ei hun rhag bod dan ei lywodraeth yn y mesur lleiaf.

(2.) Y mae pâr arall o ragfarnau yn tarddu oddiar ddwy dymher wahanol y meddwl; sef mympwy awduraidd neu amheus; hyny yw, bob amser yn sicr neu yn amau. Pa fodd bynag y cyrhaeddodd yr awduriaethwr ei gredoau, pa un ai trwy ei synwyrau corfforol ai trwy ei ddychymyg, trwy addysg ai trwy ei ymchwiliadau ei hunan, y mae yn eu credu oll gyda'r sicrwydd mwyaf penderfynol. Nid oes braidd gymaint ag un peth yn amheus iddo ef; ond y mae y cwbl yn sicr ac yn anffaeledig; ac os cynygir gwrthresymau i'w bwnc, fe'u hetyb yn unig trwy eu diystyru mewn tra-awdurdod. Anfynych iawn yr argyhoeddir neb o'r fath yma o'u camgymeriad: y mae sicrwydd eu meddyliau o wirionedd eu credoau, yn gwneyd i bob anhawsder o'u tu hwy ddiflanu mor llwyr, fel yr ymddengys fod pob pwnc o'u heiddo hwy yn dysgleirio fel haul hanner dydd; a rhyfeddant yn fawr fod neb yn methu â'u canfod. Ond y mae amheugarwch yn rhagfarn wahanol. Y mae yr awduriaethwr yn sicr o bob peth, ond nid yw yr amheuwr yn credu dim.

Y mae rhai efallai yn cael eu harwain i hyn trwy gael eu hunain yn wallus mewn pethau yr oeddynt yn bur hyderus ynddynt pan yn ieuangach, ac yna y maent yn ofni credu mewn dim braidd eto. Y mae ereill, wrth weled cymaint o wrthresymau i bob athrawiaeth, yn barod i daflyd ymaith bob crediniaeth, ac i ddweyd nad oes sicrwydd mewn dim. Ac yn fynych iawn, y mae llawer un yn taflyd ymaith, nid yn unig ei athrawiaeth, ond ei grefydd hefyd, ac yn ymollwng i fywyd annuwiol, yn ddifater am nefoedd ac am uffern.

Er mor wahanol yw y ddau fath ragfarn yma, y maent yn tarddu o'r un ffynnon, sef o ddiffyg amynedd i chwilio am y gwir. Y mae yr awduriaethwr mewn brys i gredu rhyw beth; gormod o orchwyl iddo ef yw cadw ei feddwl yn ddibenderfyniad nes y byddo digon o oleuni yn ymddangos ar y pwnc; ond wedi iddo trwy ryw achlysur fabwysiadu rhyw bwnc, nid oes braidd obaith y derbynia ddim goleuni

gwahanol. Ac am yr amheuwr, ni chymer yntau y drafferth o chwilio y peth yn drwyadl; ond pan y canfydda anhawsder o'r ddau du, y mae yn penderfynu ymwrthod â'r cwbl. Y feddyginiaeth oraf i'r naill a'r llall o'r rhai hyn fyddai gostyngeiddrwydd ysbryd, amynedd i efrydu, ac aiddgarwch am y gwirionedd.

(3.) Math arall o dymher sydd yn bur niweidiol i iawn-farn ar bethau, yw tymher gyfnewidiol ac anwastad. Pan y mae dynion o'r fath yma mewn un ffurf o fympwy, barnant bethau yn gyfatebol i hòno; ond pan y newidia y fympwy, y maent hwythau yn newid eu barn. Y mae y dynion yma yn rhai cyfnewidiol o ran eu meddyliau; y maent yn amddifad o sefydlogrwydd ysbryd a thymher: a dylent ffurfio eu barnau am bersonau a phethau yn eu horiau mwyaf tawel a digynhwrf, a chadw y barnau yma erbyn amserau y bydd arnynt eu hangen.

(4.) Y mae gan rai dynion ryw ddull tanbaid o feddwl a siared. Y maent bob amser mewn eithafoedd; ac yn llefaru am bob peth yn yr uchelradd. Os bydd rhyw ddyn yn ddysgedig yn eu golwg, siaradant am dano fel prif ysgolhaig yr oes: os bydd un arall â gwaeleddau yn perthyn iddo, hwnw fydd yr hurtyn penaf yn y byd: os bydd rhyw lyfr duwiol at eu chwaeth hwy, fe fydd y goraf ond y Beibl; ac felly am bob peth arall.

(5.) Meddyliwyf mai rhagfarn yn tarddu oddiar dymher neu fympwy, yw bod rhai dynion yn credu peth am ei fod yn hên, ac mewn derbyniad er's llawer o amser; ond ereill mor hoff o newyddiant, fel nad oes dim yn denu eu cydsyniad mor rhwydd a rhyw feddyliau a syniadau newyddion. Y mae rhai yn hoffi pob peth pellenig, ac o wlad estronol, ac nid oes dim a wna y tro ond y cyfryw: pan y mae ereill yn gwerthfawrogi pethau cartrefol yn fwy, ac yn barod i wawdio pob peth pellenig. Y mae rhai dynion dysgedig a duwinyddion, na chredant yr un math o osodiad, os bydd rhyw ddirgelwch neu anhawsder yn perthyn iddo; pryd y mae ereill mor hoff o ddirgeledigaethau, fel o'r braidd y credant ddim os gellir ei egluro yn rhwydd: yn debyg i un o'r henafiaid pan y dywedodd, —"Yr wyf yn ei gredu am ei fod yn annichonadwy."

Ond dylid ystyried nad yw na hên na newydd, pellenig na chartrefol, tywyll nac eglur, yn un arwydd sicr o wirionedd na thwyll. Gallesid enwi llawer yn chwaneg o fympwyon sydd yn llenwi dynion â rhagfarn, ac yn eu harwain i lawer o gamgymeriadau: ond y mae hyn yn ddigon er anghraifft.

Y mae llawer o wendidau ereill yn perthyn i'r natur ddynol, trwy ba rai yr arweinir ni i gamolygiadau, ac y gwneir ni bron yn analluog i roddi barn gywir ar bethau anhawdd a dirgel: ac er fod rhai o honynt yn ddiffygion a gwendidau naturiol, eto fe ellir eu symud trwy lafur a diwydrwydd priodol. Ond yn mhlith yr holl achosion o farn a golygiadau gau sydd o'n mewn, ni ddylem mewn un modd fyned heibio yn ddisylw i'r achos gwreiddiol a chyffredinol hwnw y sonir am dano yn ngair Duw; hyny yw, pechod ein rhieni cyntaf, trwy ba un yr anmharwyd ein galluoedd naturiol goraf, ac y gwnaed hwynt yn llawer gwaelach nag yr oeddynt yn sefyllfa berffaith dyn. Y mae y deall wedi ei dywylln, y cof wedi ei waethygu, a'r tueddiadau anifeilaidd yn llywodraethu, yn nghyda llawer o effeithiau niweidiol ereill, trwy ba rai yr analluogir y meddwl yn fawr i farnu yn gywir. Ond nid ellir dysgwyl gwellhad perffaith ar y ddaear. Ac nid oes gobaith i ni gael ein gwella oddiwrth y drygau yma, ond trwy ddychweliad cywir at Dduw yn ei drefn ei hun; ac felly y cawn ein cadw rhag pob cyfeiliornad dinystriol mewn crefydd; ac er i ni fod yn agored i anmherffeithderau a chamgymeriadau yn y bywyd hwn, fel effeithiau ein henciliad gwreiddiol oddiwrth Dduw, eto ni a gawn lwyr waredigaeth oddiwrthynt yn y nef, gwlad y perffeithrwydd.

IV. *Rhagfarn yn tarddu oddiwrth ereill.*—Oni bae yr holl ffynnonau rhagfarn sydd ynom ein hunain, ni byddem yn agored i gymaint o gamgymeriadau oddiwrth ddylanwad ereill; ond gan ein bod mor agored i gyfeiliorni ar bob llaw, y mae yn beth teilwng iawn i ni gymeryd sylw byr, pa mor belled y mae gan ereill ddylanwad arnom, ac i fod yn achosion newyddion o'n rhagfarnau.

1. Y mae yr addysg a'r wybodaeth, yn nghyda'r holl syniadau a gawsom yn ein dyddiau boreaf, gwedi

gosod sail i lawer o gyfeiliornadau. Pa faint o syniadau ffol a niweidiol a argreffir ar y meddwl pan yn blant? Fe'n dysgir fod bwbachod yn ymddangos yn y nos; ac fe lenwir y meddwl ieuanc â'r drychfeddyliau dychrynllyd fod ysbrydion yn ymddangos yn mhob llwyn a chwm dirgel. Fe'n dysgir i broffwydo ac i ragddweyd yr hyn a fydd, trwy ryw arwyddion drwg neu dda, ac i ragwybod marwolaeth rhyw un o'r teulu trwy drwst y ddylluan a elwir aderyn y corff. Felly hefyd y mae yn y byd crefyddol a dysgedig. Fe ddysgir y Tyrciaid o'u mabandod i gredu yn Mahomet; yr Iuddewon yn Moses; a'r paganiaid i addoli lluaws o dduwiau; ac felly y maent yn byw ac yn marw heb erioed archwilio yn dêg gymaint ag un pwnc. A byddai yn fendith fawr pe bae llai o Gristionogion nag y sydd, heb nemawr i'w ddweyd dros eu crefydd, ond ddarfod eu geni a'u dysgu ynddi. Nid all y rhan fwyaf o'r byd Cristionogol roddi nemawr gwell rheswm dros eu bod yn credu mai gair Duw yw y Beibl, nag eu bod gwedi eu dysgu i gredu hyny o'u mabandod. Fel y mae yr Iuddewon, y Tyrciaid, a'r Americaniaid paganaidd, yn credu y chwedlau mwyaf ynfyd ac anhygoel, am eu bod gwedi cael eu dysgu ynddynt fel banau eu ffydd; felly hefyd y mae y Pabyddion yn credu yn eu traws-sylweddiad, ac yn methu canfod yr un anhawsder i gyffesu pethau annichonadwy, yn unig o herwydd fod hyny yn athrawiaeth eu llyfrau egwyddori. Trwy yr un moddion hefyd y mae y gwahanol bleidiau Cristionogol gwedi cael eu dwyn i gredu yr holl esponiadau dirdynedig o'r ysgrythyrau santaidd, trwy ba rai y maent gwedi cael eu dysgu i amddiffyn eu golygiadau eu hunain. Ond os ydym am ymwella o'r fath yma o ragfarn, rhaid i ni alw holl egwyddorion ein dyddiau boreaf o flaen gorseddfainc ein rheswm pan yn hŷn mewn dyddiau, fel y gallwn farnu egwyddorion natur a gwladyddiaeth yn ngwyneb mwy o oleuni gwir wybodaeth; ac wedi i reswm a chydwybod ein sicrhau fod y Beibl yn air Duw, rhaid i ni ymostwng iddo yn gyfan-gwbl fel ein hunig reol.

2. Y rhagfarn nesaf a grybwyllaf yw hono sydd yn tarddu oddiwrth arferion a defodau y rhai yr ydym yn byw yn eu plith. Yr ydym yn ffurfio ein barnau

am fwydydd a diodydd, am wisgoedd a moesau, yn fwy oddiwrth arferion nag oddiwrth y chwaeth, y llygad, na'r glust. Beth ond arferiad sydd yn gwneyd llawer o gymysgedd o fwydydd a diodydd yn gymeradwy yn Mhrydain, pan y byddent yn ffiaidd yn China, ac yn wir yn gâs genym ninau pan y profasom hwy gyntaf? Beth ond arferiad sydd yn gwneyd ymddygiadau yn hyfoesgar yn Muscovy, a fyddent yn ddirmygus yn Mhrydain? A pham yr ydym yn gweled y dulliau presenol sydd ar wisgoedd yn fwy prydferth na dulliau yr henafiaid? Rhaid addef, y mae yn wir, fod rhai gwisgoedd ac arferion yn fwy llednais a rhesymol nag ereill; ond pa faint bynag o addasrwydd naturiol a fyddo mewn pethau o'r fath, y mae arferiad yn gorchfygu y cwbl.

Ac nid ydyw nemawr gwell yn y byd dysgedig. Beth ond arferiad yw yr achos fod cymaint yn difrodi eu hamser gwerthfawr i efrydu yr awduron Groeg a Lladin, ac yn esgeuluso gwir wybodaeth yn eu hiaith eu hunain? A pham y cyfrifir hwnw yn ddysgedig fyddo yn deall ychydig ar ddwy neu dair o ieithoedd dyeithr, er fe allai na fydd yn deall cymaint ag un gangen o wybodaeth yn iawn? Rhagfarn yn tarddu oddiar arferiad yw yr achos fod y byd yn edrych ar y dyn a fyddo wedi bod mewn ysgol enwog neu athrofa gyda sicrwydd ei fod yn ysgolhaig gwybodus, pan, mewn gwirionedd, efallai, fod llawer un yn ei gymydogaeth, heb fod erioed mewn uwch athrofa na'r ysgol sul ac ysgol gyffredin y dref, yn alluog i'w addysgu. Yr ydym yn hynod o dueddol i redeg i eithafoedd; ond y mae arferiad yn dweyd bob amser fod rheswm a natur o'n tu. Y mae gan y rhagfarn yma ddylanwad cryf iawn arnom, trwy ei bod yn defnyddio ofn a chywilydd i weithredu ar y deall: ac felly yr ydym yn teimlo rhyw anewyllysgarwch i feddwl na gweithredu yn groes i'r cyffredin, er fod rheswm yn ddigon amlwg o'n tu. Yr wyf yn addef fod cymaint a hyny o barch yn deilwng i ddynolryw, ag a wna i'r dyn callaf gydymffurfio âg arferion diniwaid ei wlad, ac i ymostwng i'w holl ddefodau dibwys, cyn belled ag na byddo rheswm a'r Beibl yn dweyd yn erbyn. Ond fe ddylid cadw y meddwl yn rhydd bob amser i farnu, heb ei

wyro mewn un modd gan arferion a defodau unrhyw wlad nac oes. A thuag at i ni gael ymwared rhag y drwg yma, dylem ystyried tri pheth,—1. Fod y rhan amlaf o arferion gwladol unrhyw oes neu genedl yn tarddu oddiar fympwy yn hytrach nag oddiar reswm. Weithiau mympwy y brenin; bryd arall mympwy y werin. 2. Ystyriwch hefyd fod arferion yr un genedl yn wahanol mewn gwahanol oesoedd, arferion gwahanol genhedloedd yn yr un oes, ac arferion gwahanol drefi a phentrefi yn yr un wlad; ond er fod y rhai hyn yn wahanol ac yn gyfnewidiol, y mae gwirionedd a rheswm yn fwy unffurf, ac nid yn cyfnewid gydag arferion. 3. Gadewch i ni ystyried yn olaf, pa mor aml yr ydym ni ein hunain gwedi cyfnewid yn ein barnau o barth i arferion a defodau, yn neillduol os ydym gwedi cyrhaedd deg-ar-hugain neu ddeugain oed. Y mae arferion, hyd yn nod yn eu holl ffurfiau, wedi cael rhyw raddau o ddylanwad ar ein deall dro ar ol tro, ac y mae yr hyn a ymddengys ar un pryd yn brydferth, bryd arall yn ymddangos yn od a digrif, am fod yr arferiad wedi newid.

3. Y mae awdurdod dynion yn achos o ddosparth arall o ragfarn. Yn mhlith yr awdurdodau gwahanol sydd yn effeithio ar farnau dynion, dylem grybwyll, yn mlaenaf, awdurdod yr henafiaid. Y mae rhai yn talu parch neillduol i ryw awdwr, yn unig o herwydd ei fod yn hen awdwr. Y mae yn wir fod llawer o awduron call a dysgedig yn mhlith yr henafiaid, ac y mae peth o'u hysgrifiau ag sydd wedi dyfod i lawr hyd atom ni, yn wir ddefnyddiol; ond rhaid cofio fod yr awduron hyny yn byw yn sefyllfa fabanaidd y byd; ac mai awduron yr oes hon yw y gwir henafiaid, y rhai sydd gwedi canfod gwallau yr oesoedd gynt, a'u diwygio. Felly hefyd y mae rhai yn benthyca eu holl grefydd oddiwrth dadau yr eglwys, neu oddiwrth eu cynghorau eglwysig, yn lle efengyl Crist, ac ysgrifeniadau yr apostolion a'r proffwydi.

Y mae rhai dynion yn credu pob peth a gredir gan eu rhieni, eu perthynasau, neu eu hathrawon. Y mae ganddynt y fath barch tuag atynt, fel y mae yn peri

iddynt lyncu eu holl egwyddorion ar unwaith, heb chwilio yn dêg pa un ai cywir ai annghywir ydynt. Y mae dynion yn derbyn ac yn amddiffyn eu hegwyddorion fel eu hetifeddiaeth, am eu bod yn eiddo iddynt trwy enedigaeth. Yr wyf yn cyfaddef yn rhwydd, fod Duw a natur yn gosod y rhieni yn ddysgawdwyr egwyddorion a moesau eu plant yn eu dyddiau ieuainc; a dedwydd yw y rhai y mae eu rhieni yn eu harwain i lwybrau gwybodaeth a rhinwedd. Ac yn mhellach hefyd, pan y dêl plant i oedran ac addasrwydd i farnu drostynt eu hunain, dylent chwilio egwyddorion eu rhieni gyda gwylder a pharch, gan gydnabod eu rhagoriaeth; ac mewn pethau amheus, dylent roddi y flaenoriaeth i'w rhieni, a dangos iddynt y parch dyledus iddynt, a pheidio byth âg ymadael â'u hegwyddorion a'u hymarferiadau hyd nes y byddo rheswm a chydwybod yn gofyn. Ond rhaid ystyried hyny hefyd, y gall ein rhieni fod yn wallus; gan hyny rheswm ac ysgrythyr a ddylent fod yr unig reolau wrth y rhai y dylem farnu pethau a berthyn i'r byd hwn ac i'r hwn a fydd.

Weithiau y mae rhyw awdwr enwog a galluog yn tynu miloedd ar ei ol i'w ffaeleddau a'i gyfeiliornadau, yn unig trwy rym ac awdurdod ei enw. Felly y bu enw Aristotle yn holl ysgolion Ewrop am ganrifoedd; a byddai cyfeiriad i'w waith ef yn ddigon i brofi unrhyw bwnc. Ar ol hyny y bu Descartes ac ereill yn y byd athronaidd. Nid yw yn ddim gwell yn y byd crefyddol chwaith. Y mae Calvin a Luther, Wesley a Whitfield, yn nghyda llawer o enwogion ereill, â'u canlynwyr ffyddlawn a gwresog. Ond pe na byddai gan neb ddylanwad ar farnau ereill ond dynion da a dysgedig, byddai y rhagfarn yma lawer iawn yn fwy esgusodol; ond pan yr ystyrir fod cyfoeth, anrhydedd, a gwychder allanol yn ddigon i osod dynion yn arweinwyr i ddynolryw, y mae hyny yn drais gwarthus ar ein dealltwriaeth o un tu, ac yn gaethiwed gwarthus ar yr enaid o'r tu arall. Edrychwch i hanesyddiaeth yr eglwys, a gwelwch fel y mae crefydd wedi cael ei derbyn, ei gwrthod, neu ei chyfnewid yn ol ewyllys y brenin neu y mawrion bydol! A pha le bynag y mae

mawredd a gwychder yn gysylltiedig â swyddau eglwysig, y mae y werin yn fwy crediniol o'r hyn a ddywedir gan eu dysgawdwyr. Ond y mae yn eglur nad yw swyddau a dyrchafiadau gwladol nac eglwysig yn un hawl sicr a gwirioneddol i'r gyfryw flaenoriaeth, canys nid yn ol gwir deilyngdod y cyfrenir hwy yn fynych. Yr wyf yn addef, pan y mae dyn oedranus, doeth, a phrofiadol, yn rhoddi ei farn ar unrhyw beth gwladol neu eglwysig, fod rheswm yn ein dysgu i sylwi yn fanwl a pharchus ar yr hyn y mae yn ei ddweyd: ac fe ddichon ei fod yn iawn. Pan y mae hen Gristion yn amlygu ei feddwl ar grefydd ymarferol, dylem dalu parch neillduol i'w olygiadau; ond fe ddichon na ŵyr ef ddim am athroniaeth, gan hyny y mae yn annheilwng i'w barnu.

I ymryddhau oddiwrth y rhagfarn yma, y mae yn ddigon i ni gofio, nad oes yr un dosparth na nodweddiad o ddynolryw â hawl gyfiawn i lywodraethu barnau ereill trwy eu hawdurdod eu hunain; canys y mae dynion o'r un dosparth a nodweddiad gwedi credu a phroffesu egwyddorion hollol wahanol i'w gilydd: nid allant oll fod yn gywir; gan hyny nid yw yr enwogrwydd a berthyn i'r un o honynt, yn ddigon o sylfaen i gredu ei fod yn iawn. A gawn ni gredu yr henafiaid mewn athroniaeth? Yr oedd rhai o honynt yn Stoiciaid, rhai yn Beripatetiaid, rhai yn Blatoniaid, rhai yn Epicuriaid, rhai yn Amheuwyr, &c.; ac yn mhlith yr holl amrywiaeth yma, pa rai a ddylem eu credu? neu a ddylem eu credu oll?

Credu yn, a gorphwys ar, yr hyn a ysgrifenwyd gan yr henafiaid, yw yr unig ffordd i attal pob diwygiad, ac i gadw y byd mewn tywyllwch oesol. Pe mai hyn a fuasai yn iawn, buasai yr enwog Bacon, Copernicus, Descartes, yr anfarwol Newton, Locke, a Boyle, yn nghyda llawer ereill, gwedi rhoddi eu galluoedd ar waith i ddim defnydd. Buasai yn rhaid i'r byd fyned yn mlaen o oes i oes yn nghanol tywyllwch ac annghysonderau gwrthun, ac yn amddifad o lawer o gelfyddydau a dadenhuddiadau gwerthfawr ag sydd wedi llesâu a dedwyddu llawer ar yr hil ddynol. Os

fel hyn y mae yn y byd athronyddol a chelfyddydol, pa fodd y mae gyda chrefydd? Yma eto nyni a gawn rai yn Galfiniaid, rhai yn Arminiaid, rhai yn Sociniaid, yn nghyda lluaws o fân ddosparthiadau ereill yn mhlith Protestaniaid,—a rhai yn Babyddion—oll yn ymrestru dan yr enw Cristionogion; heb son dim am wahanol grefyddau y byd. Ond fe allai y gofynir yn awr, a ddylai ein henafiaid ddim penderfynu ein barn mewn pynciau crefyddol? Wel, os felly y dylai fod, yna y mae yn rhaid i blentyn yr eilunaddolwr, fod yn eilunaddolwr—i blentyn y Pabydd fod yn Babydd—i blentyn yr Iuddew fod yn Iuddewaidd—ac i blentyn y Sociniad fod yn Sociniad; ac felly yn olynol hyd ddiwedd amser. Os oes rhwymau arnom i gredu egwyddorion ein tadau mewn crefydd, heb fod ein barn a'n cydwybod yn ein harwain yr un ffordd, yna rhaid i bob gwlad a phob teulu aros fel y mae yn bresenol, oes ar ol oes, hyd ddiwedd y byd.

Ond nid yw y Creawdwr mawr wedi rhoddi awdurdod na rhyddid i un dyn rwymo arall at ei farn ei hunan, o'r hyn lleiaf pan y byddo wedi cyrhaedd oedran addas. Nid all yr un dyn, pa mor ddysgedig, doeth, neu urddasol bynag y byddo, neu pa swyddau gwladol neu eglwysig bynag a fo ganddo, hòni yr awdurdod yma. Ni wnai yr apostol Paul hyn fel person unigol; ac nid oes gan berson ysbrydoledig y fath awdurdod, hyd y dengys ei awdurdodiad. Fe ddywed ein Hiachawdwr ei hunan wrth yr Iuddewon, pe na buasai wedi gwneyd y fath weithredoedd rhyfeddol yn eu plith, na buasai arnynt bechod o anghredu ei athrawiaeth, a'i wrthod fel y gwir Fessia. Ac nid oes awdurdod gan esgob, gweinidog, na chymanfa, i rwymo neb i gredu egwyddorion crefydd, yn ol fel y maent hwy yn eu credu. Rhaid i ni gredu yn gydwybodol yn ol y goleuni sy genym ar bethau; ond bod yn rhaid i ni hefyd lafurio yn ol ein manteision, gyda diwydrwydd cywir a diflino er cael gafael ar y gwirionedd: canys rhaid i bob un o honom roddi cyfrif i Dduw am ei ymddygiadau a'i gredoau.

Ond er fod cymaint perygl o gyfeiliorni yn tarddu o'r tri math olaf o ragfarn a nodwyd, eto, cyn y ter-

fynaf, dymunwn sylwi, er nad yw addysg, arferiad, ac awdurdod, yn arwyddion sicr o wirionedd, nad ydynt chwaith yn arwyddion sicr o dwyll: fe all ein rhieni, ein cyfeillion, a'n hathrawon, fod yn eithaf cyson â rheswm ac ysgrythyr yn eu credoau. Byddai ystyriaeth ddyladwy o hyn yn lles mawr i rai dynion ieuainc penffol, sydd i'w cyfarfod yn awr a phryd arall, yn llawn o awydd i ymwrthod â holl egwyddorion eu rhieni, neu eu hathrâwon, yn unig er mwyn dangos nad ydynt hwy dan ddylanwad rhagfarn oddiwrth addysg nac awdurdod. Y mae llawer o honynt yn anwesu pob math o egwyddorion ac arferion llygredig, oddiar ryw goeg ymhòniad eu bod o egwyddorion rhydd. Ond ah! nid yw hyn ddim amgen na newid un rhagfarn am un arall; ac fel hyn y mae yn dygwydd yn fynych, eu bod yn gwerthu y gwirionedd a rhinwedd i ragfarn ffiaidd eu balchder a'u llygredigaeth.

Wedi cymeryd golwg fèr fel hyn ar rai o'r aneirif wahanol ragfarnau y mae dynolryw yn agored iddynt ar bob llaw yn y byd hwn, a'r perygl o gyfeiliorni yr ydym yn agored iddo yn barhaus yn y bywyd hwn; nyni a derfynwn y bennod hon gydag un sylw ac un cynghor. Y sylw yw hwn: Gall yr un golygiad, pa un ai gwir ai anwir, gael ei fabwysiadu gan wahanol ragfarnau ar yr un pryd; canys, fel y crybwyllais o'r blaen, fe all rhagfarn ddygwydd mabwysiadu y gwir weithiau yn gystal a thwyll. Ond pan y mae dwy ragfarn, neu chwaneg, yn gwrthwynebu eu gilydd, fel y mae yn dygwydd yn fynych, y gryfaf sydd yn ennill y fuddugoliaeth; eto pa mor anaml y mae rheswm yn myned rhyngddynt, ac yn ennill y fuddugoliaeth, fel y dylai! A'r cynghor ydyw, gan ein bod yn gweled fod y fath luaws dirfawr o ragfarnau yn perthyn i ni, oddifewn ac oddiallan; gan ein bod yn teimlo gwendid ein rheswm, breuolder ein natur, a'n hanalluogrwydd i ymgadw oddiwrth gyfeiliornadau o herwydd hyny, nid yw yn beth anaddas ac annheilwng i'r gwir athronydd, wrth wneyd ymchwiliad têg ar ol y gwirionedd, gyfeirio ei weddiau tua'r nef, ac erfyn ar i Dduw y gwirionedd ei dywys ef i bob gwirionedd.

## PENNOD II.

DUWINYDDIAETH NATURIOL—DUWINYDDIAETH DATGUDDIEDIG — GWIRIONEDD CRISTIONOGAETH — Y GYFUNDRAETH GRISTIONOGOL — EFRYDU YR YSGRYTHYRAU—CYFUNDRAETH O FOESDDYSG CRISTIONOGOL—DUWINYDDIAETH DADLEUGAR.

O BOB gwybodaeth, y wybodaeth am Dduw, a'r dyledswyddau sydd ar ddyn iddo, yw yr un fwyaf pwysig. Y mae hon, mewn ystyr neillduol, yn dwyn perthynas â ni fel deiliaid byd arall, ac yn dwyn yr un berthynas â phawb fel eu gilydd. Gan hyny dylai y wybodaeth hon ddwyn ein sylw blaenaf, a dylai pob gwybodaeth arall fod yn wasanaethgar iddi. Fe elwir y wybodaeth hon yn Dduwinyddiaeth—a gellir ei ddosparthu yn ddwy ran; sef Duwinyddiaeth Naturiol, a Duwinyddiaeth Datguddiedig.

I. *Duwinyddiaeth Naturiol* yw y wybodaeth a ellir ei chael am Dduw, ac am ein dyledswyddau iddo ef ac i'n cydgreaduriaid, oddiwrth bethau natur, neu y greadigaeth. Y mae yr ysgrythyrau eu hunain yn ein dysgu, y gellir adnabod Duw a'i briodoliaethau, yn nghyda'n dyledswyddau iddo ef ac i'n cydgreaduriaid, i raddau pell, oddiwrth bethau natur yn unig. Am wybodaeth naturiol o Dduw dywedir, "Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw; a'r ffurfafen sydd yn mynegu gwaith ei ddwylaw ef." Ac eto, "Canys ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef ei dragwyddol allu ef a'i Dduwdod." Ac am wybodaeth o'n dyledswyddau, dywedir hefyd, "Pan yw y Cenhedloedd y rhai nid yw y ddeddf (ysgrifenedig) ganddynt, wrth naturiaeth yn gwneuthur y pethau sydd yn y ddeddf, y rhai hyn heb fod y ddeddf ganddynt, ydynt ddeddf iddynt eu hunain: y rhai sydd yn dangos gweithred y ddeddf yn ysgrifenedig yn eu calonau, a'u cydwybod yn cyd-dystiolaethu, a'u meddyliau yn cyhuddo eu gilydd, neu yn esgusodi." Ond er nad yw duwinyddiaeth naturiol yn hanfodol angenrheidiol i ddeall yr ysgrythyrau, nac yn rhan uniongyrchiol o'r grefydd Gristionogol, eto mi a ddy-

munwn i'r efrydydd sylwi ei fod o bwys a defnyddioldeb neillduol i'r Cristion. Gan mai yr un Duw (canys nid oes Duw arall) yw awdwr natur a datguddiad, yr hwn sydd yn llefaru wrthym yn un trwy ei weithredoedd, ac yn y llall trwy ei Ysbryd; y mae o bwys neillduol i'w holl greaduriaid wrando yn barchus ar ei lais, pa ddull bynag yr ewyllysia lefaru wrthynt. Yn awr, i gael deall lleferydd Duw yn ei weithredoedd, rhaid i ni eu myfyrio yn fanwl. Rhaid i ni wybod beth sydd yn bod, a pha beth yw dyben yr hyn sydd yn bod. Er anghraifft, nyni a wyddom fod toraeth mawr o ryw fath o fwswgl yn Lapland yn y gauaf—fod y carw gogleddol * yn byw arno, ac yn mwynhau iechyd, nerth, a hoenusrwydd, mewn sefyllfaoedd y trengai y rhan fwyaf o greaduriaid; bod camelod yn Affrica—bod ganddynt draed llydain, ac ystumogau a ddichon gadw dyfroedd am lawer o amser—a'u bod yn byw yn naturiol mewn lleoedd y trengai y carw ynddo cyn pen diwrnod. Y mae hyn yn perthyn i'n gwybodaeth o'r hyn sydd yn bod. Yn awr, wrth fyfyrio ar y ffeithiau yma, fe arweinir y meddwl yn naturiol i ganfod mai un dyben o'r mwswgl yn Lapland yw bwydo a chynal y carw er mwyn gwasanaethu dyn mewn sefyllfa ac amgylchiad nad allai nemawr o greaduriaid fod yn wasanaethgar; a bod traed llydain gwedi eu rhoddi i'r camel i'w wneyd yn alluog a chymhwys i gerdded ar hyd y tywod, ac ystumog fel sy ganddo, i'w gynysgaethu â moddion addas i fyw mewn gwlad lle nad oes fawr o ddwfr; ac felly y mae yn wasanaethgar i ddyn yn ei deithiau tros grasdiroedd tywodlyd, na fyddai creaduriaid ereill o ddim defnydd. Y dosparth yma yw y ffeithiau cyntaf ac amlycaf yn nghrefydd natur i brofi bodoliaeth Awdwr natur, a'i fod wedi llunio y cwbl mewn daioni. Ond tuag at gael golygiadau eang ar grefydd natur, rhaid efrydu gwrthddrychau natur, yn nghyda eu perthynas â'u gilydd, yr hyn sydd yn ffurfio y tri dosparth cyffredin o athroniaeth—sef athroniaeth *naturiol*, *foesol*, a *meddyliol*. Gan y daw hyn dan ein sylw yn y bennod nesaf, awn heibio yn awr ar hyna o grybwylliad.

* Math o garw a ddefnyddir i lusgo menau heb olwynion.

*Duwinyddiaeth datguddiedig* yw y wybodaeth o Dduw, ac o'n dyledswyddau iddo ef a'n cydgreaduriaid, fel yr amlygir yn y Beibl, ac yn neillduol yn y Testament Newydd. Y wybodaeth hon o grefydd a elwir yn fwyaf penodol yn *dduwinyddiaeth*. Yn awr, gwaith yr athronydd yw egluro natur, neu iaith Duw yn ei weithredoedd; ond gwaith y duweinydd yw egluro yr ysgrythyrau, neu iaith Ysbryd Duw. Y mae lluaws o'r un pethau i'w canfod yn y ddau lyfr; ac y mae o ddefnydd a buddioldeb neillduol myfyrio y ddau, gan y gall yr hyn a fyddo yn ymddangos yn dywyll yn un, gael ei egluro i raddau trwy fod yr un peth yn oleu yn y llall. Y mae i bob un hefyd ei anhawsderau a'i ddirgeledigaethau. Fe addefa yr athronydd mwyaf treiddgar, yn rhwydd, fod llawer o ymddangosiadau naturiol nad all ef mo'u hegluro; a rhaid fod mwy o ryfyg a hunan-dyb nag sydd o ddysg a doethineb yn y duweinydd hwnw, beth bynag fyddo ei gyrhaeddiadau, na addefa fod llawer o adnodau yn y Beibl nad all yntau mo'u hegluro. Yn awr, os yw Duw wedi gweled yn dda i amlygu ei hun mewn dwy iaith wahanol, onid yw yn naturiol meddwl, fod cymharu y ddwy yn amyneddgar â'u gilydd, yn foddion i'r naill lewyrchu ar, ac egluro y llall.

II. Yn awr, ymddengys mai y peth cyntaf sydd i'r duweinydd Cristionogol i'w wneyd, ydyw boddhau ei hun mewn perthynas i *ddwyfoldeb* ei grefydd. Y cwestiwn mewn gair yw hwn, Pa un ai o'r nef ai o ddynion yw yr athrawiaeth a bregethwyd gan Grist? Credo ei holl ddylynwyr yw mai o'r nef y mae; ond tystiolaeth yr Iuddewon a'r paganiaid yw, mai o ddynion y mae. Y mae y Mahometaniaid yn cyfaddef dwyfoldeb ei tharddiad, y mae yn wir; ond gan eu bod yn haeru nad oes genym ni y wir wybodaeth o honi—bod yr Hen Destament a'r Newydd gwedi eu llwyr lygru, hyd yn nod yn y gwirioneddau mwyaf sylfaenol; rhaid i ni eu rhestru hwythau gyda'r anffyddwyr o bob dosparth. Tuag at i ni wneyd archwiliad têg i wirionedd a dwyfoldeb ein crefydd, rhaid i ni gymeryd golwg ddeublyg ar y pwnc: yn gyntaf, natur y grefydd ynddi ei hunan—ac yn ail, prawf o wirionedd datguddiad y grefydd. Dan y pen cyntaf

dylem ystyried ei theilyngdod i Dduw ei hawdwr, a'i chysondeb â moesoldeb y natur ddynol. Rhaid i ni chwilio, i ddechreu, beth yw y grefydd ei hunan: ac yn y golygiad yma yr unig faes yw yr ysgrythyrau. Y mae y rhan fwyaf ag sydd wedi gwrthwynebu Cristionogaeth o ran ei natur, wedi gwneyd hyny mewn camgymeriad o'r pwnc. Y maent gwedi camgymeryd ysbryd crefyddwyr am ysbryd yr efengyl. Y mae chwilio beth yw ein crefydd yn iaith a dull yr Ysbryd o'i hegluro yn y Beibl, ac nid yn nhraddodiadau a dychymygion dynion, yn foddion mwy effeithiol i chwalu niwl a thywyllwch y gwrthwynebiadau yma, na'r holl resymau dynol gyda'u gilydd. Y mae rhyw nerth yn ysbryd, egwyddorion, a moesoldeb ein crefydd, pan y chwilir hi yn dêg yn y Testament Newydd, ac nid yn ngwaith dynion, nad all yr un galon sydd yn meddu ychydig o deimlad ei wrthsefyll ef. Yn nesaf, nid yn unig rhaid i ni chwilio beth yw crefydd ei hunan, ond rhaid i ni hefyd chwilio athroniaeth y natur ddynol, fel y gallwn gymharu y ddau â'u gilydd, a gweled eu cysondeb. Y mae hyn yn gynwysedig yn benaf mewn athroniaeth foesol a meddyliol. Gellir dosparthu yr ail ben, sef prawfiadau allanol o wirionedd ein crefydd, i dri dosparth cyffredinol—proffwydoliaethau, gwyrthiau, a llwyddiant Cristionogaeth. Mewn cysylltiad â phroffwydoliaeth y mae dau gwestiwn i'w chwilio—sef, yn gyntaf, Beth yw ystyr y broffwydoliaeth—ac yn ail, A gyflawnwyd hi fel y tystiolaethir. Pwnc o ferniadaeth yw y cyntaf; a phwnc o hanesiaeth yw yr ail. Am wyrth y mae dau beth i'w ystyried—gwirionedd yr hanes, ac athroniaeth y ffaith. Ac am lwyddiant Cristionogaeth, dylid ystyried eangder y llwyddiant, nodweddiad y grefydd, a dull ei llwyddiant.

Y mae un cwestiwn yn tarddu yn naturiol yn y fan yma; sef, A ydyw yr efrydydd i ddarllen yr holl wrthddadleuon a ddygir yn mlaen gan elynion ein crefydd, yn nghyda'r holl atebion a wnaed iddynt gan amddiffynwyr crefydd? Nac ydyw; byddai hyny yn ormod o orchwyl iddo, trwy y byddai yn rhaid iddo ddarllen lluaws aneirif o gyfrolau ar bob tu o'r ddadl. Ni fyddai y tâl yn ddigonol i gyfateb i'r drafferth. Ac er

fy mod yn golygu y gellir defnyddio y cyfryw draethodau dadleugar yn achlysurol, eto ni wnawn mewn un modd gymeradwyo defnyddiad rheolaidd o honynt. Ymddengys i mi, fod arferiad o'r fath yn niweidio cyneddfau dyn fel creadur rhesymol; pan, yn ymddangosiadol, nad yw ond eu dwyn i ymarferiad. Y mae yn gwneyd mwy na hyny—y mae yn niweidio y dymher yn fawr, ac yn enyn dyn âg ysbryd dadleu ac ymryson; ac yn ngwres y frwydr, i aberthu y gwirionedd am oruchafiaeth. Nid fy mod am attal rhyw un a fyddo âg amheuon yn ymgodi yn naturiol yn ei feddwl, i ddefnyddio yn ddiduedd unrhyw awdwr a fyddai o ddefnydd i'w symud, ac i chwilio y pwnc yn ddiragfarn. Nid y gwir, ond y twyll, sydd yn ofni y goleuni, ac yn dychrynu rhag ofn cael ei brofi yn ddiduedd. Cynghor diragfarn yr apostol yw, "Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda,"—cynghor nad yw yn anadlu dim o'r ysbryd cul a phleidgar a fu mor aml yn mhlith Cristionogion o bob enwad. Neu os bydd amgylchiadau rhyw un yn ei wneyd yn agored i ymosodiadau rhyw gecrwyr, bydd yn ddigon priodol i hwnw barotoi arfogaeth y lle cyntaf y gallo, fel na hudir ef gan eu twyll-resymau, ac na chânt hwythau fuddugoliaeth ymddangosiadol ar y gwirionedd. Ond pan nad yw hyn yn angenrheidiol, nid wyf yn golygu mai y dull yma yw y goraf. A fynech chwi gan hyny i'r efrydydd duwinyddol esgeuluso y cwestiwn pwysig yma, sydd yn sylfaen megys i'r cwbl? Na fynwn mewn un modd. Nid wyf am iddo adael y pwnc o'r neilldu, ond yn unig iddo beidio â phrysuro i orlwytho ei gof gyda gwaith dynion dadleugar, a chyda ffiloreg a fagwyd mewn penau segurllyd. Yr wyf am iddo adael hyn o'r neilldu, meddaf, fel y gallo ganlyn llwybr gwell, a mwy effeithiol a boddhaol.

Yr ydym wedi crybwyll eisioes fod prawfiadau o wirionedd Cristionogaeth yn gynwysedig mewn rhan mewn athroniaeth, hanesiaeth, a berniadaeth. Gan hyny, y mae yn rhaid i'r efrydydd wneyd ei hun yn gydnabyddus â'r rhai hyn, fel nad rhaid iddo edrych â llygaid rhai ereill. Ond fe allai y dywedir fod hyn yn ein harwain ar hyd meithach ffordd o lawer: fod y ffrydiau wrth law, ond bod y ffynnon yn mhell ac yn

guddiedig. Y mae hyn yn wir; ac am hyny, ni a fyddwn lawer hwy yn cyrhaedd y nôd; ond pan unwaith y cyrhaeddir, dyna'r gwaith ar ben: pryd y mae y ffrydiau yn aneirif, a phob dydd bron yn datguddio un newydd na wybuwyd o'r blaen, a cheisio eu chwilio oll fyddai yn waith diddarfod. A phe gellid gwneyd hyny, ni byddai yn hanner mor foddhaol i'r meddwl. Gwall penodol sydd yn y byd er's oesoedd yw meddwl fod darllen llawer yn gwneyd un yn ddysgedig iawn. Nid oes cyfeiliornad mwy dinystriol i synwyr cyffredin yn bod. Rhaid addef fod darllen yn angenrheidiol, ac nad ellir byth gyrhaedd enwogrwydd heb hyny. Ond y mae dau bwnc yn gysylltiedig â hyn, y dylai yr efrydydd eu cofio bob amser. Un yw, fod mwy yn dibynu ar ansawdd yr hyn a ddarllenir, nag ar luosogrwydd: a'r llall yw, fod mwy yn dibynu ar y defnydd a wneir o'r hyn a ddarllenir, trwy fyfyrio, adolygu, ymddyddan, cyfansoddi, &c., nag ar y ddau gyntaf. Tra y bloeddir yn barhaus, "Darllenwch esponiadau, egluriadau, cyfundraethau, dadleuon, atebion," yn nghyda mil o'r cyfryw bethau; mi a feddyliwyf mai y cynghor mwyaf pwysig fyddai, Darllenwch ac efrydwch yr ysgrythyrau eu hunain, a chwi a ddeuwch yn gydnabyddus â'u hathrawiaethau yn eu purdeb a'u symlrwydd eu hunain. Gwnewch eich hun yn gyfarwydd yn y cangau hyny o wybodaeth a rydd y gwir oleuni i chwi ar air Duw, heb ei dywyllu â chynghorion a golygiadau dynol. Fe ddaw y cangau yma dan ein sylw yn fwy neillduol eto cyn diwedd y bennod. Heb y cynorthwyon yma, fe'ch dyrysir ac fe'ch collir yn nghanol tryblith o groes esponiadau ac o olygiadau gwrthwynebol. Ond yn y gwrthwyneb, os ewch yn mlaen am ychydig yn ddifater am y gwâgwrthddadleuon, gan lafurio yn ddyfal ac yn amyneddgar yn y dull a nodwyd, fe gilia yr holl wrthddadleuon yn raddol, fel cysgodau y nos, o honynt eu hunain. Chwi a ganfyddwch fod llawer o honynt gwedi eu seilio ar anwybodaeth o'r natur ddynol; ereill ar anwybodaeth o natur y ddadl, sef cynwys a thuedd yr ysgrythyrau; ac ereill hefyd yn tarddu yn unig o lygredd y galon. Gan hyny cynghorem yr efrydydd ieuanc i fod yn amyneddgar mewn cysylltiad â dadl-

euon yn erbyn Cristionogaeth, nes y byddo wedi casglu digon o oleuni ynddo ei hunan i ganfod eu hanalluogrwydd, ac i egluro eu gwendidau. Yr unig eithriadau cywir i hyn yw yr hyn a nodwyd o'r blaen. Pan y mae gwrthddadleuon yn cael eu trawsgymhell ar un, ac yn tueddu i ddyrysu ei feddwl, neu ynte, os bydd ef yn analluog i'w hateb, a hyny yn achlysur o orfoledd i anffyddwyr, yna y mae yn addas iddo ddefnyddio y moddion rhwyddaf a chyntaf i amddiffyn y pwnc.

Ond fe allai y gofyna rhyw un, A ydyw y dull yma ddim yn annghyson? A ddylem ni ddim boddloni ein hunain yn gyntaf mewn perthynas i wirionedd dwyfoldeb y Beibl, ac wedi hyny gwneyd archwiliad i'w gynwysiad? Ai nid dwyfoldeb ei darddiad a ddylai fod y cwestiwn blaenaf, ac yna ei athrawiaeth? Ar gipolwg, gall hyn ymddangos yn gywir, ond nid yw mewn gwirionedd. Sylwyd o'r blaen, nad ellir amddiffyn na gwrthwynebu Cristionogaeth yn deilwng, heb wybod yn gyntaf beth yw ei nodweddiad gwirioneddol. Gan hyny, defnyddio y moddion mwyaf effeithiol i'n harwain i ddeall gwir nodweddiad ein crefydd, yw defnyddio y moddion mwyaf effeithiol i ddeall un o'r prif resymau o'i phlaid neu yn ei herbyn. Eto, y mae yn annichonadwy i ni farnu yn gywir, pa un ai cyfiawn ai annghyfiawn yw yr ymosodiadau a wneir ar Gristionogaeth, oni fyddwn yn deall beth ydyw Cristionogaeth. Y mae hyn yn fwy angenrheidiol fyth, pan yr ystyriwn fod pethau gwahanol iawn i'w gilydd yn cael eu gwrthwynebu, a hyny dan yr enw mai Cristionogaeth a wrthwynebir. Nid yr un peth yn hollol sydd gan yr anffyddiwr yn Lloegr ag yn Hispaen, nac yn Sweden ag sydd yn un o'r ddau; ac y mae yn wahanol eilwaith yn Switzerland. Y gwir yw, y mae pob gwrthwynebwr yn ymosod ar Gristionogaeth yn ol fel y mae yn cael ei hegluro a'i harfer o'i amgylch ef, ac nid fel y mae yn cael ei hegluro yn y Beibl. Ond os gwirionedd sefydliad Crist, ac nid egluriadau ein hathrawon, yw pwnc ein hymchwiliad; os gorchymynion Duw sydd yn codi aiddgarwch ynom, ac nid traddodiadau y tadau, nyni a ddylem fod yn alluog i wahaniaethu rhyngddynt cyn ymosod ar y ddadl. Dyma y prif achos fod llawer iawn o amser a

llafur yn cael ei dreulio—yn waeth na'i ofer-dreulio—a attelid pe bae y pleidiau yn deall y pwnc sy mewn dadl. Gadewch i mi ddefnyddio anghraifft i egluro y peth. Beth pe bae rhywun yn ymosod i brofi wrthych fod cyfansoddiad llywodraeth Prydain yn un drwg yn mhob ystyr? A fyddech chwi yn alluog i farnu grym ei resymau, pe baech yn anwybodus beth yw y cyfansoddiad? Chwi a fyddech yn agored i gael eich twyllo â'r anwireddau mwyaf gwrthun, a'r camddeongliadau mwyaf diffaith; yr hyn ni fyddai, pe baech ond gwedi efrydu y cyfansoddiad ynddo ei hun yn unig. Gan hyny, y drefn a nodwyd yw yr un fwyaf syml a naturiol. Yn y drefn hon chwi a fyddwch, trwy yr un ymdrechion, yn dyfod i wybodaeth am gynwysiad a nodweddiad crefydd, ac am rai o'r prif resymau drosti: ac felly fe rwyddheir ac fe leiheir eich llafur.

At hyn, medd Mr. Campbell, gadewch i mi grybwyll, mai hon yw y drefn oraf yn ol fy mhrofiad i. Mi a ymroddais i fod yn gyfarwydd yn yr ysgrythyrau er yn ieuanc, pa rai, fel y canfyddais yn union wrth i mi eu defnyddio, oeddent yn teilyngu sylw manwl a chyson, pe nad ystyrid hwy yn ddim uwch na chyfansoddiadau dynol; ond llawer mwy wrth eu golygu yn ddatguddiad dwyfol. Fel yr oeddwn yn cynyddu mewn gwybodaeth o'r ieithoedd gwreiddiol, ac o arferion a defodau y dwyrain, mi a ddechreuais ddefnyddio y wybodaeth yma i symud anhawsderau ac amheuon pan y cyfarfyddwn â hwy yn yr ysgrythyrau. Weithiau yr oeddwn yn llwyddo, bryd arall yn methu. Ond er methu, nid oeddwn yn colli fy amynedd; canys yr oeddwn yn credu, yn ol fel y cynyddai goleuni gwybodaeth yn y pethau hyn, y gwelwn inau yn mhellach ac yn fwy eglur. A gallaf ddweyd mewn gwirionedd, na siomwyd fi yn hyn. Yn mhen rhyw amser wedi hyny, dechreuais ddarllen awduron dadleugar, ac yn gyntaf, y rhai hyny ar y ddadl yn gyffredinol, a ydyw yr ysgrythyrau yn cynwys datguddiad oddiwrth Dduw? neu, yr hyn sydd o'r un cynwysiad, pa un ai dadleniad dwyfol i ddynion yw Cristionogaeth, neu ynte peth o ddyfais ddynol. Mi a ddechreuais gyda'r gwrthwynebiadau a wneir i'n crefydd; gan benderfynu ei wneyd o yn rheol, i wrando ar ddadl y blaid yn

gyntaf yn ei hiaith ei hun, ac nid yn ngeiriau rhyw wrthwynebwr digofus ac annhêg fe allai.

Ar ol darllen unrhyw ymosodiad, os byddai rhyw beth ynddo yn teilyngu sylw, ystyriwn ynof fy hun, pa fodd yr atebwn y prif resymau pe gosodid hwy ger fy mron yn bersonol gan ryw wrthwynebwr, er mwyn gwarthruddo crefydd, neu ynte fel amheuon gan gyfaill er mwyn cael eu symud. Os dyrysid fi gan y rhesymau, ac heb allu boddhau fy hun âg unrhyw atebiad a allwn feddwl am dano fy hunan, awn yn ddioedi i wneyd prawf o'r goraf a glywn am dano gan ereill. Ond yr oedd yn wahanol yn fynych iawn: ar ol ychydig o ystyriaeth, yr oeddwn yn gweled y gallaswn ateb rhesymau y gwrthwynebwr yn foddhaol i mi fy hun; gan hyny, nid oeddwn yn canfod un angenrheidrwydd colli amser i chwilio beth oedd ereill yn ei ddweyd. Yn ol y dull yma, yr wyf wedi darllen mwy o wrthwynebiadau i'r datguddiad, nag o amddiffyniadau. Aethym mor bell yn y dull yma unwaith ag i gyhoeddi atebiad i un ymosodiad cyfrwys ar y grefydd Gristionogol gan athronydd enwog diweddar, cyn i mi gael cyfleusdra i ddarllen gwaith yr un atebwr arall. Ond nis annogwn i neb i fy nghanlyn yn hyn, am ei fod yn gadael dyn yn agored i gamgymeriadau y gallai ymgadw yn hawdd oddiwrthynt. Ond cyn terfynu â'r mater, crybwyllaf mai yr unig fath o wrthwynebiadau a ellir eu dwyn yn mlaen yn erbyn crefydd, yn hollol annibynol ar ei chynwysiad a'i hanes, yw y rhai hyny a amcenir i brofi yr annichonolrwydd i unrhyw wyrth gymeryd lle. Gellir myfyrio y dosparth yma yn mlaen llaw, am ei fod yn hollol ddansoddol ac uchanianol *(metaphysical)*; a byddai yr un, beth bynag fyddai hanes, nodweddiad, neu ansawdd ein crefydd.

III. *Y gyfundraeth Gristionogol.*—Yr wyf yn awr yn amcanu sylwi ar wahanol ranau y gyfundraeth Gristionogol, a'r dadleuon sydd wedi bod yn mhlith y gwahanol enwadau crefyddol mewn perthynas i'r iawn fodd o'i hegluro. Gan fod trefn yn tueddu yn fawr at ein rhwyddhau a'n cynorthwyo i fyned yn mlaen gydag unrhyw beth, ymddengys i bob dyn ystyriol y byddai dosparthiad rheolaidd o egwyddorion y Beibl yn ddaioni ac yn fantais neillduol: er nad yw hyny yn an-

hebgorol angenrheidiol, fel y gallwn gasglu oddiwrth y ffaith anwadadwy, nad oes yr un dosparthiad o'r fath yn y Beibl ei hun, ac nad oedd yn oesau boreaf Cristionogaeth. Ond eto, nid yw yr ystyriaethau hyn yn un rheswm yn erbyn ei ddefnyddioldeb. Y mae Duw yn nhrefn gras, fel yn nhrefn natur, yn cynysgaethu dyn â'r holl bethau sydd yn angenrheidiol, ond ar yr un pryd yn gofyn iddo ddefnyddio ei gyneddfau i droi y cyfryw bethau i ateb y dyben goraf. Fel hyn gellid dadlu llawer dros gyfundraethau, a'u hawdwyr o wahanol enwadau. Ond y drwg yw, fod genym luaws o gyfundraethau, ac mewn llawer iawn o bethau yn gwrthddweyd eu gilydd, er eu bod oll yn haeru eu bod gwedi eu sylfaenu ar, ac yn gyson â, yr ysgrythyrau. Pa fodd y mae yr efrydydd ieuanc i fyned yn mlaen yn mhlith y fath amrywiaeth? A raid iddo ddechreu trwy ddewis rhyw un o'r cyfundraethau yma fel yr unig un sydd yn cynwys gwirioneddau dilwgr crefydd, a'i myfyrio yn ddwys fel safon y gwirionedd, ac fel sylwedd a mêr ein sefydliad dwyfol? A raid iddo ddysgu oddiyno, yn nghydag esponwyr o'r un golygiadau, beth yw meddwl y Beibl; a sicrhau pob peth dyrys; amlygu pob peth sydd yn anhawdd; ac egluro pob peth sydd yn dywyll? Pwy a all sicrhau i'r efrydydd ieuanc, fod y cyfryw arweinydd yn ddigon mawr i'r swydd? Pa fodd y gall ef wybod nad canlyn *Jack-â'r-lantern* y mae, ac nid y gwir oleuni nefol? Nid ellwch ddweyd y gall ef wybod hyn oddiwrth y Beibl, canys yr awdwr yma sydd yn ei ddysgu ef i ddeall y Beibl, ac nid y Beibl i farnu yr awdwr. Pe yr olaf fyddai y drefn, byddai yn angenrheidiol iddo fod yn gydnabyddus yn mlaenllaw â meddwl yr Ysbryd fel y mae yn cael ei egluro yn y Beibl, ac nid cymeryd meddwl yr Ysbryd ar air ei athraw.

"Ie," meddwch chwi, "y mae yr awdwr hwnw yn un enwog am ei ddysg a'i dduwioldeb, ac yn hynod o gymeradwy yn mhlith y rhai uniongred fel duweinydd cywir." Wel, gadewch ei fod felly, er fod llawer gwedi twyllo y byd yn y naill a'r llall o'r rhai hyn—a ydyw y ddau nodweddiad yma, hyd yn nod gyda'u gilydd, yn ddigon i sicrhau dyn mewn pwnc ac ymarferiad? A oes dim llawer, ag y mae cariad yn ein

rhwymo i'w barnu yn ddysgedig a duwiol, gwedi coleddu a thaenu barnau hollol groes i'w gilydd, a phob un yn bur benderfynol yn ei bwnc, ac yn ei amddiffyn gydag aiddgarwch a gwresogrwydd? Ac mewn perthynas i fod yn uniongred, mi a ddymunwn wybod beth yw hyny. "O," meddwch chwi, "nid oes dim yn amlycach na hyny. Y rhai uniongred yw y rhai hyny sydd yn gywir yn eu golygiadau crefyddol." Felly: ond pa fodd y gallaf fi wybod pwy sydd yn credu iawn olygiadau, heb wybod yn gyntaf pa olygiadau sydd yn iawn? Rhaid i mi wybod beth yw uniongred, cyn y gallaf farnu pwy sydd yn uniongredu. Yn awr, gwybod gwirioneddau crefydd yn ddigymysg, yw pwnc fy ymchwiliadau; ac a raid i mi gychwyn fy ymchwiliadau ar yr anturiaeth anresymol fod hyny genyf eisioes heb un archwiliad? Ac heblaw hyny, a ydyw y byd wedi cyduno mor gyffredinol ar yr hyn a alwch yn uniongred, fel yr addefir ei fod yn wirionedd eglur a diwrthddadl? Na, y mae yn hollol yn y gwrthwyneb. Nid oes dim y bu dynion, ac a ydynt eto, yn fwy annghytunol yn ei gylch. Fe ystyrir mewn un oes yn uniongred yr hyn a ystyrir mewn oes arall yn benboethni. Y mae yr un peth yn cael ei olygu y dydd heddyw mewn un wlad yn uniongred perffaith, ond mewn gwlad arall yn heresiau dinystriol. Ie, ac onid oes gan bob plaid ei safon ei hun hyd yn nod yn yr un wlad? Gan hyny, pan y mae rhyw un yn defnyddio y gair, cyn y gallwn ei ddeall, rhaid i ni wybod i ba blaid y mae yn perthyn. Pan y deallir hyny, gallwn ei amgyffred: canys wrth yr uniongred y mae yn golygu y rhai sydd yn cyduno âg ef a'i blaid yn eu golygiadau; ac wrth gyfeiliornwyr, y rhai sydd yn gwahaniaethu oddiwrtho. Felly pan ddywed rhyw un am ryw awdwr, fod yr holl rai uniongred yn cydnabod mai awdwr uniongred ydyw, nid yw yn dweyd dim amgen na hyn, "Y mae pawb sydd o'r un golygiadau ag ef, o ba rai yr wyf fi yn un, yn credu ei fod yn gywir." Ac a ydyw hyn yn wahanol i'r hyn y gellir ei sicrhau am bob awdwr a fu erioed neu a ddaw eto? "Geiriau," ebai un athronydd, "yw bwrdd newid dynion call, ac arian ynfydion." A pha beth yw yr holl enwedigaethau ac ymadroddion anysgrythyrol sydd yn y

byd crefyddol, amgen nag offerynau i arwain a chadw y byd mewn anwybodaeth a rhagfarn, i sicrhau ffydd ddiysgog mewn credoau dynol, ac i attal dynion rhag chwilio y Beibl yn ddiduedd?

A ydych chwi am adael cyfundraethau yn hollol o'r neilldu fel pethau diwerth neu niweidiol? Nac wyf mewn un modd. Ond nid wyf am ddechreu gyda hwynt. Yr wyf am i chwi beidio â chwilio dim arnynt hyd nes y byddoch yn o hyddysg yn yr ysgrythyrau. Fel hyn yn unig y gallwn ffurfio rheol i ni ein hunain, wrth ba un y gallwn farnu gwirionedd neu dwyll yr hyn a ddywedant. Fel hyn yn unig y gallwn ddwyn cyfundraethau dynion gerbron gorseddfainc y Beibl, ac nid y Beibl o flaen eu gorseddfeinciau hwy. Fel hyn yn unig y galluogir ni i gyflawni cynghor y proffwyd mewn perthynas i bob dysgawdwr yn ddiwahaniaeth. "At y gyfraith ac at y dystiolaeth: oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt." Fel hyn yn unig y gallwn ddylyn anghraifft ragorol y Bereaid, pa rai, yn unol â chynghor y proffwyd, ni dderbyniasant athrawiaeth Crist fel gwirionedd hyd yn nod o enau ei apostolion, nes iddynt, ar ol gwrando yn foneddigaidd, "chwilio yr ysgrythyrau, a oedd y pethau hyn felly." Fel hyn yn unig y gallwn ochelyd y gwaradwydd o alw dynion yn athrawon ac arweinwyr, yr hyn nid yw deilwng i neb ond i Grist.

Ond odid nad yw yr efrydydd yn barod i ofyn yn awr, "Os yr ysgrythyrau sydd i fod yn destyn cyntaf ein hefryd, oni fydd yn angenrheidiol i ni gael cymhorth ryw esponiwr galluog i hyny?" Efallai yr ymddengys fy ngolygiad ryw beth yn ddyeithr, pan y dywedaf wrthych, na fynwn i chwi ymhel â dim o'r rhai hyny yn y dechre. Na chamgymerwch fi, a thybied fy mod yn golygu nad oes dim daioni i'w gael o esponiadau. Yr wyf yn mhell o feddwl hyn am esponiadau yn gyffredinol, mwy nag am gyfundraethau. Ond nid yw y naill na'r llall yn gymhwys i'r dechrëwr, gwrthddrych pa un a ddylai fod chwilio yn uniongyrchiol beth yw meddwl yr Ysbryd, ac nid meddwl unrhyw awduriaethwr. Y mae gan bob esponiwr braidd ei gyfundraeth ddewisol, yr hon sydd yn denu ei fryd, yn gŵyro ei ddealltwriaeth, ac yn ystaenio ei

holl egluriadau. Yr unig gynorthwyon a gymeradwywn i chwi, yw y rhai na thueddent ddim i ŵyro eich meddwl i un ffordd yn fwy na'r llall. Y mae Duw wedi eich cynysgaethu â barn, ac yn dysgwyl i chwi ei defnyddio. Os oes digon o oleu genych, a llygaid i ganfod, a gymerwch chwi mor drafferth i'w defnyddio, i edrych beth sydd o'ch blaen? a raid dweyd pob peth wrthych fel pe baech yn ddall neu mewn tywyllwch dudew? Gan hyny, y cynorthwyon a gymhellwn i chwi eu defnyddio yw y cyfryw na ddywedant yr un sill wrthych beth yw meddwl y Beibl, ond yn unig taflyd digon o oleuni iddo i ddangos ei hunan. Dymunwn i'r efrydydd fod yn hunan-ddysgawdwr yn benaf, yr hyn, yn fy nhyb i, os dygir yn mlaen mewn iawn lwybr, ydyw y ffordd gywir iddo barotoi ei hun i gael ei ddysgu gan Dduw. Pwy bynag a wrthwynebo hyn, dylai ymwrthod yn gyhoeddus â'r athrawiaeth, fod yr ysgrythyrau yn fuddiol i wneyd dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda. Y mae y cyfryw un yn gwadu mewn effaith yr athrawiaeth Brotestanaidd o eglurdeb a digonolrwydd yr ysgrythyrau. Os ydyw yn gwahaniaethu oddiwrth eglwys Rhufain, nid yw gymaint yn nghylch angenrheidrwydd y swydd o gael arweinwyr dynol mewn crefydd, ond yn nghylch addasrwydd y rhai sydd i lenwi y swydd.

Gadewch i ni ystyried ychydig yn awr ar ganlyniadau y drefn arall, yr hon yw y dull mwyaf cyffredin, nid yn unig yn mhlith Pabyddion, ond hefyd yn mhlith Protestaniaid o bob enwad; sef dechreu ein hefrydion gyda chyfundraethau ac esponiadau, lle y dylent ddiweddu. Dacw yr efrydydd ieuanc yn dechreu ar ei wersi duwinyddol. Os Protestant fydd, dywedir wrtho fod ei holl grefydd yn gynwysedig yn y Beibl; ac os Pabydd fydd, fe ddywedir wrtho yntau fod yr holl ysgrythyrau yn ysbrydoledig, ac o ganlyniad yn wir, a'u bod yn cynwys llawer, beth bynag, o athrawiaethau Cristionogaeth. Gosodir y sylfaen trwy efrydu rhyw gyfundraeth ddewisol a berthyn i'r blaid. Wedi hyny, y mae yn ymosod ar efrydu yr ysgrythyrau. Dacw ef yn dechreu; a chan ei fod yn anwybodus yn y prif bethau sydd yn taflyd llewyrch ar y Beibl, y mae yn

dechreu dyrysu, fel y mae yn naturiol meddwl. Yn ddiamyneddgar yn ngwyneb yr anhawsderau, ac yn dymuno deall y cwbl wrth fyned yn mlaen, rhaid cael rhyw esponiwr i droi iddo. Mynir gafael ar esponiwr cyson â'r gyfundraeth, fel y byddo y ddau yn cydsiared â'u gilydd. Os Rhufain fydd ei le trigianol, fe roddir ryw esponiwr penodol yn ei ddwylaw; os Moscow, un arall; os Geneva, un arall; ac os Llundain, odid na fydd yn wahanol i'r naill a'r llall. Y mae yntau heb yr un safon iddo ei hunan i farnu cywirdeb neu annghywirdeb y golygiadau; ond o'r tu arall, yn credu yn ddiysgog yn noethineb a dysg ei awdwyr, y mae yn llyncu eu holl olygiadau gyda'r rhwyddineb mwyaf. Yr awdwyr yma yw y rhai cyntaf sydd gwedi meddiannu ei farn, ac un o fil nad hwy fydd y perchenogion hyd y diwedd. Rhaid i bob adnod o'r Beibl gyfateb i'r safon y maent hwy wedi ei osod i fyny, pe y gorfyddid ei dirdynu yn y modd mwyaf annaturiol: ac wrth y safon yma hefyd rhaid barnu pob awdwr ac esponiwr yn dda neu yn ddrwg, uniongred neu hereticaidd. Dyma brif ffynnon dallbleidiaeth, yn nghyda'r ysbryd anhywaith sydd bob amser yn perthyn iddo. Canys pan nad oes genym ddim egwyddorion gwybodaeth ferniadol, nid oes genym yr un rheol i ddewis, ond wrth ewyllys yr esponiwr cyntaf a ddefnyddir genym.

Wel, beth a fynwch chwi i ni wneyd? A raid i ni roddi i fyny bob cyfundraeth, esponiad, alleiriad, a'r cyffelyb? Na raid yn hollol; er nad wyf mewn un modd yn golygu y dylid dechreu gyda hwy, na'u defnyddio yn rheolaidd. Pan y byddwn wedi dyfod yn lled hyddysg yn yr ysgrythyrau yn ol iawn gyfundraeth, gallwn droi iddynt yn achlysurol; canys nyni a fyddwn yn alluog i raddau y pryd hyny i wybod a ydynt yn ein harwain yn yr iawn ffordd ai peidio. Ac na fydded i ni gyfyngu ein hunain at rai o un ochr yn unig, ond chwilio yn rhydd rai o bob ochr. Fel hyn y mae yn rhaid i ni wneyd, os cymerwn y Beibl i fod yn benderfynwr y ddadl. Rhaid i'r efrydydd ieuanc gofio yn barhaus, fod pob dyn yn agored i fod yn wallus mewn barn, yn gystal ag mewn buchedd, ac nad all yr un dyn hòni ei fod yn lân oddiwrth gyfeiliornad, yn fwy nag oddiwrth bechod. Pe dywedai Pabydd wrth-

yf, "Y mae y ffordd a gymhellwch yn dra pheryglus; y mae yr ysgrythyrau yn bur dywyll ac amheus, hyd yn nod yn y pethau mwyaf pwysig; gan hyny yr ydych yn y perygl mwyaf o gael eich camarwain ganddynt, yn niffyg i chwi ddewis arweinydd cywir i'ch cyfarwyddo;" pe dywedai Pabydd fel hyn, meddaf, byddwn dan orfod i gredu ei fod yn siared yn eithaf cyson â'i nodweddiad, ac âg egwyddorion cyhoeddus y blaid y perthyna iddi. Ond pe dywedai Protestant yr un peth wrthyf, byddai yn rhaid i mi ei ystyried ef yn un o'r creaduriaid annghysonaf dan haul. Byddai yn gwadu eglurdeb a digonolrwydd y Beibl mewn pethau hanfodol i iachawdwriaeth, ac o hawl i farnu trosom ein hunain, yr hyn oedd y prif achos o'i ymneillduad o eglwys Rhufain. Y mae Rhufain yn gorfodogi i chwi ymddiried yn hyfforddiadau yr eglwys, pa rai, yn ol ei chredo, neu fel y mae yn cymeryd arni gredu, sydd yn anffaeledig: ond y mae y Protestant dan sylw yn fwy ansynwyrol fyth; canys y mae yn haeru y dylech ymddiried mewn rhai y mae yn cyfaddef ei hun nad oes ganddynt fwy o sicrwydd eu bod yn gywir nag sydd genych chwi eich hunan.

Beth yr ydym i'w wneyd, ynte, wrth ddarllen y Beibl, pan y cyfarfyddwn âg anhawsderau? beth gwell a allwn wneyd, na throi yn ddioedi i ryw esponiwr enwog? Efallai yr ymddengys yr atebiad yr wyf yn myned i'w roi yn hynod, am y gwn ei fod yn annghynefin. Os nad ydych yn alluog i chwalu yr anhawsder eich hunan, trwy yr ystyriaeth a'r myfyrdod manylaf, na wnewch o yn rheol i chwilio yn ddioedi am eglurhad arno yn rhyw le arall. Byddwch yn amyneddgar; canys fel y deuwch yn fwy cydnabyddus â thuedd gyffredinol y Beibl trwy ei ddarllen yn aml ac ystyriol, chwi a ganfyddwch lai o anhawsderau yn feunyddiol; hwy a giliant o honynt eu hunain. Fe fydd y rhanau goleuaf yn llewyrchu ar y rhai tywyllaf. Dim ond i chwi fyned yn mlaen trwy gymhorth y gwir gynorthwyon (a ddeuant dan ein sylw yn fuan) fe'ch gwneir cyn hir yn alluog i esponio i chwi eich hunan. Ac yr wyf yn hollol gredu, pe bae y drefn yma yn cael ei defnyddio yn gyffredinol, y byddai y gwahanol olygiadau sydd ar yr ysgrythyrau yn llawer iawn llai nag

ydynt yn bresenol. Fel hyn, ni byddai cymaint ag un ddadl yn mhlith Cristionogion am bob cant sydd yn awr. Pa bryd ynte yr ydych chwi yn golygu fod yn addas i'r efrydydd ddechreu gyda chyfundraethau ac esponiadau? Y mae yr atebiad yn amlwg. Ar ol i chwi gyrhaedd y fath olygiadau ar ysbryd ac egwyddorion yr ysgrythyrau santaidd ag a'ch gwna chwi yn alluog i ffurfio barn am gydffurfiad neu annghydffurfiad yr awduron hyny â hwy. Dylai y duweinydd derfynu ei efrydion gyda'r awduron hyn, ac nid eu dechreu. Beth pe golygem y gellid rhoddi rhyw esponiwr yn eich dwylaw, a'ch arweinia chwi yn iawn bob amser? yr hyn nad all neb ei hòni, os na fydd yn hòni anffaeledigrwydd hefyd. Ond hyd yn nod yn yr amgylchiad hwnw nid wyf yn golygu mai y drefn a wrthwynebwyf a fyddai yr oraf i'r efrydydd er mwyn deall meddwl y Beibl. Nid yw dysg, gan lawer, yn ddim amgen na defnyddiad noeth o'r cof. Darllen a chofio yw y cwbl sydd i'w wneyd yn eu tyb hwy. Ond hyderaf fod yr efrydydd yn deall yn wahanol, fod llawer mwy na hyn i'w wneyd, sef dwyn y farn i weithrediad. Gan hyny, eich dysgu i ddeall yr ysgrythyrau yw eich dysgu yn yr egwyddorion cyffredinol hyny a'ch cynorthwyant chwi yn raddol i ganfod eu gwir ystyr a'u hysbryd o honoch eich hunan.

Mi a derfynaf fy sylwadau ar y pwnc yma gyda chyfieithiad byr o lythyron Persiaidd, ag sydd yn cyddaro â fy ngolygiadau ar y pwnc. Wedi i Rica fod yn gofwyo llyfrgell a mynachlog Ffrengig, y mae yn ysgrifenu at ei gyfaill yn Persia am yr hyn a ddygwyddodd, fel hyn: Fy nhad, ebai fi wrth y llyfrgellydd, beth yw y cyfrolau mawrion yna sydd yn llenwi holl ochr y llyfrgell? Ebai yntau, Dyma ddeonglwyr yr ysgrythyrau. Y mae rhyw luaws anferth o honynt, ebai finau; rhaid fod yr ysgrythyrau yn bur dywyll o'r blaen, ac yn bur oleu yn awr. A oes ryw amheuon yn aros eto? A oes rhyw byncian mewn dadl eto? A oes! ebai yntau mewn syndod. Oes, y mae bron gymaint ag sydd o linellau. Yr ydych wedi fy synu, ebai finau; a pha beth a wnaeth yr holl awduron yma? Yr awduron yma! ebai yntau; ni ddarfu y rhai hyn erioed chwilio yr ysgrythyrau am yr hyn a ddylid ei

gredu, ond am yr hyn yr oeddynt hwy eu hunain yn ei gredu. Ni ddarfu iddynt eu hystyried fel llyfr yn cynwys yr egwyddorion a ddylasent hwy dderbyn, ond fel gwaith a allesid ei ddefnyddio i gyfeirio iddo i brofi eu golygiadau eu hunain. Am hyny, y mae wedi ei lygru drwyddo oll, a phob adnod wedi ei dirdynu er mwyn ateb yn well i'w golygiadau hwy. Gwlad yw lle y mae pob plaid yn anrheithio: maes y gwaed yw, lle y mae pleidiau gelynol yn cyfarfod ac yn ymladd mewn mil o wahanol ffyrdd.

IV. *Efrydu yr Ysgrythyrau.*—Pan y gofynwyd i'r enwog Locke, ychydig cyn ei farwolaeth, pa lwybr yw yr un mwyaf rhwydd a sicr i ddyn ieuanc ddyfod i wybodaeth eang o egwyddorion ac ysbryd y grefydd Gristionogol; atebodd, "Bydded iddo efrydu yr ysgrythyrau santaidd, yn neillduol y Testament Newydd. Yno y mae geiriau y bywyd tragwyddol: Duw yw ei awdwr, iachawdwriaeth yw ei ddyben, a gwirionedd heb ddim cyfeiliornad yw ei gynwysiad." Ond y mae yn yr ysgrythyrau yma lawer iawn o anhawsderau, ac os nad ydym i ddefnyddio esponiadau, pa fodd y deuwn i weled eu cysondeb? Y mae y cwestiwn o bwys ac yn deilwng o sylw: ac ystyriwn fy hun yn bur anfoneddigaidd ac anngharedig i beidio â'i ateb. Canys ni fynwn mewn un modd i chwi ffurfio yr ymarferiad o ddefnyddio esponiadau, yn benodol yn eich blynyddoedd cyntaf o efrydu y Beibl. Heblaw y niwaid a soniwyd sydd yn deilliaw o hyny, y mae yr arferiad yn debyg fel pe gwelech ddyn lled iach yn defnyddio ffyn baglau i gerdded â hwy. Efallai y teimla ar y pryd eu bod yn ei gynorthwyo; ond yn y pen draw ei niweidio y maent. Yn fuan fe deimla fod eu cynorthwy yn angenrheidiol, ac nad all wneyd hebddynt. A theimlad yr efrydydd a fo yn troi i esponiadau ar bob achlysur, fydd, nad oes fawr yn y Beibl ei hunan, ond bod yr esponiad yn llawn. Wel, beth sydd i'w wneyd? A oes dim cynorthwy i'w roi i'r efrydydd i ddeall y Beibl? Oes. Ond y mae yn angenrheidiol i ni sylwi, i ddechreu, pa mor belled y mae arno angen cynorthwy. Yr ydym yn gwadu nad oes angen dweyd wrth yr efrydydd beth yw ystyr athrawiaethol y Beibl, canys y mae ganddo feddwl ei hunan i chwilio hyny. Eto,

y mae yn annichonadwy iddo gael golygiadau eang a chyson ar athrawiaeth y Beibl heb ryw gynorthwyon. Ond pa gynorthwyon sydd yn angenrheidiol? o ba natur y dylent fod? Mewn gair, y cynorthwyon hyny a'ch gosodant ar yr un tir ag yr oedd yr Iuddewon gynt pan y llefarwyd y Beibl wrthynt. Nid ellir cael na dymuno mwy na hyn. Rhaid addef fod yr ysgrythyrau (yn gyffredinol o'r hyn lleiaf) yn oleu a naturiol i'r Iuddewon yn amser eu llefariad; ac y mae cynwysiad neu wirioneddau athrawiaethol y Beibl yn aros yr un: ond nid felly y maent i ni; rhaid i ni lafurio cyn y gallwn eu hamgyffred yn gywir. Pam, gan eu bod yn amlwg iddynt hwy, a'u gwirioneddau yn parhau yr un heb gyfnewid; pam, meddaf, nad allwn ninau eu hamgyffred yr un mor hawdd? Y mae yr atebiad wrth law. Yr oeddynt hwy yn byw mewn oesoedd henafol iawn—eu gwlad yn wahanol, o ran ei thir a'i hinsoddau—eu harferion a'u defodau yn wahanol—a'u hiaith yn wahanol. Ac er fod gwirioneddau yr ysgrythyrau yn aros yr un, eto rhaid eu bod yn dywyll i ni mewn cymhariaeth iddynt hwy, gan eu bod yn cael eu datguddio trwy arferion a defodau oedd yn hysbys iddynt hwy. Yn awr, y goleuni sydd yn angenrheidiol i'r efrydydd ei gael tuag at ddeall yr ysgrythyrau, yw y goleuni hyny a'i gosodai ar yr un tir a phe buasai yn byw yn yr oesoedd y llefarwyd hwynt. Nid ein bod yn credu y gellir cyrhaedd y tir hwnw yn gyflawn; ond dyna y nôd y dylid cyrchu ato; a dyna y fath oleuni sydd yn angenrheidiol.

Yn awr, gellir dosparthu y wybodaeth sydd yn dwyn y goleuni yma i ddau ddosparth, sef *Hanesiaeth Ysgrythyrol*, a *Berniadaeth Ysgrythyrol.*

Dan y pen Hanesiaeth Ysgrythyrol, cynwysir *Daearyddiaeth* ac *Amseryddiaeth* y Beibl; *Gwladyddiaeth* a *Deddfau yr Iuddewon; Arferion* a *Defodau* yr Iuddewon a'r gwledydd dwyreiniol; ac *Hanesiaeth Naturiol* y Beibl.

1. Sonir yn y Beibl am amrywiol o genhedlaethau, gwledydd, dinasoedd, trefi, &c.; megys Iuddewon, Jebusiaid, Philistiaid; Aifft, Babilon, Canaan, Persia, Syria, &c.; a phob un yn dwyn rhyw gysylltiad penodol â'r lle y crybwyllir hwy. Sonir yn fynych yn y

Testament Newydd am Grist yn myned i Judea, i Samaria, ac i Galilea. Rhaid fod meddwl y darllenydd anwybodus o sefyllfaoedd y gwledydd yma, yn hynod o gymysglyd a thywyll. Ac nid hyny yn unig, ond y mae yn annichonadwy iddo amgyffred yn drwyadl ugeiniau a channoedd o grybwyllion a wneir trwy gorff y Beibl, ac yn neillduol y proffwydi, heb ddeall ei ddaearyddiaeth yn gyntaf. Pan y mae diffyg o'r wybodaeth hon, y mae rhyw ddyeithriwch annileuadwy yn aros yn y meddwl pan y crybwyllir am y wlad hon neu wlad arall: ond pan yr ydys yn hyddysg ynddi—pan wedi olrheinio yr holl wledydd ar wyneb y ddarlunlen, ac wedi darllen eu dosparthiad a'u terfynau, y mae meddwl yr efrydydd yn gallu rhedeg yn fywiog gyda'r hanesydd santaidd, o wlad i wlad, ac o dref i dref. Y wybodaeth hon o'r ysgrythyr a elwir daearyddiaeth ysgrythyrol.

2. Y mae y Beibl wedi ei lefaru a'i ysgrifenu mewn gwahanol oesoedd, a chan wahanol bersonau. Y mae hanesiaeth yr Hen Destament yn dechreu gyda chreadigaeth y byd; ac yn cyrhaedd i lawr am o gylch 3600 o flynyddoedd. Mewn gwahanol oesoedd yn yr yspaid yma o amser, fe gyfododd Duw luaws o ddynion santaidd, rhai yn ddoethion, a rhai yn broffwydi, megys Dafydd, Solomon, Esay, Jeremia, &c., i amlygu ei feddwl a'i fwriadau i'r byd. Y mae y datguddiadau hyny i gyd yn y Beibl; ond nid gwedi eu gosod yn rheolaidd o ran yr amser y llefarwyd hwynt. Er anghraifft—rhoddir llyfr Daniel o flaen llyfr Hosea, er fod Hosea wedi proffwydo o gylch dau gant o flynyddoedd yn gynt na Daniel. Tuag at gael golwg gyson ar y Beibl, y mae yn rhaid i ni wybod pa bryd y llefarwyd pob un o'r llyfrau sydd ynddo. Ac nid ellir amgyffred y proffwydi heb wybod pa bryd yr oedd y proffwyd yn byw, a pheth oedd sefyllfa ac amgylchiadau y wlad y pryd hyny. Y wybodaeth hon a elwir yn amseryddiaeth ysgrythyrol.

3. Yr oedd yn mhlith yr Iuddewon Batriarchiaid, Proffwydi, Offeiriaid, Lefiaid, Nazareaid, Ysgrifenyddion, &c., ag sydd o bwys i'r efrydydd ddeall eu gradd a'u swyddogaeth. Yr oedd ganddynt wahanol ddeddfau hefyd, sef y ddeddf foesol, seremonïol, a gwladol,

pa rai y cyfeirir atynt mewn cannoedd o fanau yn yr ysgrythyrau; ac nid ellir deall y cyfryw leoedd yn gywir heb fod yn hyddysg yn y pethau hyn. Perthyna hyn i wladyddiaeth a deddfau yr Iuddewon.

4. Nid oes braidd yr un llyfr yn y Beibl nad oes gwahanol ranau o hono gwedi eu llefaru mewn cysylltiad â rhyw arferiad oedd yn y gwledydd dwyreiniol; ac nid oes yr un rhan o'r ysgrythyrau santaidd yn fwy felly nag ymadroddion a phregethau ein Hiachawdwr. Tuag at ddeall y cyfryw leoedd y mae yn angenrheidiol i ni wybod beth oedd yr arferion, a'u gwybod fel yr oeddent yn y gwledydd hyny; canys, yn gyffredin, yr oeddent yn bur wahanol i'r eiddom ni yn y parthau hyn o'r byd. Fel anghraifft o hyn gallwn nodi ymadrodd ein Hiachawdwr yn Ioan x. 3: "Ac y mae y defaid yn gwrando ar ei lais ef: ac y mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbyn eu henw, ac yn eu harwain hwy allan." Yn ngwyneb arferion ein bugeiliaid ni ymddengys geiriau yr Arglwydd Iesu Grist yn ffol a diystyr. Ond nid felly i'r bugeiliaid dwyreiniol. Yr oedd ac y mae ganddynt hwy enwau ar eu defaid, a phob un yn adnabod ei henw, fel y cŵn mwyaf addysgedig yn ein gwlad ni. Ufyddhant i alwad y bugail, am eu bod yn adnabod ei lais ef; ond ni ufyddhant i'r un llais dyeithr. Nid oes dim ag sydd yn taflu cymaint o oleuni ar y Beibl yn gyffredinol, ag ydyw gwybodaeth helaeth o arferion a defodau y dwyreiniaid.

5. Y mae crybwyllion aml yn y Beibl hefyd am greaduriaid byw o amrywiol fathau, am wlawogydd, am wyntoedd, a'r cyffelyb, nad ellir amgyffred na chanfod prydferthwch a godidogrwydd y cyfryw leoedd, heb fod yn gynefin âg hanesyddiaeth y cyfryw greaduriaid, &c. Y wybodaeth hon a elwir yn hanesiaeth naturiol yr ysgrythyr.

At y rhai hyn gallwn chwanegu hanesiaeth henafol yn gyffredin; sef hanes yr hen amherodraethau gynt, megys yr Aifft, Babilon, Persia, Macedonia, &c., yr hyn sydd yn tueddu yn benodol i lewyrchu ar, ac i gadarnhau, y Beibl.

Wrth Ferniadaeth Ysgrythyrol y meddylir gwybodaeth o'r ieithoedd yn mha rai yr ysgrifenwyd y Beibl.

Ymddengys yn amlwg i bob meddwl diragfarn, fod gwybodaeth o'r ieithoedd y llefarwyd yr ysgrythyrau ynddynt yn fuddiol ac yn angenrheidiol tuag at feddiannu golygiadau cywir arnynt. Nid fod gwybodaeth arwynebol o'r ieithoedd yn taflu rhyw lewyrch neillduol; ac nid fod gwybodaeth eang a manwl yn symud pob peth dyrys o'r Beibl; nage, ond bod hyn yn un o'r prif foddion i ddwyn y gwir oleuni ar y dalenau santaidd. Yr ieithoedd yma ydynt yn benaf yr Hebraeg a'r Groeg. Yr Hebraeg, o herwydd mai ynddi hi yr ysgrifenwyd yr Hen Destament, oddieithr ychydig o bennodau yn Daniel, ac ychydig o adnodau yn Ezra a Jeremia, pa rai a ysgrifenwyd yn y Galdeaeg. Fe ddylai pob efrydydd duwinyddol fod yn wybodus yn yr Hebraeg, nid yn unig er mwyn efrydu yr Hen Destament yn ferniadol, ond hefyd am fod ei phriod-ddull yn effeithio ar iaith y Testament Newydd. Ond y mae yn fwy o bwys eilwaith iddo ddeall y Groeg, am mai yn yr iaith hòno y llefarwyd y Testament Newydd, a dyna yw prif safon y grefydd Gristionogol.

Dyma y ddwy brif iaith y dylai yr efrydydd duwinyddol droi ei fyfyrdod yn benaf ac yn flaenaf atynt; er, y mae yn wir, fod rhai ieithoedd ereill a allant fod yn fuddiol iddo os bydd ganddo amser a thuedd atynt. Yn mhlith y rhai hyn gellir enwi, yn gyntaf, y Syriaeg, am fod cyfieithiad hen iawn o'r Testament Newydd yn yr iaith hòno, yr hwn sydd o ddefnydd mawr. Y mae yn y Lladin hefyd ddau gyfieithiad sydd o gryn ddefnydd mewn berniadaeth ysgrythyrol, sef yr *Itala* a'r *Vulgate*. At y rhai hyn gellir chwanegu y Galdeaeg, yr Arabaeg, a'r Bersiaeg. Fe ddaw y dull goraf i efrydu yr ieithoedd hyn dan ein sylw mewn lle arall.

Yn awr, gadewch i ni ystyried pa fodd y dylai yr efrydydd ymosod ar ddarllen y Beibl er ei iawn ddeall.

(1.) Dylid darllen pob llyfr trwyddo. Y mae darllen unrhyw lyfr teilwng yn rhanau yma a thraw, yn dangos ysbryd ysgafn, a meddwl heb ei iawn ddysgyblu; ond pa faint mwy gyda llyfr y dylid ei efrydu yn drwyadl? Ond nid hyny yn unig, y mae yn annichonadwy cael golwg dêg ar lyfrau athrawiaethol y Beibl heb eu darllen trwyddynt. Y mae y naill ran yn llewyrchu ar y llall, ac fel hyn yn dwyn yr hyn a

all ymddangos yn dywyll mewn un man, yn oleu mewn man arall. Fel hyn y mae gyda llyfrau yn gyffredinol; anhawdd yw deall unrhyw awdwr yn gyflawn heb ddarllen ei waith trwyddo.

(2.) Dylid ystyried beth yw amcan yr awdwr yn mhob llyfr. Y mae rhanau didoledig yr ysgrythyrau yn cael eu camddeall yn aml, hyd yn nod gan ddynion da, o eisiau ystyried beth yw meddwl ac amcan cyffredinol yr ysgrifenydd santaidd. Dylid ystyried mai nid yn adnodau nac yn bennodau yr ysgrifenwyd y Beibl, ond pob llyfr yn un cyfansoddiad didor: ac er fod ei ddosparthiad i bennodau ac adnodau wedi bod o ddefnydd annhraethol i'r byd crefyddol; eto, y mae ar yr un pryd wedi bod yn achlysur o gyfeiliornadau dirif, am fod dynion yn cymeryd adnodau neu ddarnau o'r gwahanol lyfrau i siared eu golygiadau hwy, heb ystyried eu cysylltiad â'r holl lyfr.

(3.) Wrth fyned yn mlaen fel hyn, pan y cyfarfyddfyddwch âg anhawsder, trowch yn union i'r testyn gwreiddiol, chwiliwch pa fodd y mae y gair neu y geiriau y byddwch yn amheus yn eu cylch yn cael eu defnyddio mewn manau ereill; neu fe allai mai prioddull yr iaith wreiddiol rydd y goleuni angenrheidiol. Ond os bydd rhyw ddyryswch yn aros mewn perthynas i'r ystyr geiryddol neu ramadegol, defnyddiwch gymaint o wahanol gyfieithiadau ag a ellwch.*

(4.) Os bydd anhawsder yn aros mewn perthynas i ystyr rhyw le, edryched i leoedd cyfatebol yr ysgrythyrau; hyny ydyw, i'r lleoedd hyny ag y mae yr un gwirioneddau yn cael eu hegluro, neu ynte lle y mae rhyw gyfeiriad atynt. Y mae yn anhawdd gan yr efrydydd gredu y goleuni a ellir gael trwy hyn yn unig, heb wneuthur prawf. Ac yn wir, ni phetruswn sicrhau, pe byddai i'r Cristion mwyaf annysgedig ddim ond darllen ei Feibl, a chymeryd y drafferth o

* Nid oes yr un cyfieithiad diweddar yn fwy manteisiol na'r cyfieithiad Cymreig. Gellid dwyn tystiolaeth amryw o'r dysgedigion penaf yn Lloegr i brofi fod y cyfieithiad Saesonig yn rhagori ar unrhyw gyfieithiad adnabyddus iddynt hwy: ond fel y mae y gwaetha'r modd, nid oeddent yn hyddysg yn y Gymraeg, onidê gwelent fod ein cyfieithiad ni yn tra rhagori ar yr eiddynt hwy, fel yr ymddengys i bawb sydd wedi eu cymharu.

droi at y lleoedd cyfatebol trwy gynorthwy cyfeiriadau a mynegeiriau, y deuai, nid yn unig i wybodeth o bethau mwyaf hanfodol ac ymarferol yr iachawdwriaeth, ond hefyd, dan fendith Duw, fe ddeuai yn ddysgedig yn mhob peth a berthyn i grefydd. Ac nid yw hyn yn rhyfedd chwaith; canys dyma y rheol oedd gan yr apostol ei hun. "A nyni a dderbyniasom, nid ysbryd y byd, ond yr Ysbryd sydd o Dduw; fel y gwypom y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw. Y rhai yr ydym yn eu llefaru hefyd, nid â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb ddynol, ond a ddysgir gan yr Ysbryd Glân; gan gyd-farnu pethau ysbrydol â phethau ysbrydol."

(5.) Peth arall defnyddiol iawn i'r efrydydd fyddai nodi y gwahanol ystyriaethau sydd i rai o'r prif eiriau a ddefnyddir yn yr ysgrythyrau, yn nghydag achlysuron penodol eu defnyddiad. Fe wna hyn i'r efrydydd roddi ei farn ar waith wrth ddarllen, ac a'i gwna yn gynefin â phriod-ddull yr ysgrifenwyr santaidd.

Yn awr, dyma y gyfundraeth a gymhellem i sylw a defnyddiad yr efrydydd ieuanc duwinyddol; ac ymddengys yn eglur i mi ei bod yn tra rhagori ar droi at esponiadau. Mater penodol yn fy ngolwg i yw rhoddi syniadau yr efrydydd ei hunan mewn gweithrediad; ac nid attal ei olygiadau trwy lenwi ei feddwl â golygiadau ereill. Rhaid fod y darllenydd yn ystyried erbyn hyn mai nid amcan blaenaf efrydu yw llenwi y cof, ond blaenllymu ei fryd, arferyd ei farn, a ffurfio arferiad o ystyried a chwilio yn fanwl bob pwnc a ddaw dan ei sylw.

Ond os gadewir yr efrydydd ieuanc fel hyn iddo ei hun, oni fydd efe yn agored i wneyd camgymeriadau yn fynych? Y mae yn debyg y bydd; ond beth er hyny? A ellwch chwi ei ddiogelu rhagddynt trwy gynorthwy rhyw awdwr a dybiech chwi yn addas iddo? Ac heblaw hyny, efe a ddiwygia y gwallau y mae ef ei hun yn eu gwneyd, pan y del i fwy o addfedrwydd barn; tra y cadarnheid ef yn fwy yn y gwallau a dderbyniai oddiwrth ereill trwy ffydd gref yn ei arweinwyr, a'r arferiad dioglyd o dderbyn oddiwrth ereill heb iddo wneyd ymchwiliad têg ei hunan. A anturiech chwi byth mor plentyn i geisio cerdded ei

hunan, rhag ofn iddo gwympo, ond ei gario bob amser yn eich breichiau? Os fel hyn yr ymddygwch tuag ato nes y del i oedran, un i fil y daw byth i gerdded ei hunan. Ac onid gwell a fuasai iddo gwympo lawer gwaith, a'i adael i godi eilwaith, na'i fod byth heb allu defnyddio ei gymalau? Ac a ydyw defnyddiad ein cyneddfau meddyliol ddim mor angenrheidiol tuag at eu gwelliant ag ydyw ein cymalau corfforol?

Soniasom o'r blaen y byddai trefniant o egwyddorion y Beibl yn bur ddefnyddiol; ac yn awr, gadewch i ni siared ychydig yn mhellach ar y pwnc. Cyn cychwyn fe ddylai yr efrydydd fod yn lled hyddysg yn ysgrythyrau yr Hen Destament a'r Newydd. Pan y byddo yn ymosod ar y gwaith, y drefn a gynghorem iddo ei dylyn, fyddai tebyg i'r un a ganlyn: Gan mai Duw yw prif wrthddrych crefydd, y mae yn bur addas dechreu y gwaith gydag ymofyn beth yw athrawiaeth yr ysgrythyrau santaidd mewn perthynas i *natur a phriodoliaethau y Bôd dwyfol.* Cymered gynorthwy mynegeiriau pan y byddo ei gof yn methu, a chydrestred yr holl adnodau sydd yn llefaru yn egluraf a mwyaf penodol am Dduw—am ei ysbrydolrwydd, ei undeb, ei dragwyddolrwydd, ei annghyfnewidioldeb, ei hollbresenoldeb, ei hollwybodolrwydd, ei hollalluogrwydd, ei ddoethineb, ei gyfiawnder, ei wirionedd, a'i ddaioni. Wrth amlygu yr hyn a berthyn i'r rhai yma, cadwed mor agos ag sydd yn ddichonadwy at arddull yr ysgrythyrau, oddieithr yn unig iddo gyfnewid iaith ffugyrol yr ysgrythyrau i'r geiriad egluraf a fyddo yn amlygu yr ystyr. Yn nesaf, chwilied beth yw athrawiaeth y Beibl am *greadigaeth y byd a'i lywodraethiad.* Aed yn mlaen eilwaith yr un modd, gan wneyd yr ysgrythyrau ei unig reol; ac ystyried, yn y trydydd lle, beth a ddywedir am y *natur ddynol,* yn neillduol sefyllfa greadigol dyn, ei gwymp, a'r canlyniad o hyny. Y pedwarydd pwnc, fydd yr athrawiaeth mewn perthynas i'r *Messia,* neu Fab Duw, sef ei gynhanfodiad a'i ddwyfoldeb; ei ddarostyngiad, yn cynwys ei gnawdoliad, ei nodweddiad, ei weinidogaeth, ei ddyoddefiadau, ei farwolaeth, a'i gladdedigaeth; ac yn drydydd, ei ddyrchafiad, yn cynwys ei adgyfodiad, ei esgyniad i'r nefoedd, ei urddas yno, a'i ail ddyfodiad; yn nghyda'r

dybenion mawr yr oedd y gwahanol amgylchiadau yma i'w hateb. Y pummed pwnc fydd mewn perthynas i'r *Ysbryd Glân*, sef beth ydyw, a pheth yw ei waith. Y chweched pwnc a ddylai ganlyn yn uniongyrchiol, ydyw *adenedigaeth*, neu adferiad pechadur yn ol at Dduw. Ac yma fe ddylid sylwi ar y moddion allanol, eu defnydd, eu gwahaniaeth dan wahanol oruchwyliaethau, a'u perthynas â'r effeithiau a gynyrchir. Y seithfed mater fydd yr athrawiaeth mewn perthynas i'r *byd dyfodol*. Gellir dosparthu y pwnc yma i bum pen. Y sefyllfa rhwng marwolaeth a'r adgyfodiad, yr adgyfodiad cyffredinol, y farn, nef, ac uffern. Yr wythfed bwnc, a'r olaf, athrawiaeth yr ysgrythyrau am danynt eu hunain, mewn dau beth: yn gyntaf *beth yw yr ysgrythyr*, ac yn ail, *beth yw ei hawdurdod*. Er mwyn eu cofio yn well, mi a ail adroddaf yr holl bynciau hyn yn eu trefn briodol. *Duw, creadigaeth, dyn, Mab Duw, yr Ysbryd Glân, ailenedigaeth, y byd dyfodol, a'r ysgrythyrau.*

Wrth ffurfio y crynoad uchod, dymunwn i'r efrydydd sylwi yn neillduol ar rai pethau. Y peth cyntaf yw, fod iddo ymwrthod yn llwyr â phob cymhorth dynol, ond ymgadw yn gyfangwbl at y gair dwyfol. Rhaid iddo argraffu hyn yn ddwfn ar ei ystyriaeth, sef mai nid beth a ddywed unrhyw ddyn ydyw y pwnc yr wyf yn ei chwilio, ond beth a ddywed y Beibl. Pam, fel y dylai ddweyd, y cymeraf y pwnc yma ar anturiaeth ac ar ail law, gan fod rhyddid i mi fyned i'r ffynnon fy hun? Os rhoddwyd y llyfr yma gan Dduw yn rheol i bawb, rhaid ei fod yn y pethau mwyaf angenrheidiol yn ddealladwy i bawb. A gymeraf fi feddwl y Creawdwr ar dystiolaeth rhyw greadur, pan y gallaf wrando ar lais y Creawdwr ei hun, os ewyllysiaf?

Yr ail beth ydyw, peidio âg anwesu tuedd i chwilio yn rhodresgar y cyfryw bynciau nad ellir dweyd yn briodol eu bod gwedi eu datguddio. Weithiau fe grybwyllir am ddygwyddiadau, heb un sill am yr achosion. Weithiau fe sonir am weithrediadau, ond nid un gair am y dull o'u cyflawni. Felly y mae ein gwybodaeth yn cyrhaedd yr un mor belled, a dim yn mhellach. Bwriad ein Creawdwr ydyw, nad ydym, tra yn y fuchedd hon, i wybod ond mewn rhan, a'n bod yma i weled

yn anmherffaith megys mewn drych. Gan hyny na foed i ni wag-amcanu bod yn ddoethach mewn pethau dwyfol nag sydd wedi ei ddatguddio. Bydded i ni sefyll bob amser lle y mae y datguddiad dwyfol yn sefyll; a pheidio ffuannu (*pretend*) myned un cam yn mhellach. Trwy anwesu tueddiad i gymeryd eu harwain yn mhellach na'r terfynau gan ddychymygion gwag ac anturiaethau diystyr, y mae miloedd a gymerant arnynt fod yn athrawon mewn crefydd, yn crwydro oddiwrth y nod. Dylai yr efrydydd ymresymu âg ef ei hun, fel hyn: Y cwestiwn a ddylwn ei chwilio ydyw, nid beth yw yr athrawiaeth a ymddanghosai i mi yn addas a rhesymol; ond, beth yw yr athrawiaeth a ddatguddir yn y llyfr hwn. Nid oes gan neb un hawl i lygru athrawiaeth Crist efo athrawiaeth ddynol. Yr arferiad o hyny sydd wedi diwyno y gyfundraeth Gristionogol yn anferth, ac yn gwneyd y rhan fwyaf o'n dadleuon crefyddol yn ddim amgen nag ymrysonau yn nghylch geiriau, a phe eglurid hwy gan bob ochr yn dêg, fe ddarfyddai y dadleuon yn fynych. Ac nid anfynych y clywir rhai yn dwyn yn mlaen y ddadl am bethau, ar egwyddorion nad yw y Beibl yn crybwyll gair am danynt.

Y trydydd peth y dymunwn iddo sylwi arno ydyw, am iddo gadw mor agos ag sydd yn ddichonadwy at arddull yr ysgrythyrau; dim ond newid ymadroddion ffugyrol i ymadroddion eglur a chyffredin, gan ddewis y geiriau amlycaf a mwyaf penodol o ran eu hystyr. Uwchlaw y cwbl, bydded iddo ymgadw rhag defnyddio enwedigaethau ac ymadroddion celfyddydol, pa rai a ddefnyddir i roddi gwisg ddysgedig am grefydd; ond gwisg anaddas iawn ydyw i'r sefydliad hyny a amcanwyd hyd yn nod i'r radd waelaf ac iselaf o ddynion. Ond, y rhan fynychaf, nid yw y wisg hon yn ddim amgen na hugan dros anwybodaeth. Ac o bob anwybodaeth, anwybodaeth ddysgedig yw y fwyaf annyoddefol.

V. *Cyfundraeth o foesddysg Cristionogol.*—Wedi cynyg y gyfundraeth uchod i sylw yr efrydydd, deuwn yn awr i sylwi pa fodd y mae iddo fyned yn mlaen i ffurfio cyfundraeth o foesddysg Cristionogol. Dyma y nod at ba un y mae y cwbl yn cyfeirio. Prif wrthddrych yr oll o grefydd yw cyfnewid y pechadur i ddelw yr hwn

a'i creodd mewn cyfiawnder a gwir santeiddrwydd. Gellid meddwl, gan fod llawer llai o ddadleuon mewn perthynas i ddyledswyddau crefydd, nag y sydd i athrawiaethau crefydd, y dylai ymchwiliad i'r cyntaf, gan ei fod yn hawddach, fod o flaen ein hymchwiliad i'r olaf. Buasai felly mewn gwirionedd pe buasai yn beth addas i ddechreu efrydu duwinyddiaeth mewn cyfundraethau, esponiadau, a dadleuon dynion. Ond os gadewir y rhai hyn o'r neilldu, gan gadw yn hollol at yr ysgrythyrau yn ein cychwyn, nid yw yn ymddangos mor angenrheidiol, ac ni fydd yr anhawsder nemawr; ond yn hytrach y mae myned o wybodaeth i ffydd, o ffydd i gariad, ac o gariad i ufydd-dod, yn fwy cydunol â dylanwad pethau ar y meddwl. Ac hefyd, nid yw moesau Cristionogol, fel pwnc, heb ei anhawsderau a'i wrthwynebiadau, er nad ydynt mor aml a phendant a'r rhai sydd yn cael eu codi yn erbyn rhai pynciau athrawiaethol a gymerir yn gyffredin i fod yn perthyn i Gristionogaeth. Eto nid yw y pwnc yma yn mhob peth heb wrthddadleuon yn ei gylch. Edrychwch ar y gwahanol ymarferiadau sydd yn mhlith y gwahanol enwadau Cristionogol; ac yn aml fe geir rhai yn edrych ar bynciau sy mor ddibwys a degymu y mintys, yr anis, a'r cwmin, yn fanylach o lawer nag ar bethau trwm y gyfraith, barn, trugaredd, a ffydd. Yr wyf yn crybwyll hyn wrth fyned heibio, yn unig i'ch arwain i ystyried nad yw Cristionogion mor unol yn eu barnau am ddyledswyddau moesol, ag y gellid meddwl ar y cyntaf. Ond nid wyf yn dymuno i'r efrydydd ymosod yn union ar y gwrthddadleuon a berthyn i foesoldeb, yn fwy nag i athrawiaeth crefydd. Bydded ei amcan cyntaf yn y ddau beth i chwilio yn ddiduedd beth yw meddwl yr Ysbryd, fel yr amlygir yn y Beibl ei hun, yn ddigymysg â dychymygion dynol.

Yr ydym eisioes wedi cynyg bras-gynllun o gyfundraeth i'w gynorthwyo yn ei ymchwiliadau ar athrawiaeth yr ysgrythyrau; efallai mai nid anmhriodol fyddai cynyg rhyw beth tebyg mewn cysylltiad â moesoldeb crefydd, fel y datguddir yn yr ysgrythyrau. Ond cyn myned yn mlaen, dylid sylwi, er nad yw deddf yr efengyl yr un â deddf Moses, eto y mae rhai pethau

(fel y mae yn angenrheidiol yn mhob sefydliad crefyddol fyddo wedi ei barotoi i greadur o'r fath ag yw dyn) o natur *seremonïol*, ereill o natur *gymysg*—rhan yn seremonïol, a rhan yn foesol—a rhai o natur *foesol* yn unig. O'r dosparth cyntaf y mae yr hyn a alwn yn *sacramentau* Cristionogol, sef bedydd a swper yr Arglwydd; o'r ail y mae yr hyn a berthyn i addoliadau neillduol a chyhoeddus; ac o'r trydydd y mae yr holl ddyledswyddau sydd yn tarddu o gariad at Dduw a dyn. Mewn perthynas i'r ddau beth blaenaf, yr wyf yn golygu eu bod yn gynwysedig dan y chweched pen o'r brasluniad a roddais o athrawiaeth crefydd, sef adenedigaeth. Dan y pen hwn fe gynwysid y moddion allanol, eu defnydd, eu gwahaniaeth tan wahanol oruchwyliaethau, a'u cysylltiad â'r effeithiau a gynyrchid. Y pwnc dan sylw yn bresenol, yw moesoldeb Cristionogaeth, neu wir foesoni *(ethics)* yr efengyl.

Fe ellir mabwysiadu gwahanol ddulliau o ddosparthu y gwahanol ddyledswyddau; ac fe ddichon i lawer o ddaioni ddeilliaw o chwilio y pwnc mewn gwahanol oleuni. Ond yr unig ddull a gymeraf, a'r hwn sydd yn ymddangos i mi y dull hawddaf a mwyaf naturiol, yw hwnw sydd yn tarddu oddiwrth ystyriaeth o'r gwrthddrychau, *Duw*, ein *cymydog*, a *ni ein hunain*. Dyma y dosparthiad a roddir gan yr apostol Paul, mewn ymadrodd sydd yn teilyngu ystyriaeth fanylaf a mwyaf difrifol y Cristion: "Canys ymddanghosodd gras Duw, yr hon sydd yn dwyn iachawdwriaeth i bob dyn; gan ein dysgu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon; gan ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig, ac ymddanghosiad gogoniant y Duw mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist: yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da." Dosparthir yma y cwbl o foesoldeb crefydd i dri dosparth cyffredinol:—

1. *Sobrwydd*, neu ddyledswydd pob dyn tuag ato ei hun, ac a gynwysir yn yr hyn a ellir ei alw yn *hunanlywodraeth*. Y mae yn gynwysedig mewn dau brif bwnc—sef llywodraeth ar y *chwant;* a llywodraeth ar y *dymher*. Y cyntaf, fel y mae yn gwrthwynebu an-

nghymedroldeb, anlladrwydd, syrthni, a musgrellni: a'r ail, fel y mae yn gwrthwynebu balchder, digofaint, trachwant, &c., dan y gwahanol enwau gostyngeiddrwydd, addfwynder, boddlonrwydd, &c.

2. Y dosparth nesaf yw *cyfiawnder*, neu ddyledswydd dyn tuag at ereill. Gellir rhanu hyn eto, wrth ystyried natur y pwnc, i ddwy ran—sef *uniondeb* a *chymwynasgarwch.* Y cyntaf, uniondeb, er mor fawr y gwerthfawrogir o, ac er mor anfynych y ceir o, nid yw ar y goraf ond rhinwedd nacaol, ac a gynwysir mewn peidio â gwneyd niwaid i ereill yn eu personau, eu meddiannau, eu rhinweddau, na'u henwau, yr hyn nid yw ond effaith flaenaf y cariad hwnw sydd yn ddyledus ar ddynion i'w gilydd. "Canys hyn," medd yr apostol, "na ladd, na odineba, na ladrata, na ddwg gam dystiolaeth, na thrachwanta; ac od oes un gorchymyn arall, y mae wedi ei gynwys yn gryno yn yr ymadrodd hwn, Câr dy gymydog fel ti dy hun. Cariad ni wna ddrwg i'w gymydog." Y mae yn foddion digon effeithiol i attal pob niwaid mewn meddwl, gair, neu weithred. Ond yr wyf yn golygu mai gweithrediad iselaf yr egwyddor nefol hòno yw peidio â gwneyd drwg i'r rhai y mae rhwymau arnom i wneyd da iddynt. Ond y mae yr ail ran, cymwynasgarwch, yn myned yn mhellach. Y mae uniondeb yn ddigon i'n hattal i wneyd i ereill yr hyn, pe byddai modd i ni gael ein cyfnewid i'w sefyllfa, nad ystyriem yn gyfiawn i'w oddef oddiwrthynt hwy; ond y mae cymwynasgarwch yn myned yn mhellach, ac yn cofleidio rheol euraidd ein Harglwydd hyd yr eithaf, "Pa bethau bynag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy." Y mae hyn yn arwain i'r holl amrywiol weithrediadau cariad ag y mae gwahanol sefyllfaoedd y gwrthddrychau, neu eu gwahanol berthynasau, yn gofyn oddiar ein dwylaw, pa rai a gynwysir dan yr enwau haelfrydedd, ewyllys da, gwladgarwch, lletygarwch, cyfeillgarwch, serch naturiol, cariad brawdol, dyngarwch, diolchgarwch, hynawsedd, trugaredd, a maddeugarwch.

3. Y dosparth olaf yw *duwioldeb*, gwrthddrych pa un yw ein Creawdwr goruchel. Y dyledswyddau sydd yn ddyledus oddiwrthym iddo ef, yw dybarch *(reve-*

*rence)*, cariad, ymddiriad, ac ymroddiad. Gwrthddrych y cyntaf, sef dybarch, yw mawrhydi goruchel y priodoliaethau dwyfol ynddynt eu hunain: gwrthddrych yr ail, sef cariad, yw daioni Duw a'i drugaredd fel y maent yn ymddangos yn ngwaith y greadigaeth ac iachawdwriaeth: gwrthddrych y trydydd, sef ymddiriad, yw ffyddlondeb neillduol Duw, wrth ei ystyried mewn cysylltiad â'i ddoethineb a'i allu: a gwrthddrych y pedwarydd a'r olaf, sef ymroddiad, yw rhagluniaeth Duw, hyny yw, yr holl berffeithderau dwyfol mewn cydweithrediad yn llywodraethiad y byd, ac yn goruwchreoli pob dygwyddiad yn y fath fodd ag yr atebant amcanion y doethineb a'r daioni anfeidrol, i gyflawni yn y diwedd ddedwyddwch perffaith holl deulu a phobl Dduw. Y mae y golygiad yma ar foesau Cristionogol yn fwy difyr, yn gymaint a'i fod yn dangos ein dyledswydd mewn math o raddeb, tebyg i'r ysgol a welodd Jacob yn ei freuddwyd, yr hon oedd âg un pen ar y ddaear, a'i thop yn cyrhaedd y nefoedd. Y mae yn dechreu efo hunan, gyda llywodraethiad y chwantau a'r tymherau iselaf, ac ymgyrhaeddiad at y rhinweddau hyny nad ydynt yn eu natur amgen nag attaliad ar bechodau; ond oddiyma y mae yn eangu ac yn cofleidio yr holl hil ddynol, ac yn dyrchafu eilwaith hyd at orsedd y Duw mawr ei hunan.

Wele fi yn awr wedi rhoddi o'ch blaen ryw fath o frasluniad o foesoni yr efengyl, nid i rwystro eich ymchwiliadau eich hunan ar y pwnc pwysig yma, ond yn unig er bod yn gynorthwy iddynt. Ac wrth ffurfio cyfundraeth ar y fath gynllun, y mae yn angenrheidiol i chwi ddal sylw manwl ar y pethau a grybwyllwyd mewn cysylltiad âg athrawiaeth yr efengyl. Yr oedd y rhai hyny yn gynwysedig mewn tri sylw—yn gyntaf, defnyddio ysgrythyr i egluro ysgrythyr—yn ail, peidio âg anwesu ysbryd i athronyddu pob pwnc—ac yn olaf, i ddefnyddio, mor agos ag sydd yn ddichonadwy, iaith y Beibl.

Yn awr, mi a amcanaf nodi rhai o'r manteision a ddeillia i'r efrydydd oddiwrth ddefnyddio cymaint o'i amser i chwilio yr ysgrythyrau, fel y gorfydd iddo wneyd wrth ganlyn y cynlluniau a nodwyd.

(1.) Y fantais gyntaf a ddeillia o hyn, fydd gwybod-

aeth eang o'r ysgrythyrau. Os oes rhyw beth a all gynyddu gwybodaeth yr efrydydd yn y Beibl, rhaid y gwna y cynllun y darfu i ni osod gerbron. Gellir cynwys bron bob peth neillduol yn y Beibl dan un o dri phen—yr hanesiaeth a gynwysa, yr athrawiaeth a eglura, a'r gyfundraeth o ddyledswyddau a orchymyna. Y mae rhai rhanau yn fwy hanfodol i ryw un o'r dospeirth hyn, a rhanau ereill i ddosparth arall; ond nid oes un rhan o'r ysgrythyrau santaidd nad allwn ddweyd yn benderfynol ei bod yn tueddu at ein gwelliant.

(2.) Mantais arall sydd yn tarddu o'r cynllun a nodwyd, ag sydd yn teilyngu sylw mwyaf ystyriol yr efrydydd, ydyw hyn: y mae yn ei arwain mewn dull, fel o'r braidd y gall fod mewn sefyllfa nad all gyrhaedd gwybodaeth fuddiol ac eang o'r ysgrythyrau. Y mae llawer o efrydyddion sychedig am wybodaeth, mewn sefyllfaoedd tra anfanteisiol i efrydu, fel o'r braidd y gallant ganlyn unrhyw gynllun a gynygir iddynt. Y mae eu llyfrau yn brin, a'u hamser hefyd. Ond na ddigaloned y cyfryw yn ngwyneb y naill beth na'r llall. Yn ol ein cynllun, fe all wneyd llawer iawn pe na bae ganddo ond Beibl a Mynegair yn unig. Nid yw bod mewn diffyg o lyfrau o gymaint pwys ag y meddylir yn aml, pan y chwilir hyny yn dêg; ond y diffyg o iawn ddefnyddio yr hyn sydd, yw y gwall mwyaf. Ofer i'r efrydydd geisio ymesgusodi tros ei segurdod, os bydd Beibl ganddo. Y cyfryw o'm darllenwyr ag ydynt yn alluog i ddarllen a chwilio yr Hebraeg a'r Groeg, dylent er dim ymdrechu bod yn feddiannol ar ailun o'r Beibl Hebreig, cyfieithiad y Deg-a-thriugain, a'r Testament Groeg. Ac os bydd y rhai hyn genych, pa rai yn awr sydd i'w cael am ychydig,† fe fydd genych lyfrgell dduwinyddol mor gyfoethog, fel y mae yn rhaid i mi benderfynu mai eich bai chwi fydd, os na chynyddwch yn ddyddiol.

(3.) Y fantais olaf a gaf nodi yn bresenol yw, y bydd eich arddull mewn pethau crefyddol yn cael ei ffurfio i raddau mawr yr un fel ag arddull yr ysgrythyrau. A pha ddull a all fod mor addas i amlygu meddwl Duw yn ngwirioneddau mawrion y datguddiad, a'r cyfryw

† Gwel yr attodiad.

un a ddefnyddiwyd gan Ysbryd Duw, yr hwn a lefarodd trwy yr ysgrifenwyr santaidd. Nid peth anhysbys i'r byd yn gyffredin yw, fod bron bob plaid grefyddol yn ffurfio rhyw gangheniaith iddi ei hunan, yn wahanol oddiwrth bawb ereill, yr hon a ffurfir yn ol cynllun ei phrif flaenor, neu ryw un enwog perthynol iddi. Ond penderfyniad yr apostol Paul wrth lefaru pethau Duw, oedd peidio eu llefaru "â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb ddynol, ond a ddysgir gan yr Ysbryd Glân." Ond pa faint sydd yn ein hamser ni yn llefaru pethau Duw nid yn y geiriau a ddysgir gan yr Ysbryd, ond a ddysgir gan wag-ddoethineb ddynol. Yn amser y cynddyliffiaid, pan yr aeth meibion Duw at ferched dynion, fe ddywed yr hanesydd santaidd mai cynyrch y cymysgiad oedd cawri; dynion enwog, y mae yn wir, ond nid yn enwog am ddim ond drygioni; dynion erchyll o ran corff a meddwl; mor hynod yn eu drygioni ag yn eu cyrff. A phan y mae crefydd, merch y nefoedd, yn cael ei huno â gwag-ddysg ddynol, nid yw effaith yr undeb yn llai gwrthun a dinystriol. Oddiyma y deillia yr holl ffoleddau athrawiaethol a wisgir mewn iaith gelfyddydol a barbaraidd, nes diwyno y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Nid yw yr anghenfilod yma yn euog o lai o anrheithiadau na'r rhai gynt. Er prawf o hyn, gellid dwyn yn mlaen luaws o brofion o hanesiaeth eglwysig yn mhob oes.

Fe allai y gofynir yn awr, "Cymerwch yn ganiataol fod yr efrydydd wedi cyrhaedd y wybodaeth a grybwyllwch, a ydyw ef ddim i fyned yn mlaen yn mhellach? ac os ydyw, yn mha ddull?" Mewn atebiad i hyn, yr wyf yn sylwi, pan unwaith y cyrhaedda y wybodaeth a grybwyllwyd genym, y mae wedi myned trwy y rhan fwyaf pwysig o lawer o'r gyfundraeth Gristionogol—y mae wedi cyrhaedd y rhan fwyaf buddiol a defnyddiol, ac wedi parotoi ei hun hefyd yn y dull goraf i ddeall y rhanau hyny sydd yn llai buddiol a phwysig. Ond y mae rhai pethau yn cael eu gwneyd yn angenrheidiol ac yn bwysig i rai dynion, nad ydynt i ereill, yn unig o herwydd rhywbeth yn eu hamgylchiadau. Gan hyny, ni ddylid myned heibio iddynt yn hollol ddisylw. Felly y mae rhai llyfrau yn teilyngu ei sylw ar gyfrif y wybodaeth fuddiol a gynwysant—

rhai ar gyfrif y gwag-enw y maent gwedi ei ennill, fel y gall ddweyd oddiar ei ymchwiliad ei hunan nad ydynt yn cynwys dim gwerthfawr—rhai, am eu bod yn hysbysu y dygwyddiadau sydd yn cymeryd lle—ac ereill, am eu bod yn mynegu gwahanol olygiadau ar faterion penodol. Ond dylai amgylchiadau lywodraethu yr efrydydd yn ei ddefnyddiad o honynt. A phe byddai pob dyn yn unigol, ac yn annibynol ar arall, ni fyddai yn angenrheidiol darllen un math o lyfrau, ond y math cyntaf. Ond nid felly y mae. Y mae ein dedwyddwch, a phrif ddyben ein bywyd hefyd, yn ymddibynu, i fesur mawr, ar ein defnyddioldeb; gan hyny, y mae darllen ac efrydu llyfrau o'r dospeirth olaf yn angenrheidiol i raddau penodol.

Yn awr, i gymhwyso y sylwadau hyn at y pwnc mewn llaw, yr wyf yn sylwi, pan y cyrhaedda yr efrydydd ieuanc wybodaeth o'r ysgrythyrau yn ol y cynllun uchod, yn nghydag hanesiaeth ein crefydd, y mae wedi cyrhaedd yr oll, neu yn agos yr oll, ag sydd yn addysgiadol, neu yn wir ddefnyddiol ynddo ei hun; ond nid yw wedi cyrhaedd y cwbl ag sydd yn angenrheidiol wrth ystyried ereill. Yn y golygiad yma, rhaid iddo fod yn barod i gyfarfod gwrthddywedwyr ar eu tir eu hunain, a'u hymladd â'u harfau eu hunain. Os bydd yn meddiannu y wybodaeth sylweddol a nodwyd, o'r braidd y gellir tybied y bydd mewn perygl o gael ei ennill â gauresymau ereill, er y dichon iddo gael ei ddyrysu a'i dewi am y pryd hyny. Nyni a allwn ganfod yn eglur analluogrwydd rhesymiad rhyw wrthwynebwr y mynyd y dygir o yn mlaen, er, efallai, na fyddwn yn alluog i'w ateb yn drwyadl ac yn foddhaol yn ddioedi. Ac heblaw hyny, y mae diffyg yn yr ail fath yma o wybodaeth yn fwy tueddol, efallai, yn ngolwg dynion yn gyffredin, i roddi ystaen o anwybodaeth ar nodweddiad y duweinydd, na diffyg yn y math cyntaf. A pha mor belled yr attalia hyn ar gynydd yr efrydydd, o herwydd rhagfarn dynion, er mor annghyfiawn ydyw, gadawaf i'r gwybodus o'r natur ddynol farnu.

Ond cyn myned yn mlaen yn mhellach, gadewch i mi ofyn un cwestiwn, yr hwn, efallai, a ymddengys ar yr olwg gyntaf yn amlwg a phenderfynol. Y

cwestiwn yw hwn — o un tu, gadewch fod y byd Cristionogol yn cadw gafael yn yr ysgrythyrau santaidd, yn nghyda'r holl ddysg a ellir ei gael yn ol y cynllun a nodwyd genym, sef y dysg a ellir ei gael oddiwrth henafiaethau Iuddewig a dwyreiniol, beirniadaeth, ac hanesiaeth eglwysig—ac o'r tu arall, fod ein holl lyfrau duwinyddol, yn cynwys cyfundraethau, esponiadau, a dadleuon ar bob tu o'r ddadl, yn cael eu difodi ar unwaith—pa un ai elw ai colled a fyddai hyny i'r byd crefyddol? Wrth hyn na feddylied y darllenydd fy mod yn golygu fod pob llyfr yn gydwerth: nid oes dim yn fwy croes i fy ngolygiadau. Y mae gwahaniaeth annhraethol ynddynt o ran gwerth a defnyddioldeb. Ac heblaw hyn, nid wyf yn golygu na fyddai colled fawr ar ol llawer o lyfrau wrth eu hystyried yn unigol. Ond o'r tu arall, pan yr ystyriom yr holl auresymau, yr holl faglau ystrywgar o eiddo annghredwyr, yn nghyda'r holl ddadleuon dinystriol sydd yn mhlith yr enwadau ag sydd yn addef ac yn proffesu dwyfoldeb yr ysgrythyrau—pan yr ystyrir hyn, meddaf, a fyddai yr elw ddim yn gorbwyso y golled? A dybiai y Cristion, o'r hyn lleiaf, a dybiai y Protestant, fod rhyw beth hanfodol wedi ei golli, neu ei fod mewn diffyg o ryw beth angenrheidiol, tra y byddai gair Duw ganddo, yn nghyda phob peth a fyddai yn hanfodol angenrheidiol i daflu y gwir oleuni ar ei ddalenau, ond nid i'w ennill i unrhyw gredo penodol? A allai un dyn o synwyr cyffredin gredu, y byddai y byd Cristionogol mor amrywiol ac mor groes yn eu golygiadau am ystyr y Beibl, oni bae eu bod yn cychwyn ei efrydu mewn ffyrdd mor wahanol? Ac a fyddai hyny yn rhyw niwaid penodol pe bae Cristionogion yn gyffredinol yn dyfod i'r un golygiadau ar brif wirioneddau crefydd, yr hyn, gyda phob tebygolrwydd, a fyddai y canlyniad, wrth ymosod ar yr un drefn o'u hefrydu? Y mae yn ymddangos yn amlwg i mi, fod pedwar-ar-bymtheg o bob ugain o groes-olygiadau mewn crefydd, yn tarddu yn unig oddiwrth ddechreu efrydu crefydd yn ngwaith dynion.

VI. *Duwinyddiaeth Ddadleugar.*—Yr ydym wedi crybwyll yn barod, na fydd o nemawr o angenrheidrwydd i'r efrydydd, o'i ran ei hun, chwilio i ddadleuon

a golygiadau gwrthwynebol gwahanol dduwinyddion, ar ol iddo gyrhaedd y wybodaeth angenrheidiol a gynwysir yn ein cynllun. Ond gall hyn fod yn fuddiol, ac i raddau yn angenrheidiol, wrth ystyried ereill—wrth ystyried fod anffyddwyr, Iuddewon, Pabyddion, &c., yn yr un byd ag ef. A'r gwrthddadleuon cyntaf a ddylai dynu ei sylw, yw y gwrthddadleuon anffyddol, am fod y rhai hyny yn taro yn erbyn sylfaen y cwbl. Pe byddai gan yr efrydydd amser a manteision i efrydu y pwnc fel y mynai, y drefn a gymhellwn i'w sylw fyddai, iddo ddechreu gyda y cyfryw ddadleuon ag sydd yn taro yn erbyn prawfiadau cynwynol crefydd: yna myned at y dadleuon sydd yn erbyn prawfiadau allanol—yn gyntaf, proffwydoliaeth, am ei bod yn agosoch yn ei natur i'r blaenaf; wedi hyny, gwyrthiau; ac, yn olaf, pob peth a ellir gael o hanesiaeth a fyddo o'r un ansawdd. Ond os nad all yr efrydydd gymeryd hamdden i ganlyn y drefn yma, nid yw hyny o gymaint pwys: defnyddied y llyfrau enwocaf ar bob tu o'r ddadl fel y dygwydd iddo gael gafael arnynt. Yr unig beth y dymunwn i chwi ddal arno, ydyw, y dylai hyn gymeryd lle ar ol i chwi efrydu yr ysgrythyrau santaidd, ac hanesiaeth eglwysig, yn lled fanwl. Os dymunech ei gychwyn â'ch barn wedi ei mantoli yn ddigonol—os dymunech beidio â bod yn agored i gael eich camarwain—os dymunech fod yn alluog i wahaniaethu y gau oddiwrth y gwir—ewch trwy y cynllun a gynygiwyd i chwi yn flaenorol.

Mewn perthynas i'r dadleuon sydd yn bod rhwng Cristionogion, y rhai sydd yn teilyngu ein sylw blaenaf yw y rhai hyny sydd yn hanfodi rhwng Protestaniaid a Phabyddion. Yn nesaf, y rhai hyny sydd yn gwahanu rhwng yr amrywiol bleidiau Protestanaidd—sef y Lutheriaid, y Calfiniaid, yr Arminiaid, yr Antinomiaid, a'r Sociniaid. At y rhai hyn, gellid chwanegu lluaws o fân ddadleuon a golygiadau, nad ydynt ynddynt eu hunain o nemawr bwys; er eu bod yn destynau o ymrafaelion poethwyllt a chyndyn, ac wedi arwain i ganlyniadau pwysig.

Yn olaf, mewn perthynas i'r dadleuon lluosog a fu yn mhlith crefyddwyr yn yr oesoedd gynt, ag ydynt gwedi darfod erbyn heddyw, neu ynte y rhai ag sydd

yn parhau yn unig mewn gwledydd pell, y mae yr hyn a ddysgir i ni mewn hanesiaeth eglwysig am eu cyfodiad, eu llwyddiant, a'u darfodiant, yn ddigon o wybodaeth am danynt. Nid wyf yn golygu wrth hyn fod ein holl ddadleuon ni yn fwy pwysig ynddynt eu hunain na'u dadleuon hwy yn y gwledydd tramor; na bod y dadleuon diweddar yn rhagorach ynddynt eu hunain na'r dadleuon henafol; nac wyf mewn un modd. Yr unig beth sydd yn rhoddi pwysfawrogrwydd i'r efrydydd fod yn hyddysg ynddynt hwy yn benaf, ydyw eu hagosrwydd o ran amser a lle, ac er mwyn ereill. Er mwyn ereill, meddaf; canys nyni a allwn anturio dweyd, na fydd un dyn o ddealltwriaeth cyffredin, a fyddo wedi efrydu yr ysgrythyrau santaidd yn y dull a osodasom gerbron, yn teimlo dim angen o'i ran ei hun i chwilio i ddyrysweh dadleugar y byd, ac anturio i ryfeloedd ac ymrysonau crefyddol y gwahanol bleidiau. Nid wyf o'r farn fod yn angenrheidiol i'r efrydydd fod yn hyddysg yn yr holl ddadleuon uchod, ond yn unig yn y prif rai: megys y prif rai rhwng Protestaniaid a Phabyddion—y prif rai am Dduwdod Crist, ac am ei aberth a'i iawn—y prif rai am waith yr Ysbryd Glân: dyma y rhai sydd yn teilyngu sylw blaenaf a manylaf yr efrydydd. Am y cyfryw nad ydynt o gymaint pwys, gall yr efrydydd eu chwilio yn ol fel y byddo ei amgylchiadau yn gofyn, gan mai er mwyn ereill yn benaf y mae yn eu hefrydu.

Gadewch i ni eto grybwyll gair mewn perthynas i'r drefn y dylai yr efrydydd ymwneyd â'r dadleuon hyn. Y ffordd rwyddaf yw defnyddio cyfundraethau. Ac o'r rhai hyn, y rhai byraf yw y rhai goraf. Fy rheswm dros hyn ydyw, fod pob un o honynt yn ddiwahaniaeth, ar ryw bwnc neu gilydd, ac i ryw fesur mwy neu lai, gwedi cyfeiliorni oddiwrth symlrwydd y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Y maent gwedi canlyn y dychymyg yn ormodol, y maent gwedi myned i ymryson yn nghylch geiriau, ac nid ydynt yn ystyried y terfynau a osododd Duw i gyneddfau dyn. Fe ddylai yr efrydydd gofio bob amser, fod Duw wedi gosod terfyn i feddwl dyn, yn gystal ag i'r môr; ac, mewn effaith, y mae yn dweyd wrth y naill fel y llall, "Hyd yma y deui, ac nid yn mhellach." Os gall yr efryd-

ydd, mŷned rai o'r gyfundraeth oraf ar bob tu i'r ddadl. Twyll, nid y gwir; a gwŷd, nid rhinwedd, sydd yn ofni y goleuni. Ar ol iddo ddarllen pwnc yn y rhai o un ochr, darllened y lleill wedi hyny ar yr un pwnc; ac wrth fyned drostynt, sylwed yn fanwl pa rai sydd agosaf at y Beibl, o ran mater a dull. Fel hyn aed yn mlaen nes myned dros yr holl bynciau. Odid fawr, na chyferfydd â rhai pynciau y bydd raid iddo ef benderfynu eu bod oll yn cyfeiliorni; a'u bod yn myned yn mhellach nag y mae yr ysgrythyrau, yr hyn sydd yn dygwydd yn o fynych. Os bydd yn barnu fod angenrheidrwydd iddo chwilio rhyw bwnc yn fanylach eilwaith, defnyddied y traethodau enwocaf a ysgrifenwyd erioed ar y cyfryw bwnc o bob tu. Wedi myned mor belled, os bydd rhyw anhawsder yn ymddangos, gall yr efrydydd, yn y cyfryw amgylchiadau, droi i esponiadau. Dyma y pryd y gall efrydydd eu defnyddio yn ddiberygl, ac i fuddioldeb.

Cyn terfynu â'r bennod hon, gadewch i mi nodi rhai pethau a ellir eu dwyn yn mlaen fel gwrthwynebiadau i'r gyfundraeth a gynygiasom.

Gwrth. 1. "Y mae y gyfundraeth hon yn gwrthwynebu i rieni addysgu eu plant yn egwyddorion crefydd, gan nad ellir cyfranu yr addysg heb effeithio ar feddyliau y plant i'w dwyn i'r un golygiadau a'u rhieni." Yr wyf yn ateb, fod hyn yn gamolygiad ar ein cyfundraeth. Ond nid wyf yn amcanu sylwi ar hyn yn bresenol, gan fod y pwnc i ddyfod dan sylw mewn lle arall. Eto, y mae yn angenrheidiol crybwyll, fod Awdwr natur wedi rhoddi plant yn gyfan-gwbl dan lywodraeth eu rhieni i'w haddysgu fel y gwelont yn dda. Y mae hyn yn wirionedd anwadadwy, hyd yn nod mewn cysylltiad â phaganiaid; canys deddf natur ydyw, yn perthyn i ddyn yn ei sefyllfa o ddiniweidrwydd a phurdeb; ac er i ddyn gyfnewid o ran ei sefyllfa foesol, ni chyfnewidiodd y ddedf naturiol hon. "Wel ïe," meddwch chwi, "onid yw yn beth caled i blentyn y pagan gael ei addysgu yn holl ffoleddau a chreulonderau crefydd ei rieni?" Ydyw y mae; ond nid o'r ddeddf a grybwyllwyd y mae y drwg yn tarddu; ond o lygredd dynolryw, a'u gwrthgiliad oddiwrth Dduw. Daioni yn y Creawdwr oedd gosod plant dan

lywodraeth a gofal eu rhieni tra yn eu dyddiau boreaf; canys pwy a deimlai atynt, ac a ofalai drostynt, yr un fath a'u rhieni? Ond pan unwaith y del y plant i oedran i fod yn gyfrifol am eu barnau, dyna y pryd y dylent chwilio yn rhydd a diduedd drostynt eu hunain. Ac er y gall yr hyn a ddysgwyd iddynt pan yn blant effeithio arnynt i raddau mwy neu lai trwy eu hoes, eto, os cyfarwyddir hwy mewn iawn lwybr i chwilio drostynt eu hunain pan y delont yn alluog, fe fydd y meddwl yn alluog, trwy ymdrech priodol, i ddiwygio pob gwall pwysig.

Gwrth. 2. "Onid yw eich cyfundraeth yn agor drws i bob math o gyfeiliornadau ddyfod i mewn i unrhyw gorff neu gynulleidfa, trwy ddweyd nad oes gan unrhyw blaid hawl i lywodraethu barnau ei haelodau, os bydd y cyfryw gyfeiliornad yn cael ei amddiffyn ryw lun o'r Beibl?" Yr wyf yn dweyd eto, nad oes gan neb hawl i lywodraethu barn neb arall, am mai i Dduw y mae pawb yn atebol am eu barn. Yr egwyddor felldigedig groes i hon a arweiniodd Rhufain baganaidd, a Rhufain Babaidd, i ddinystrio cymaint o saint a theulu Duw. Ond na chamddealled y darllenydd fi, ac na ddalied ar un rhan o'n cyfundraeth, heb ei hystyried oll. Y mae yr ysgrythyrau yn ddigon eglur yn holl bynciau sylfaenol crefydd; a phe bae y byd crefyddol yn mabwysiadu ein cyfundraeth, deuai pawb, o angenrheidrwydd, i'r un golygiadau ar y cyfryw byncciau. Y rheswm am fod y byd mor amrywiol yn eu barn, ydyw, eu bod mor amrywiol yn eu dull o efrydu yr ysgrythyrau. Y mae dynion, yn gyffredin, mor amddifad o'r wybodaeth a nodir yn ein cyfundraeth—mor awyddus i ganlyn yr awdwr hwn neu yr awdwr arall —ac mor barod i athronyddu pob peth hyd eithaf eu gallu, ac yn gyffredin y tu hwnt i'w gallu, nes y mae y byd Cristionogol wedi myned yn un gymysgfa ddidrefn. "Wel ïe," meddwch chwi, "beth a wneir yn y sefyllfa sydd ar y byd crefyddol yn awr? onid oes yn ein plith y gwrthwynebiadau mwyaf, a hyny yn yr egwyddorion a ystyrir genym yn sylfaenol? ac a raid eu goddef yn blith draphlith mewn cymundeb â'u gilydd?" Na raid; y mae genych hawl i wrthod, ond nid oes genych hawl i rwymo. Ac er cymaint yw y

gwrtholygiadau, nid oes gan neb hawl i ffurfio cyfundraeth o egwyddorion a rheolau, ond yn unig er amlygu eu hunain, ac er mwyn hunan-ddiffyniad.

Gwrth. 3. "Os oes cymaint o enwogion dysgedig gwedi methu egluro yr ysgrythyrau, ac wedi cyfeiliorni wrth ffurfio cyfundraethau, pa fodd y gall yr efrydydd ieuanc gyflawni y gorchwyl iddo ei hun, pan nad yw i'w gymharu iddynt o ran gwybodaeth a dysg?" Rhaid addef fod yr wrthddadl yma yn ymddangos yn rhesymol ar y cipolwg cyntaf, ac felly yn milwrio yn erbyn ein holl gyfundraeth: gan hyny, y mae yn teilyngu ein sylw yn gymaint a hyny yn fanylach. Fod yr enwogion a grybwyllwyd gwedi methu, sydd yn amlwg oddiwrth eu croes olygiadau, a phob un yn amddiffyn ei bwnc yn wresog o'r ysgrythyr.

Ond gadewch i ni ystyried yr wrthddadl yn dêg, ac ni fydd cymaint ynddi ag a ymddengys ar y cyntaf. Yr ydym wedi sylwi o'r blaen fod yn angenrheidiol i ni gael gwybodaeth mewn rhai cangau o ddysg, tuag at gael golygiadau cywir ac eang ar y Beibl. Ond ai am fod y wybodaeth ddatguddiedig yn ddyrys ac uchanianol, ac felly yn anamgyffredadwy i neb ond sydd wedi ymarfer â'r pynciau dyfnaf a mwyaf dansoddiadol, y mae felly? Nage, mewn un modd. Y mae y dysgrifiad a rydd yr ysgrythyrau o honynt eu hunain yn hollol groes i hyny. Gwybodaeth bur ac eglur ydyw, ag sydd yn "goleuo y llygaid," ac yn gwneuthur "y gwirion yn ddoeth." Fe ddanghosir goruchwyliaeth y Messia gan y proffwydi fel "prif-ffordd," a hòno yn un mor rwydd ac amlwg fel nad oes perygl i'r teithwyr gyfeiliorni pe baent yn ynfydion; ac yn hysbysiad mewn llythyrenau mor eglur, fel "y rhedo yr hwn a'i darlleno." Ac y mae yr apostol Paul, i'r dyben o ddangos i ni nad oes dim yn ddyrys yn yr athrawiaeth yma, a bod gwybodaeth o honi yn hawdd i'w chyrhaedd gan bawb sydd yn foddlawn gwrando a dysgu gan apostolion Crist, yn dweyd fel hyn—"Eithr y mae y cyfiawnder sydd o ffydd, yn dywedyd fel hyn: Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? (hyny yw, dwyn Crist i waered *oddiuchod)*. Neu pwy a ddisgyn i'r dyfnder? (hyny yw, dwyn Crist drachefn oddiwrth y meirw). Eithr

pa beth y mae efe yn ei ddywedyd? Y mae y gair yn agos atat, yn dy enau, ac yn dy galon: hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu." Ac yn wir, nid yw yr apostol chwaith yn y lle yma yn traethu eglurdeb ac amlygrwydd yr oruchwyliaeth efengylaidd mewn ymadroddion cadarnach nag y gwnaeth Moses gynt dan yr hen oruchwyliaeth. "O herwydd y gorchymyn yma," ebai efe, "yr ydwyf yn ei orchymyn i ti heddyw, nid yw guddiedig oddiwrthyt, ac nid yw bell. Nid yn y nefoedd y mae, i ddywedyd o honot, Pwy a ddring drosom i'r nefoedd, ac a'i dwg ef i ni, fel y clywom ac y gwnelom ef? Ac nid o'r tu hwnt i'r môr y mae, i ddywedyd o honot, Pwy a dramwya drosom ni i'r tu hwnt i'r môr, ac a'i dwg ef i ni, fel y clywom ac y gwnelom ef? Canys y gair sydd yn agos iawn atat, yn dy enau, ac yn dy galon, i'w wneuthur ef." Ni byddai yn un gronyn llai afresymol i ni olygu, tuag at gael gafael ar y wybodaeth ddwyfol yma, fod yn angenrheidiol i ni dreiddio i gyfundraethau dynol, chwilio dirgelion esponwyr, neu amgyffred golygiadau gwâg-athronyddion, nag a fyddai i ni fod dan angenrheidrwydd i ddringo i'r nef neu groesi y moroedd. Gan hyny, nid yn y wybodaeth ynddi ei hun y mae yr angenrheidrwydd am ddysg; nac ychwaith er mwyn gwybod y pynciau sydd yn wir angenrheidiol, canys y rhai hyny yw y rhai amlycaf o'r cwbl. Ond y mae yr angenrheidrwydd am ddysg i'r duweinydd yn tarddu oddiar ddau olygiad; yn gyntaf, fel y gallo amddiffyn crefydd yn ngwyneb y gwrthddadleuon a ddygir yn mlaen gan ei gelynion; ac, yn ail, fel y gallo ddyfod yn fwy hyddysg yn mhrioddull ac ysbryd y llyfr dwyfol, a thrwy hyny allu canfod yn fwy rhwydd holl syniadau yr ysgrifenwyr santaidd. Felly nid cymaint o herwydd yr anhawsder sydd yn athrawiaeth y Beibl, y mae esponwyr a chyfundraethwyr gwedi gŵyro oddiar y ffordd; ond o herwydd yr arferiad o ddysgu egwyddorion crefydd gan ddynion; a phan y troir i'r Beibl, ni wneir hyny mewn gwirionedd i chwilio yr athrawiaeth a gynwysir ynddo, ond er mwyn chwilio am adnodau i siared eu golygiadau hwy eu hunain. Y mae fod y Beibl yn ddatguddiad oddiwrth Dduw, yn profi ynddo ei hun ei fod yn eglur.

Bod datguddiad yn sefyll mewn angen am gael ei ddatguddio, sydd yn wrthddywediad. Yr unig ddatguddiad sydd yn angenrheidiol, yw, gwybodaeth o'r ieithoedd cysegredig, o arferion y dwyrain, &c., fel y crybwyllwyd yn flaenorol; efrydu y Beibl yn ddyfal, a'i ddarllen mewn iawn agwedd ysbryd.

Gwrth. 4. "Er nad yw y drefn a gymeradwywch yn un gyffredin, eto y mae yn gofyn llawer o ddarllen ac efrydu pethau heblaw yr ysgrythyrau, yn gystal a'r drefn gyffredin. Yr ydych yn gwahardd i ni ddechreu gyda chyfundraethau, esponiadau, a'r cyffelyb, gan ddweyd mai efo y rhai hyn y dylai ein hefrydion derfynu. Onid ydych chwi yn gorchymyn i ni efrydu hanesiaeth benodol a henafiaeth, gramadegau a geirlyfrau, er mwyn dyfod yn hyddysg yn y Beibl yn yr ieithoedd gwreiddiol, a chyfieithiad y Deg-a-thriugain?" Y mae hyn yn wir; ond a ydych chwi yn gweled dim gwahaniaeth yn yr effeithiau a ellir ddysgwyl iddynt ddeilliaw yn naturiol oddiwrth y ddwy drefn? Fe'n cymhellir i efrydu yr ysgrythyrau fel yn cynwys yr oll o dduwinyddiaeth Gristionogol. Ond sylwch; nid yn yr oes hon, nac yn y wlad hon, nac yn ein hiaith ni, yr ysgrifenwyd hwynt. Y mae yn wir fod genym gyfieithiad o honynt, a chyfieithiad da hefyd; ac er ei fod yn ddigonol i Gristionogion yn gyffredin, ni ddylai yr efrydydd foddloni arno, am ei fod ef i fyned trwy bob anhawsder a gyferfydd âg ef. Nid oes yr un cyfieithydd yn anffaeledig; gan hyny pan y dywedir rhywbeth am yr ysgrythyr, rhaid i ni ddeall hyny am dani yn briodol fel y mae yn yr ieithoedd yr ysgrifenwyd hi ynddynt. Pe buasai datguddiad yn cael ei wneyd ar unwaith yn ein hoes ac yn ein gwlad ein hunain, a'i ysgrifenu yn ein hiaith ni, y mae yn amlwg na buasai eisiau nemawr neu ddim dysg ddynol i'w ddeall. Ond y mae y datguddiad dwyfol yn sefyll ar dir hollol groes i hyn. Aeth llawer o oesoedd ymaith yn olynol o ddechread y datguddiad cyn ei gwblhad; y mae yr ieithoedd yr ysgrifenwyd o ynddynt yn anhysbys; y wlad yn mha un y cyflawnwyd y rhyfeddodau a'r gwyrthiau, y dangoswyd yr amlygiadau rhyfeddol o allu a thrugaredd ddwyfol, yn ddyeithr; a'r amser y terfynwyd y cwbl

wedi myned heibio bellach er ys llawer iawn o ganrifoedd. Dyma yr achos fod dysg yn angenrheidiol, a hyn yn unig yw yr achos. Ac nid oes dim yn gynwysedig yn y gyfundraeth a nodwyd genym ond sydd yn tarddu yn angenrheidiol o hyn: ac nid oes dim yn hanfodol tuag at egluro hyn, a'r nad yw yn gynwysedig yn ein cyfundraeth.

Ni a addefwn fod y dull cyffredin yn hawddach i'r efrydydd ar y cychwyn, ond nid mor foddhaol nac mor rhwydd yn y pen draw. Y dyn a'ch cynghorai i ganlyn y dull cyffredin, fyddai yn debyg i ddyn a siaradai fel hyn: "Yr ysgrif yma, sydd arnoch gymaint o fiys ei deall, nid oes angen i chwi drafferthu i'w defnyddio eich hunan. Y mae yr argraff yn bur hen, ac o'r braidd y mae digon o oleuni i'w darllen. Y mae genyf fi well llygaid, ac yr wyf yn gydnabyddus â'r llythyrenau: am hyny nid oes eisiau ond i chwi wrando yn unig, a mi a'i darllenaf i chwi." Ond o'r tu arall, y mae y drefn a gynygir genym ni, yn debyg fel pe dywedai dyn wrthych: "Cymerwch yr ysgrif yma i chwi eich hunan. Myfi a geisiaf ddigon o oleu i chwi i'w darllen; ac er fod y llythyrenau yn hen, eto gydag ychydig o drafferth ac ystyriaeth chwi a ddeuwch yn gynefin â hwynt, fel y gellwch ddarllen i chwi eich hunan." Mewn mater o ychydig bwys, a lle na byddai perygl o dwyll, y mae yn wir mai y drefn gyntaf fyddai yr oraf, am mai hi fyddai yr hawddaf a'r fwyaf rhwydd. Ond bwriwch fod y pwnc o bwys mawr i chwi, a bod gwir berygl i chwi gael eich twyllo; bwriwch yn mhellach, eich bod, o awydd am fod yn sicr, wedi rhoi gwahanol ddarllenwyr ar waith i'w ddarllen, a bod pob darllenydd, er syndod mawr i chwi, yn datguddio pethau yn yr ysgrif na ddatguddiwyd gan y lleill; ïe, yn mhellach, fod datguddiadau y gwahanol ddarllenwyr yn wrthwyneb i'w gilydd; a benderfynech chwi ddim, mai yr unig beth a wnai dyn synwyrol yn y cyfryw amgylchiad, fyddai ymosod ar y gorchwyl o ddyfod yn hyddysg yn yr ysgrif ei hunan? Wel, dyna yn hollol yw y gyfundraeth a gynygir genym.

## PENNOD III.

### GWYBODAETH GYFFREDINOL.

I. *Iaith—Darllen—Gwyddoniaeth.* II. *Athroniaeth Naturiol—Y Gwyddoregau Naturiol—Aniandraw—Athroniaeth Foesol a Meddyliol—Trefnidedd Gwladol—Hanesiaeth Naturiol.* III. *Amseryddiaeth a Daearyddiaeth—Hanesiaeth Eglwysig—Hanesiaeth Gyffredinol.* IV. *Ysgrifenu—Barddoniaeth—a Cherddoriaeth.*

Nid oes yr un dyn yn alluog i ddeall ac amgyffred pob peth: ac nid yw hyn yn ddyledswydd ar neb. Eto, fe all pob dyn o synwyrau cyffredin gyrhaedd rhyw gymaint o wybodaeth; ac y mae hyny yn ddyledswydd arbenig ar bawb. Y mae llawer iawn o amser ieuenctid Cymru yn cael ei ofer-dreulio mewn darllen pethau nid yn unig nad ydynt o fuddioldeb gwirioneddol, ond hefyd sydd yn niweidiol i'w cyneddfau. Ac amcan y bennod hon yw attal y camwri hyny, trwy nodi allan y pethau mwyaf angenrheidiol a buddiol eu gwybod, ac na fydd yn goll amser i neb eu hefrydu. Amcenir wrth fyned yn mlaen daflyd digon o oleuni fel y gallo yr efrydydd ganfod pa rai o'r gwybodaethau a nodir sydd yn fwyaf angenrheidiol iddo ef, beth bynag yw ei sefyllfa a'i alwedigaeth; a pha mor belled y dylai eu canlyn. Ond os bydd ei amgylchiadau a'i athrylith yn caniatau, efryded hwy i gyd, a goraf oll pa berffeithiaf y bydd yn eu deall.

I. Yr ydym yn dechreu gyda'r dosparth hyny a ellir ei ystyried fel moddion i gyrhaedd gwybodaeth: ac yma nodwn iaith, darllen, a gwyddoniaeth.

1. Cyfrwng i drosglwyddo gwybodaeth yw iaith; ac arwyddion drychfeddyliau yw geiriau iaith. Fe ddichon dyn feddianu mwy o ddrychfeddyliau nag sy ganddo o eiriau i'w hamlygu; megys y mae llawer o gelfyddydwyr hunan-ddysgedig yn cyrhaedd gwybodaeth eang a manwl yn eu gwaith, cyn darllen nemawr neu ddim ar hyny, ond gwybod yr enwedigaethau sydd ar y gwahanol wrthddrychau a'r gweithredoedd y maent yn gydnabyddus â hwy. Ond y mae hyn yn ddiffyg mawr,

am nad all egluro ei wybodaeth yn rhwydd i ereill, ac nad all dderbyn addysg oddiwrth ereill. Y mae gan ereill fwy o eiriau nag o ddrychfeddyliau; ac y mae hyn yn fwy o ddiffyg na'r cyntaf: canys er fod ganddynt gyfrwng i drosglwyddo gwybodaeth, y maent yn ddiffygiol o wybodaeth ei hunan. Gan hyny, y dyn gwir ddysgedig yw y dyn sydd yn meddu llawer o ddrychfeddyliau, a digon o eiriau i'w hamlygu oll.

Y mae hyn yn ein harwain yn naturiol i ystyried y rhesymoldeb neu yr afresymoldeb o efrydu gwahanol ieithoedd, yn neillduol yr ieithoedd dysgedig, fel y gelwir hwy, sef y Groeg a'r Lladin, oddiwrth y dyben i ba un y dysgir hwynt. Y mae yn well cael deg o ddrychfeddyliau, a dim ond deg o eiriau i'w hamlygu, a hyny yn unig yn yr iaith gysefin, na chael dim ond *un* drychfeddwl, a deg o eiriau mewn *gwahanol* ieithoedd i'w amlygu. Er anghraifft—bwriwch fod rhyw ieithwr enwog yn gweled ceffyl yn myned heibio ei ffenestr, ac yn gwybod mai enw y creadur yn y Groeg yw *hippos;* yn y Lladin, *equus;* yn y Ffrangaeg, *cheval;* yn yr Italaeg, *cavallo;* yn yr Allmanaeg, *pferd;* yn y Saesonaeg, *horse;* ac yn y Gymraeg, *ceffyl;* am hyny fe'i hystyrir yn ddysgedig gan y werin. Ac yn wir y mae yn ddysgedig; ond yn mha beth? nid yn y gwrthddrych ei hunan, ond yn unig yn yr enwau sydd ar y gwrthddrych mewn gwahanol wledydd. Yr un faint fyddai ei wybodaeth *wirioneddol* am y gwrthddrych, a phe na buasai yn gwybod ei enw ond yn ei iaith enedigol yn unig. Nid yw dyn yn gryfach nac yn dalach, o herwydd fod ganddo saith pâr o ddillad, na phe buasai ganddo ddim ond un; felly hefyd y mae gyda'r meddwl. Fe fyddai rhyw lanc, a arferai ymwneyd â cheffylau, ac a fyddai wedi arfer sylwi ar y gwahanol gyneddfau sydd angenrheidiol eu bod mewn ceffylau da o wahanol rywiau, yn ferniad llawer mwy galluog ar geffyl, na'r ieithwr enwog. Fe fyddai yn fwy cymhwys o lawer i ddewis a thrin ceffylau, na'r ieithwr. Fe fyddai ganddo ddrychfeddyliau am yr anifail ei hun—fe fyddai yn gwybod beth fyddai yn dda a pheth fyddai yn ddrwg ynddo—pa fodd y dylid ei weithio mewn gwahanol sefyllfaoedd—pa ymborth fyddai gymhwysaf iddo—a pha fodd i'w drin yn y dull doethaf ac addasaf. Dyma

wybodaeth *ddefnyddiol*, pan nad yw y flaenaf ond gwybodaeth annefnyddiol ynddi ei hunan. Ac hyd yn hyn, y mae addysg wedi cael ei gario yn mlaen yn ein hysgolion a'n hathrofaau yn ormodol ar yr egwyddor o edrych ar y byd trwy y ffenestr, gan ddysgu enwau gwahanol wrthddrychau mewn gwahanol ieithoedd, yn lle efrydu y gwrthddrychau eu hunain.

Ond ni ddylid difrio a dirmygu iaith ynddi ei hun mewn un modd. Y mae dyn yn fôd cymdeithasgar, ac fe chwanegir ei ddedwyddwch yn fawr trwy gydweithrediad a chyfnewidiad drychfeddyliau â'i gyd-ddynion; ac iaith, lefarol neu ysgrifenyddol, yw yr unig gyfrwng i hyny. Gan hyny y mae o bwys neillduol i bob dyn nid yn unig feddu geiriau am ei holl ddrychfeddyliau a'i deimladau, ond hefyd gymaint o fedrusrwydd yn eu defnyddiad ag a'i gwna yn alluog i'w defnyddio yn y fath fodd ag a drosglwydda ei syniadau ei hun i feddyliau ereill fel y maent ynddo ef ei hunan. Fel hyn, wrth ddal mewn cof mai y *prif* beth yw drychfeddyliau, ac nad yw iaith o werth ond yn unig fel moddion i drosglwyddo yr hyn ydym yn ei ddeall ac yn ei deimlo, ni fydd yn beth anhawdd i ni benderfynu am y priodoldeb o ddysgu ieithoedd, a pha ieithoedd i'w dysgu, yn neillduol y Groeg a'r Lladin.

Yn awr gadewch i ni chwilio pa fodd y daeth yr ieithoedd hyn i gael eu dysgu yn yr ysgolion, ac i fod yn enwog. Y Groegiaid a'r Rhufeiniaid oedd y cenhedloedd a wareiddiwyd gyntaf yn Ewrop, yn ol fel y gellir deall oddiwrth weithiau ac hanesiaeth y gwahanol genhedloedd Ewropaidd; hyny ydyw, mewn geiriau ereill, hwy oedd y genedl gyntaf a ddiwylliodd eu cyneddfau meddyliol i'r fath raddau ag i gyrhaedd golygiadau lled gywir am lywodraeth, deddfau, moesau, athroniaeth feddyliol, a'r celfyddydau breiniol. Mewn canlyniad i'w bod yn wybodus yn y drychfeddyliau hyn, yr oeddent yn diwyllio eu hieithoedd fel ag i gael geiriau i ddynodi y gwahanol ddrychfeddyliau. Fe lyncodd llywodraeth y Rhufeiniaid eiddo y Groegiaid; ac yn y pedwarydd a'r pummed canrif o oed Crist, fe ddinystriwyd llywodraeth y Rhufeiniaid eilwaith gan genedl ag oedd yn ddyeithr i wybodaeth athronyddol a chelf-

yddydol; a chan hyny rhaid fod eu hiaith yn analluog i amlygu y cyfryw ddrychfeddyliau. Achosodd hyn nos faith o anwybodaeth yn Ewrop; ond o'r diwedd torodd gwawr o wareiddgarwch a gwybodaeth yn yr Eidal.

Cysgasai ysgriflyfrau Groeg a Rhufain yn hir o fewn i furiau mynachlogydd; ond yn awr fe ddechreuwyd eu chwilio allan gydag awch a diwydrwydd mawr. Ar ol dechreu eu hefrydu a'u deall, fe ganfyddwyd yn union eu bod yn cynwys barddoniaeth fwy arddunawl a godidog—areithyddiaeth ffraethach a mwy effeithiol —a golygiadau dyfnach a chywirach ar ddeddfau, berniadaeth ac athroniaeth, na dim a wyddid yn Ewrop y pryd hyny: a hyn i gyd wedi ei drysori mewn ieithoedd cyfoethog—darluniadwy—a diwylliedig; fel yr oedd Ewrop yn feddiannol nid yn unig ar drysor o wybodaeth, ond hefyd ar gyfryngau i drosglwyddo y wybodaeth hòno, heb achos trafferthu i ffurfio cyfrwng. Yn yr amgylchiad hwn daeth y Groeg a'r Lladin yn naturiol i fod yn destynau efryd pawb a'r a oedd am fod yn alluog mewn dysg a gwybodaeth. Yr oedd hyn yn rhesymol ac yn angenrheidiol hefyd, canys y pryd hyny deall yr ieithoedd yma oedd yr unig foddion i gael gafael yn yr ystôr gyfoethocaf o wybodaeth ag oedd yn y byd yr amser hyny. Yn y dull yma, ac o herwydd y rhesymau hyn, fe sefydlwyd ysgolion, athrofaau, yn nghyda sefydliadau ereill, i ddysgu a meithrin yr ieithoedd Groeg a Lladin, gwybodaeth yn y rhai hyn oedd yr unig lwybr i enwogrwydd; a phwy bynag fyddai yn gyfarwydd ynddynt a gyfrifid yn 'ddyn dysgedig.' Ond mewn amser, trwy ddylanwad Cristionogaeth, a chymhorth y gwyddiad o argraffu, fe ddaeth gwahanol genhedloedd Ewrop i wneyd dadenhuddiadau newyddion a rhyfeddach mewn natur a chelfyddyd, nes myned heibio i Groeg a Rhufain ddigon pell. Fe wnaeth yr Eidaliaid, y Ffrancod, yr Ellmyn, a'r Prydeiniaid ymdrechion cawraidd mewn gwybodaeth, gan ddiwyllio eu gwahanol ieithoedd yn ol cynydd eu drychfeddyliau a'u teimladau. Fe all Prydain ei hunan ymffrostio mewn enwogion a roddasant eu meddyliau ar waith i'r fath raddau, fel nad yw athroniaeth a chelfyddyd yr henafiaid braidd yn deilwng o gymhariaeth â'r eiddom

ni.* Felly mae y cyfnewidiad yma wedi lleihau gwerth a phwysfawrogrwydd y Groeg a'r Lladin; canys nid oes dim gwybodaeth sylweddol a defnyddiol ynddynt, nad yw yn amryw o ieithoedd presenol Ewrop, ac yn eu plith y Saesonaeg: ac nid oes yr un math o deimlad na golygiad sydd o werth a defnyddioldeb, nad ellir ei amlygu gyda nerth a phriodoldeb mewn ieithoedd diweddar.

Y mae y sylwadau hyn yn ein harwain yn naturiol i weled y ffolineb i ddynion dreulio chwech neu saith mlynedd o'u hamser gwerthfawr fel y gwneir yn gyffredin i ddysgu Groeg a Lladin, heb fod dim yn eu hamgylchiadau dylynol yn gofyn hyny. Nid yw yn ddim amgen na threulio amser yn ofer—amser a ellid ei ddefnyddio i gyrhaedd llawer iawn o wybodaeth fuddiol. Y mae bod yn hyddysg yn y Saesonaeg yn fwy o bwys o lawer i'r Prydeiniaid oll na bod yn hyddysg yn y Groeg a'r Lladin. Ac y mae amryw o ieithoedd presenol Ewrop yn fwy buddiol o lawer i'w deall o ran gwybodaeth gyffredin, na'r holl hen ieithoedd gyda'u gilydd. Yn mhlith y rhai hyn gellid nodi y Ffrancaeg a'r Allmanaeg. Ond y mae y Saesonaeg yn unig yn cynwys bron bob peth gwerthfawr a defnyddiol ag sydd yn y byd adnabyddus.

A chofio nad yw iaith ynddi ei hun ond cyfrwng gwybodaeth, hawdd fydd barnu ar bwy y mae rhwymau gwirioneddol i ddysgu ieithoedd henafol ydwyrain. Yr ydym wedi sylwi yn y bennod o'r blaen, fod yn angenrheidiol i'r duweinydd ddeall yr Hebraeg a'r Groeg, cyn y gall ferniadu yr ysgrythyrau. Ond ni a ddylem grybwyll yma, mai nid Groeg yr uchawduron a feddylir, ond y Roeg fel ei harferid gan yr Iuddewon, yr hon a ddefnyddir yn y Testament Newydd ac yn nghyfieithiad y Deg-a-thriugain; pa rai sydd yn wahanol iawn i'w gilydd. Yr ydym wedi crybwyll hefyd y gall yr efrydydd duwinyddol gael buddioldeb trwy wybodaeth o'r Lladin, a rhai ieithoedd henafol ereill. Y mae gwy-

* Nid yw hyn yn cyfeirio at y gelfyddyd o gyfansoddi, yr hon sydd yn ymddibynu yn benaf ar athrylith ac ymarferiad; yn y pethau hyn, y mae genym anghreifftiau o waith yr henafiaid mor rhagorol, ac efallai rhagorach, na dim o waith awduron diweddar, fel y crybwyllwyd tudalen 55.

bodaeth o'r ieithoedd hyn yn angenrheidiol hefyd i'r henafiaethydd, fel y gallo roddi barn ar bethau ac amgylchiadau oddiar ymchwiliad iddynt yn yr iaith y perthynent iddi yn wreiddiol. Ond y mae yn anhawdd gwybod i ba ddosparth arall o ddysgedigion Prydain y mae yr ieithoedd hyn yn angenrheidiol. Nid ydynt i athronyddion, i feirdd, i feddygon, i gyfreithwyr, nac i areithwyr, &c., fel y gellid profi trwy luaws o anghreifftiau, pe byddai angen. Gallwn enwi rhai o'r dynion mwyaf galluog a fu erioed yn Mhrydain, yn hollol anwybodus yn yr ieithoedd hyn; ac ereill o gyfuwch enwogrwydd heb ddim ond gwybodaeth fechan iawn o honynt. Y mae rhai o brif ddysgedigion Prydain yr oes hon yn canfod hyn, ac yn egluro yr egwyddorion mewn goleuni anwrthwynebol. Ac yn wir y mae y rhai mwyaf galluog wedi dangos yr afresymoldeb i'r hen drefn barhau, er ys oesoedd bellach. A da genym weled fod ysgolion enwog yn dechreu cyfnewid eu cynlluniau—gwybodaeth fuddiol yn dyfod yn brif destyn—ac iaith yn cael ei hystyried yn unig fel cyfrwng gwybodaeth.

2. Yr ydym yn enwi *darllen* fel un o brif foddion gwybodaeth, nid am ein bod yn bwriadu dweyd dim yn bresenol mewn ffordd o gyfarwyddyd,—am ein bod yn hyderu fod yr hyn a ddywedwyd yn y pennodau blaenorol yn ddigon, yn neillduol yn y bedwaredd bennod,—ond yn unig er mwyn adgofio i'r efrydydd y pwysfawrogrwydd o hyny. Dylai pob gwir efrydydd ymdrechu bod yn ddarllenwr da, nid yn unig i'r graddau ag y gall ddeall yr hyn a ddarlleno, ond hefyd fel y gallo roi bywyd i raddau ynddo hefyd. Ond nid oes a fynom â darllen yn yr ystyr yma yn y lle hwn, ond yn unig fel moddion i gyrhaedd gwybodaeth.

3. Y moddion olaf i gyrhaedd gwybodaeth a grybwyllwn yma yw *gwyddoniaeth.* —Wrth wyddoniaeth y meddylir y wybodaeth sydd yn egluro rhif a mesur. Y mae yn cynwys Rhifyddiaeth, Mesuriaeth, ac Alsoddeg. Y mae rhyw gymaint o'r wybodaeth hon yn anhebgorol angenrheidiol i amryw fathau o ddynion. Nid all y masnachwr wneyd yn iawn heb ddeall rhyw gymaint o rifyddiaeth; na'r adeiladwr ddim yn wych, heb wybod rhyw faint o fesuriaeth. Ond heblaw at

amgylchiadau o'r natur yma, y mae y wybodaeth yn ddefnyddiol iawn i'r efrydydd. Y mae ganddi effaith benodol i sefydlu y bryd, ac i agor y deall a'r amgyffrad; ac felly y mae yn dra defnyddiol i bob math o efrydydd. Y mae y wybodaeth hon hefyd yn agoryd drws i ddeall athroniaeth naturiol yn gywir, ac hefyd i ddeall gweithiau athronyddion yn gyffredin: gan hyny, ni ddylai y sawl a amcano fod yn athronydd, ei hesgeuluso mewn modd yn y byd.

II. Yr ail ddosparth a gynwys gangau o wybodaeth anianyddol a chymdeithasgar. Ac, yn

1. *Athroniaeth Naturiol.*—Yn fwyaf priodol, dyna ydyw athroniaeth naturiol, y wybodaeth sydd yn egluro cyneddfau defnydd (*matter*), yn nghydag achosion y cyfnewidiadau a'r ymddangosiadau sydd yn cymeryd lle mewn natur. Defnydd yw pob peth sydd yn bod, ac sydd yn wrthddrych i'n synwyrau corfforol; megys careg, pren, dwfr, awyr, &c. Y mae defnydd, yn ei holl wahanol ffurfiau, wedi ei gynysgaethu â deddfau penodol gan y Creawdwr i ddybenion pwysig. Trwy rinwedd y deddfau hyn y mae defnydd yn cael ei gyfnewid o ran ei ffurf, a gwahanol ymddangosiadau yn cymeryd lle. Er anghraifft, yr un sylwedd defnyddiol mewn gwahanol ffurfiau yw dwfr, agerdd, rhew, ac eira. Yn awr, athroniaeth naturiol sydd yn egluro pa fodd, ac yn mha amgylchiadau, y mae dwfr yn troi yn rhew, neu yn agerdd; ac agerdd eilwaith yn eira. Dyma sylfaen duwinyddiaeth naturiol, a'r unig ddrws cywir i'r ail bwnc, sef—

2. Y *Gwyddoregau Naturiol.*—Ac yma nodwn, yn gyntaf, *Seryddiaeth*, sef y wybodaeth sydd yn traethu am y cyrff nefol, ac am ein daear ni fel corff yn y gyfundraeth. Y mae seryddiaeth yn wybodaeth eang iawn—y mae yn cofleidio megys yr holl greadigaeth, ac yn dal holl weithredoedd y Crëwr i sylw yr efrydydd. Ar un llaw, y mae yn dangos maint ein daear ni fel corff unigol; ac ar y llaw arall ei bychandra annhraethol mewn cymhariaeth i'r holl greadigaeth. Fel hyn y mae yn eangu meddwl a dychymyg yr efrydydd am weithredoedd Duw, a thrwy hyny ei allu annherfynol ac anamgyffredadwy. Dylai pob efrydydd ddeall rhyw gymaint o seryddiaeth; ac yn neillduol y rhai hyny a

ddymunent gynyddu mewn parch ac ymostyngiad i'w Creawdwr.

Yn ail, *Daeareg*, sef y wybodaeth sydd yn traethu ar gyfansoddiad, cyfnewidiadau, a chynwysiad y ddaear fel corff unigol. Y mae y wyddoreg yma, trwy amrywiol o ddadenhuddiadau pwysig, wedi ei gwella yn rhyfeddol er ys ychydig flynyddoedd. Eto, nid ellir dweyd ei bod wedi cyrhaedd unrhyw safnod o berffeithrwydd, ond ei bod ar ei mynedfa yn mlaen yn y dull mwyaf cyflym. Beth fydd y dadenhuddiadau a wneir eto, nis gwyddom. Ond y mae yr hyn a wnaed yn ddigon o dâl i ymchwiliadau yr efrydydd yn y wybodaeth ddifyr hon. Nid gwyddoreg ddifyr yn unig ydyw, ond un bwysig hefyd. Pwysig i'r athronydd, am ei bod yn cynwys eglurhad ar y fath wirioneddau hanfodol mewn athroniaeth—a phwysig i'r duweinydd, yn gymaint a bod gelynion y datguddiad dwyfol yn gwneyd defnydd disail o'r dadenhuddiadau i wrthwynebu y Beibl.

Yn drydydd, at y rhai hyn dylem chwanegu amryw îs-ddospeirth ag sydd yn egluro rhyw bethau penodol yn y byd naturiol; megys *Fferylliaeth*, neu y wybodaeth sydd yn traethu ar gyfansoddiad y gwahanol sylweddau daearol—*Goruchionaeth*, neu y wybodaeth sydd yn egluro y cyfnewidiadau a'r ansoddion sydd yn cymeryd lle yn yr awyr—*Tremyddiaeth*, neu y wybodaeth sydd yn traethu am oleuni a gwelediant—yn nghydag amryw o gangau a berthyn i athroniaeth naturiol, o gymaint pwys a'r rhai hyn, ag y daw yr efrydydd yn hyddysg yn eu henwau a'u dybenion trwy efrydu athroniaeth.

3. *Aniandraw.*—Wrth aniandraw (*physiology*) yn gyffredinol y meddylir y wybodaeth sydd yn traethu am gyfansoddiad unrhyw gorff byw, pa un bynag ai llysieuol, anifeilaidd, ai dynol. Ond yr wyf yn enwi y wybodaeth yma fel yn teilyngu sylw pob efrydydd, yn ei chysylltiad â dyn. Yn y cysylltiad yma y mae y pwnc yn fwyaf pwysig a buddiol. Y mae yn rhaid addef, mai y gwrthddrych blaenaf y dylai pob dyn ei efrydu yw efe ei hun; a'r rhan hawddaf a mwyaf naturiol i gychwyn, yw cyfansoddiad y corff, a defnydd ei wahanol ranau. Y mae pwysfawrogrwydd a buddiol-

deb y wybodaeth hon yn ymddangos yn amlwg pan yr ystyriom mai ei dyben yw cadwraeth iechyd. Ymddibyna iechyd ar fod y corff yn cael ei gadw yn y fath fodd ag y bydd ei amrywiol beiriannau yn cyflawni eu swyddau fel y nodir gan natur. Ond y mae yn rhaid deall beth yw y peiriannau a'u dybenion, cyn y gellir cadw y deddfau yma heb eu troseddu. Ac yn wir, pe na bae y buddioldeb yma yn gysylltedig â'r wybodaeth, y mae y rhyfeddodau sydd yn ngwneuthuriad dyn yn ddigon o dâl i'r efrydydd. Ond pan ystyrir y naill beth a'r llall, y mae y wybodaeth hon yn teilyngu sylw penodol pob dyn, ac yn neillduol yr efrydydd.

4. *Athroniaeth Foesol a Meddyliol.*—Yn nesaf at aniandraw, dylid efrydu athroniaeth foesol a meddyliol. Gwrthddrych aniandraw yw y corff; ond gwrthddrych yr olaf yw y meddwl. Y mae y gyntaf yn arwain at yr olaf, fel y prif bwynt at ba un y mae gwybodaeth o'r natur ddynol yn cyfeirio. Ymddengys pwysfawrogrwydd y wybodaeth yma pan yr ystyriwn mai hi sydd yn ein dysgu am ein dyledswyddau tuag atom ein hunain a thuag at ereill, yn annibynol ar yr ysgrythyrau. Yn yr ysgrythyrau fe ddysgir ein dyledswyddau i ni mewn geiriau ac ymadroddion eglur a phendant; ac yma hefyd fe ddysgir yr un gwirioneddau, ond nid gyda'r un eglurdeb. Yn yr ysgrythyrau, fe ddichon yr anwybodus eu canfod heb berygl cyfeiliorni; ond yma y mae yn rhaid llafurio i'w dirnad. Ond heblaw defnyddioldeb a phwysfawrogrwydd y wybodaeth, nid oes dim â mwy o duedd i gryfhau y meddwl, ac i eangu y syniadau, na'r math yma o efryd. Nis gellir cymhell yr efrydydd yn ormod at hyn.

5. *Trefnidedd Gwladol.*—Wrth drefnidedd gwladol yr ydwyf yn meddwl y wybodaeth sydd yn egluro achos neu ffynnon, yn nghyda threfn cyfoeth gwladol. Ar y cipolwg cyntaf dichon yr ymddengys y pwnc yma yn beth dibwys i bawb oddieithr i wladyddion dysgedig; ond nid felly y mae mewn gwirionedd. Y mae o bwys i raddau mwy neu lai i bob dyn—canys y mae gan bawb ryw ragorfreintiau y dichon i'r wybodaeth yma beri iddynt eu meithrin, ac iawnderau i ddysgu iddynt eu hamddiffyn. Yn benodol, fe ddylai y dosparth gweithyddol fod yn fwy gwybodus yn hyn nag y maent

yn gyffredin. Gwnai hyn iddynt ddeall yn gywir y sefyllfa y maent ynddi yn y byd—y berthynas sydd rhwng eu rhagorfreintiau hwy ac eiddo ereill — yn nghyda'r drefn a'r moddion a ddylent ddefnyddio tuag at wellâu eu sefyllfa yn y byd. Diffyg o'r wybodaeth hon yw yr achos fod y dosparth gweithyddol wedi bod mor diffygiol o ddull addas a chyson i fyned yn mlaen, yn ngwyneb ymddygiadau y rhai hyny sydd yn deall y pwnc. Dyma yr achos hefyd nad ydynt yn gallu dirnad eu rhagorfreintiau, yn unigol, nac fel dosparth—yr hyn sydd wedi eu rhwymo i ymddibynu megys ar ddygwyddiad; ac felly i fod yn llawer annedwyddach nag y gallent fod.

6. *Hanesiaeth Anianyddol.*—Wrth hanesiaeth anianyddol y meddylir y wybodaeth sydd yn traethu ar rywogaeth, dosparthiant, a nodweddiad gwahanol wrthddrychau anian. Dosparthir y gwrthddrychau hyn i dri dosparth cyffredinol—anifeilaidd, llysieuawg, a mŵnawl. Yn y gangen yma o ddysg, dylid dechreu gyda phrif wrthddrych y byd hwn, sef dyn—ei drem, ei drigfa, ei amrywiaeth, ei ddull o fyw, hyd ei einioes, ei duedd at gymdeithas, &c. I gael hyd i hyn mewn dull rheolaidd, y mae yn angenrheidiol ystyried ei ddechread, ei luosogiad, a'i ymraniad i wahanol barthau y byd. Ac yn y fan yma gadewch i ni grybwyll, nad oes genym ddim i'n harwain yn y cyfryw ymchwiliad ond y Beibl yn unig, a chymaint ag sy wedi ei dynu o'r Beibl i wahanol ffurfiau gan wahanol awduron. Yr unig ysgrif wreiddiol yn yr holl fyd ar y pwnc, yw ysgrif Hebreig gan un a eilw ei hunan MOWSHEH †, yr hon ysgrif a wnaed trwy gyfarwyddyd yr Ysbryd dwyfol, ac a elwir genym ni yn GENESIS. Yn nesaf at ddyn, dylid ystyried y byd anifeilaidd yn ei amrywiol rywogaethau. Heblaw fod y wybodaeth hon yn fuddiol a difyrus ynddi ei hun, dyma hefyd brif ffynnon duwinyddiaeth naturiol. Yma yr ydym yn canfod bwriad a dyfais y meddwl dwyfol yn cyfaddasu pob creadur at y sefyllfa a'r amgylchiad y gosodwyd ef ynddo—a'r annichonolrwydd iddynt fod yn y drefn y maent, ond trwy drefniad doeth y Cre-

† Trwy ganlyn y llythyreniad Groeg a Lladin, gelwir ef genym ni yn Moses.

awdwr hollalluog. Y mae y wybodaeth yn deilwng o sylw pawb, yn neillduol duwinyddion.

III. Y dosparth yma a gynwys hanesiaeth yn gyffredinol; ond yn fwyaf neillduol y cangau a nodwyd. Y mae yn gwahaniaethu oddiwrth hanesiaeth anianyddol dyn, yn hyn:—nôd y gyntaf yw chwilio dyn fel creadur; ond nôd yr olaf yw chwilio gweithredoedd ac ymddygiadau dyn—syllu i'r hyn a wnaeth, a'r hyn y mae yn ei wneyd; yn nghyda'r dygwyddiadau a gymerasant le yn y byd mewn gwahanol oesoedd.

1. Tuag at fod yn hanesydd da, y mae yn angenrheidiol bod yn hyddysg yn *Amseryddiaeth* a *Daearyddiaeth* yr hanesiaeth y byddys yn ei hefrydu. Y mae y cyntaf yn ein dysgu am y prif-nodau, ac amseriad y gwahanol ffeithiau a gymerasant le—a'r olaf am y lleoedd y dygwyddodd y cyfryw bethau. Y ddau yma yw llygaid hanesiaeth. Gan hyny y mae o'r pwys mwyaf i'r efrydydd fod yn hyddysg ynddynt tuag at fod yn hanesydd cywir.

2. *Hanesiaeth Eglwysig.*—Yr ydym wedi dangos o'r blaen beth yw hanesiaeth eglwysig, yn nghyda'r pwysfawrogrwydd i'r efrydydd duwinyddol fod yn hyddysg ynddi, fel nad oes angen i ni aros ar hyny yn bresenol, ond yn unig ei henwi er mwyn trefn.

3. *Hanesiaeth Gyffredinol.*—Fe ddosparthir hanesiaeth gyffredinol i ddau ddosparth—sef hanesiaeth henafol, ac hanesiaeth ddiweddar. Y gyntaf sydd yn cyfeirio at sefydliadau, deddfau, arferion a defodau, celfyddydau, ymdrechion, &c., y cenhedloedd fuont yn y byd yn yr oesoedd gynt: ond yr olaf sydd yn cyfeirio at eiddo cenhedloedd yn yr oesoedd diweddar, yn nghyda'r oes hon. Y mae y wybodaeth hon yn bur ddefnyddiol i bob math o ddynion; ond gallwn ystyried ei bod yn angenrheidiol, i raddau mwy neu lai, i rai mathau. Ac yn eu plith gallwn enwi y duweinydd. Y mae yn rhy anhawdd iddo gael golygiadau eang a thrwyadl ar hanesiaeth eglwysig, heb fod ychydig yn gydnabyddus â hanesiaeth gyffredinol; yn benodol hanesiaeth henafol. Gadewch i mi grybwyll yn mhellach, mai hanesiaeth yw y ffynnon nesaf at y Beibl, ag y dylai yr efrydydd dynu ei wybodaeth am y natur ddynol o honi. Fe allai fod y rhan fwyaf sydd yn cymeryd y

natur ddynol yn destyn myfyrdod, yn dechreu trwy efrydu gweithiau rhyw awduron enwog, ac wedi hyny yn troi megys i edrych ar y byd, i chwilio ymddygiadau dynion, yn unig fel eglurhad ar eu golygiadau. Y mae hyn yn wallus. Fe ddichon llyfrau a golygiadau dynion fod yn gynorthwy, ond ni ddylent fod yn derfynau. Dylai yr efrydydd fyned allan yn rhydd i'r maes eang, i sylwi yn ddiragfarn ar bob peth a wel, ac i dynu casgliad têg oddiwrth y cwbl.

IV. Yr ydym yn galw y celfyddydau yma yn rhai *addurnol*, nid o herwydd nad yw y naill a'r llall o honynt yn gyrhaeddiadau pwysig a defnyddiol; ond, gyda golwg gyffredinol, nad ydynt yn teilyngu y flaenoriaeth. Y mae rhai gwybodaethau yn fwy hanfodol i ddedwyddwch dyn na'r rhai hyn: eto nid yw y rhai yma yn ddibwys a diangenrhaid.

1. *Ysgrifenu.*—Braidd nad ellir dweyd am y gelfyddyd yma, mai un ddwyfol ydyw; canys trwyddi hi y gallwn amlygu ein meddyliau heb eiriau, a gwybod heb glywed. Trwyddi hi yr ydym yn gallu hysbysu ein hanghenion, ein hofnau, neu ein llawenydd, i'n cyfeillion a'n perthynasau, er iddynt fod yn mhell oddiwrthym. Trwyddi hi yr ydym yn gallu trysori pob peth a ystyriwn yn werthfawr a theilwng: a thrwyddi hi hefyd yr ydym yn gallu trefnu ein hamgylchiadau, ac yn cofnodi y pethau sydd yn angenrheidiol eu cadw mewn cof. Nid oes yr un sefyllfa yn y byd nad all y gelfyddyd yma fod yn fuddiol ynddi; ac nad yw hefyd, i raddau, yn angenrheidiol. Ac y mae y cyfleusderau a'r manteision i'w dysgu mor lluosog yn y dyddiau hyn, fel y mae yn ddarostyngiad mawr, yn neillduol i bob dyn ieuanc, fod heb ei medru.

2. *Barddoniaeth.*—Nid fy amcan yw traethu ar natur a chyneddfau barddoniaeth, ond yn unig ystyried pa fodd y dylai yr efrydydd ymddwyn tuag at y gelfyddyd. Efallai nad yw ein hieuenctid yn cael eu dyrysu yn fwy gyda dim na chyda barddoniaeth; canys y mae rhyw awydd a syched rhyfeddol mewn cannoedd o honynt am fod yn feirdd.

Nid celfyddyd heb ddawn hanfodol iddi yw barddoniaeth. Rhaid *geni* dyn yn fardd cyn y bydd ganddo enaid y gân. Ond nid athrylith natur yw y cwbl. Os

mynir bod yn fardd teilwng, rhaid llafurio am wybodaeth eang. Rhaid gwybod hanesiaeth, fel y gellir olrhain ffeithiau yn gywir. Rhaid bod yn hysbys o wrthddrychau anian, er mwyn rhoi grym yn y dychymyg. Rhaid bod yn ieithwr medrus, er mwyn cael digon o eiriau at bob achlysur; ac er mwyn trosglwyddo y drychfeddyliau yn y dull mwyaf grymus a nerthol. Yn fyr, os na fydd y pethau hyn gan yr efrydydd, ofer iddo geisio arddelwi yr enw o fod yn fardd. Ac wedi y cwbl, a ydyw yr *enw* o fod yn fardd yn werth yr holl drafferth? Neu a ydyw y budd a gaiff y bardd ei hun, neu ynte y byd, yn ddigon o dâl am hyn? Na chamgymered y darllenydd fi. Nid wyf yn meddwl nad yw barddoniaeth wedi bod yn ddaioni i'r byd; nac wyf, mewn un modd: y mae gwaith y beirdd ysbrydoledig, yn nghyda lluaws o feirdd Cristionogol, yn ddigon i wrthbrofi hyny. Ac nid wyf yn meddwl chwaith na ddylai neb amcanu at hyn. Ond fy meddwl yw, na ddylai neb lafurio mewn barddoniaeth fel ei brif bwnc, ond yn unig y rhai hyny ag y mae yn amlwg fod Awdwr natur yn eu codi i hyny: ac ni ddylai y cyfryw chwaith ei gymeryd fel unig bwnc. Eto y mae bod yn wybodus mewn barddoniaeth yn addurn neillduol i bob ysgolhaig; ac yn ddefnyddiol iddo hefyd, yn neillduol yr areithiwr. Canys wrth ddarllen gwaith beirdd campus, fe gaiff afael ar ystôr o ddrychfeddyliau godidog, na chaiff mewn un man arall. Ac hefyd, fe ddaw yn gynefin â digonedd o eiriau i amlygu ei feddwl ar unrhyw achlysur gyda phiodoldeb a nerth. Ac nid hyny yn unig, ond fe fydd y difyrwch a'r bywiogrwydd a ddyry y mydr a'r odl yn coroni y cwbl.

3. *Cerddoriaeth.*—Dyma chwaer barddoniaeth; a gallwn ddweyd ato am dani yn debyg fel y dywedasom am farddoniaeth—na ddylid ei hystyried hi yn brif bynciau efryd i neb, ond y sawl a fyddo â gwir athrylith ati; a lled anaml yw y rhai hyny. Eto, nid yw cerddoriaeth heb ei phwysfawrogrwydd a'i buddioldeb. Yr hyn sydd yn ei gwneyd yn bwysig i'r Cristion, yn benaf, yw, ei bod yn un o brif ranau yr addoliad dwyfol. Y mae hyny yn dangos fod gwir angenrheidrwydd i ryw rai cymhwys ei hefrydu. A dylai y rhai hyny wneyd eu hunain yn feistriaid yn mhob rhan o honi.

Dylent ddeall natur ac ansoddion cerddoriaeth, yn nghyda'i holl egwyddorion a'i rheolau. Ond yn gyffredinol, nid ydym yn golygu y byddai hyn yn fuddiol. Eto byddai o fuddioldeb neillduol i bob efrydydd ddeall rhyw gymaint o'r gelfyddyd; digon i'w alluogi i'w defnyddio. Edrychir yn rhy ysgafn yn gyffredin ar ymarferiadau mewn cerddoriaeth. Nid oes dim, efallai, â chymaint o ddylanwad ar y natur ddynol a cherddoriaeth. Nid oes dim yn tueddu yn fwy i wellâu y dymher a bywiogi y teimladau. Gan hyny fe ddylai pob areithiwr, yn neillduol pob pregethwr, ymdrechu i fod yn alluog i raddau yn y gelfyddyd nefol yma. Dysgrifir y buddioldeb o ganu mewn ychydig o eiriau fel hyn—"Os wyt yn fyfyriwr caled, dysg ganu—canys nid oes dim sydd yn well i adfywio y meddwl pan fyddo wedi llesgâu yn fawr trwy efryd. Os wyt yn wan dy ysgyfaint, dysg ganu—canys nid oes dim yn well tuag at eu cryfhau. Os wyt am fod yn areithiwr llafar-bêr, dysg ganu—canys nid oes dim yn well i ddysgu iawn aceniad a phwyslais. Os wyt am wellâu dy lais i unrhyw ddyben, dysg ganu—canys nid oes dim mor effeithiol i hyny. Ac uwchlaw y cwbl, os wyt am foli dy Grëwr yn un o'r dulliau goraf a mwyaf effeithiol, dysg ganu—canys nid oes dim yn fwy cymeradwy ganddo os gwneir yn gywir, nac yn fwy dyddanol i tithau." *

Yr ydym yn awr gwedi gosod gerbron yr efrydydd y cyfryw bethau ag yr ydym yn barnu sydd yn fwyaf buddiol ac angenrheidiol yn gyffredinol—*yn gyffredinol* meddaf, am y gall rhai pethau fod yn fuddiol ac yn angenrheidiol i rai, nad ydynt i ereill; megys areithyddiaeth i'r areithiwr a'r pregethwr. Ond ar y cyfan, gallwn ddweyd, nad oes dim gwir deilwng o sylw ac amser yr efrydydd, nad yw yn gynwysedig yn y cylch a nodir genym. Nid ydym yn golygu chwaith y dylai yr efrydydd amgyffred yn drwyadl yr holl bynciau hyn; ond cymered ryw un a fo yn fwyaf buddiol iddo yn ei amgylchiad a'i alwedigaeth (yn unol â'i athrylith), fel prif bwnc; ac ymdreched fod yn feistr ar hwnw. Hefyd, fe fydd graddau o wybodaeth o'r cwbl yn taflu

* Gramadeg Cerddoriaeth.

graddau mawr o oleuni ar y prif bwnc hwnw; a goraf oll, os bydd ei amgylchiadau yn caniatau, pe cyrhaeddai wybodaeth eang ynddynt oll.

## PENNOD IV.

### EFRYDU IAITH GYNHENID—EFRYDU IAITH ESTRONOL.

DAN y pwnc o efrydu iaith, y mae yn angenrheidiol ystyried pa un ai iaith gynhenid ai iaith estronol y byddys yn ei hefrydu; canys y mae yn amlwg y dylai y dull o gychwyn fod yn wahanol. Pan y mae unrhyw iaith yn gynhenid i ddyn, y mae wedi ei ddysgu o'i fabandod i'w deall a'i siared, nes y mae wedi dyfod yn naturiol iddo. Ond pan y mae iaith yn anwybodus i ddyn, y mae yn hollol dywyll yn ystyr ei geiriau, ac yn ei dulliau ymadrodd.

I. Gadewch i mi grybwyll, yn gyntaf, y dull goraf o efrydu iaith gynhenid; ac, i'r Cymro, y Gymraeg yw hòno. Fe ellir efrydu y Gymraeg mewn dau ystyr—sef yn ymarferol ac yn athronyddol.

1. Y mae efrydu iaith yn ymarferol yn cynwys bod yn hyddysg mewn ystyrion geiriau, ac yn yr iawn ddull o'u cyfleu yn ymadroddion. Y gangen gyntaf a gyrhaeddir trwy ddysgu y seiniau, a bod yn wybodus yn y gwrthddrychau a arwyddant. Er cynorthwy i hyn yma y gwneir geirlyfrau. Yr ail gangen, sef y dull o gyfleu y geiriau yma yn ymadroddion, a ddysgir trwy wybod beth yw gwir briod-ddull yr iaith. Ac yma gallwn sylwi, fod i bob iaith ryw neillduolion (*peculiarities)* nad ydynt yn briodol i unrhyw iaith arall. Er cynorthwy i ddeall hyn y gwneir gramadegau. Dylai pob dyn cyhoeddus, ysgrifenwr neu siaradwr, fod yn wybodus i raddau mawr yn y cangenau yma o wybodaeth ieithyddol. Y diffyg o hyn yw yr achos fod cymaint o ddynion cyhoeddus yn ein plith nas gwyddant pa un ai y sylweddair ai yr ansoddair a ddylai ragflaenu yn ol rheol gyffredin yr iaith, na pha bryd y gellir gwneyd yn wahanol, a hyny yn rheolaidd. Er anghraifft, pa un ai 'Duw hollalluog,' ai 'yr hollalluog Dduw,'

ydyw y cywir; neu ynte, a ydyw y ddau? a pha amgylchiadau sydd yn eu cyfreithloni?

2. Efrydu iaith yn athronyddol yw chwilio cyfansoddiad geiryddol yr iaith, yn nghyda rhesymoldeb ei gwahanol ddulliau. Cyn y gellir olrhain ei chysylltiadau geiryddol, y mae yn angenrheidiol bod yn hyddysg yn ngwreiddiau, arddodiadau, terfyniadau, a chyfnewidiadau llythyrenol yr iaith. Er anghraifft—beth yw cyfansoddiad y gair *hyfforddwr?* yn awr *wr* sydd yn derfyniad i sylweddeiriau; gan hyny y mae hyfforddwr yn tarddu o hyfforddd. Y mae *hy* eto yn arddodiad eangol, ac yn arwyddo tueddiad at; ac y mae yn nerthu neu yn eangu y gair a fyddo ar ei ol, Felly, hyfforddd sydd yn gyfansoddedig o *hy* a *ffordd*: gan hyny ystyr y gair hyfforddwr yw, un yn *arwain* neu yn *cyfarwyddo.* Ond dylid ystyried hyny, nad yw gwybodaeth o'r gwreiddiau, &c., yn ddigon ynddi ei hun i gyrhaedd gwybodaeth sicr o ddefnyddiad pob gair yn y Gymraeg, yn fwy nag mewn ieithoedd gwreiddiol ereill. Y mae y gwreiddyn yn nodi allan ryw ddrychfeddwl cyffredinol *(general idea)* neu gilydd bob amser, ac arweinir y meddwl i ystyried fod y gair yn cael ei ddefnyddio o fewn cylch y drychfeddwl cyffredinol hwnw; ond gan fod y drychfeddwl hwnw yn cynwys lluaws o wrthddrychau ag y mae rhyw gysgod o wahaniaeth ynddynt oll, nid oes ond gwybodaeth o ddefnyddiad y gair a all nodi yn gywir beth yw ei ystyr. Heblaw hyn, y mae y cyfnewidiadau ag y mae pob iaith yn agored iddynt, yn gwneyd graddau o gyfnewidiad ystyr yn yr un geiriau yn aml, fel nad yw yr un gair weithiau yn arwyddo yn gymhwys yr un peth mewn gwahanol oesoedd. Weithiau hefyd fe fydd yr un arddodiad yn cael ei ddefnyddio mewn gwahanol ystyriaethau. Er anghraifft—ystyr y blaenddodiad *dir* yw eangu neu gryfhau ystyr y gwreiddyn neu y gair a fyddo yn ei ganlyn—megys *mawr*, dirfawr. Ond weithiau y mae yn groes i hyn—megys yn y gair *dirmyg*. Myg yw parch, anrhydedd, &c.; ond dirmyg yw anmharch a dianrhydedd. Felly hefyd y gair *dirwest,* o *dir* a *gwest*. †

Ond cyn gadael y pwnc yma, gadewch i ni grybwyll

† Na feddylied yr annghyfarwydd mewn iaith, mai diffyg y Gymraeg yw hyn; y mae yn bod yn yr ieithoedd goraf a manylaf.

gair yn mhellach am yr egwyddor y dylai yr efrydydd ei chanlyn yn yr ymchwiliadau ieithyddol hyn. Dylai chwilio iaith fel y mae yr athronydd yn chwilio natur. Edrych y mae ef i'r hyn ydyw natur; a chwilio ei deddfau fel y maent yn bod, ac nid rhoddi deddfau iddi. Felly hefyd y dylai yr ieithydd chwilio iaith. Nid ei waith ef yw cyfnewid iaith yn unrhyw un o'i ffurfiau; ond yn unig edrych beth yw ei ffurfiau, eu dwyn i'r amlwg, a'u gadael yn hollol yr un fel. Dyma fel y dylai fod gyda geiriau a chystrawen iaith. Nid gwaith priodol neb yw gwella iaith; nid ellir gwneyd hyny; ac y mae y rhai sydd yn son am y cyfryw beth yn amddifad o olygiadau cywir beth ydyw iaith. Yr unig wella dichonadwy mewn cysylltiad âg iaith, yw symud y gau ddulliau ymadrodd a arferir gan y werin anwybodus, oddiwrth y gwir ddulliau; a chwanegu geiriau yr iaith yn ol fel y byddo amgylchiadau yn gofyn. Nid yw y cyntaf yn ddim amgen na charthu y chwŷn oddiwrth y gwir lysiau, ac nid perffeithio y llysiau eu hunain; canys y mae y rhai hyny yn berffaith ynddynt eu hunain. Ac nid yw chwanegu at eiriau ein hiaith yn chwanegu dim at yr iaith ei hun mewn gwirionedd, canys y mae y defnyddiau yn barod eisioes. Nid yw bod dau sylwedd gwahanol yn cael eu ffurfio yn un corff newydd, yn chwanegu dim mewn gwirionedd at y greadigaeth, er fod nifer y cyrff yn amlhau; canys yr oedd y sylweddau yn bod o'r blaen. Felly hefyd gyda'n hiaith ninau. Er lluosogi ei geiriau, eto nid ydys yn chwanegu dim ati mewn gwirionedd; canys yr oedd y gwreiddiau, y blaenddodiaid, a'r terfyniadau oll ynddi o'r blaen. Ond dylai hyn gael ei wneyd gan ieithydd cyfarwydd iawn, a dirodres hefyd. Gresyn yw na bae rhyw eirlyfr digon lluosog ei eiriau i gyfateb i ddysg a chelfyddyd yr oes, a gramadeg teilwng i'r Gymraeg,

Er anghraifft, nyni a nodwn y Groeg, yr hon a gydnabyddir gan y dysgedigion yn gyffredin (nad ydynt yn deall y Gymraeg) fel yr iaith berffeithiaf. Y mae i'r blaenddodiad A ddau ystyr cyffredinol yn yr iaith; ac weithiau dri a phedwar---megys ACHARIS, anniolchgar, O A, an, a CHARIS, diolchgarwch: dyna ystyr nacaol. Eto, ACSILOS, coediog; O A, a CSYLON, coed: dyna ystyr cadarnhaol. Nid yw hyn yn wall yn un o'r ddwy iaith; ond ni chaniata ein terfynau i ni egluro a phrofi hyny yn bresenol, ac nid yw natur y gwaith yn gofyn hyny.

yn cael eu dwyn allan, a'u derbyn fel dau safon i'r genedl. Ond nid pawb sydd yn addas i'r gorchwyl. Nid rhyw grach-ieithwyr, sydd am ddangos eu hunain yn rhyw beth trwy ddefnyddio ymadroddion digon tywyll a dyeithr, a geiriau cyhyd a heddyw a fory; nagê, ond rhyw un eang ei wybodaeth, a chywir o ran ei chwaeth. Ond pe anturiai rhyw un at y gorchwyl, a dwyn gweithiau teilwng gerbron, y mae yn ddigon tebyg mai eu beio a wneid gan ryw grach-ddysgedigion cenfigenllyd, a'u gadael i drengu yn yr esgorfa, fel geirlyfr Caerfallwch. Nid yw hyn yn ganmoliaeth i'r Cymry, nac yn arwyddo yn dda i'r Gymraeg.

II. Gadewch i ni ystyried ychydig yn awr ar ddysgu iaith estronol neu ddyeithr. Y dull goraf neu fwyaf naturiol i ddysgu iaith, yw y dull hwnw ag sydd gan blant yn dysgu eu hiaith gynhenid; sef trwy siared â hwy ynddi. Yn y modd hyny fe ddaw y plentyn, tra yn ei ddyddiau boreaf, i allu siared yr iaith mewn ychydig iawn o amser. Y dull goraf, gan hyny, i ddyn mewn oedran ddysgu unrhyw iaith ddyeithr, yw trwy ymddyddan yn gyson â rhyw un galluog yn yr iaith hòno; ond anaml y ceir y fath fantais yn neillduol yn yr ieithoedd henafol a dysgedig, fel eu gelwir. Pa ddull, gan hyny, yw y goraf, pan nad yw y fantais hon yn gyrhaeddadwy? Y mae yn eglur mai y dull agosaf neu debycaf a ellir gael i hyn, ydyw dechreu gyda rhan ymarferol yr iaith, ac nid gyda'r rhan egwyddorol. Y mae yn wir mai y drefn fwyaf cyffredin mewn ysgolion i ddysgu ieithoedd, yw dechreu gyda'r rhan egwyddorol; a dyma ydyw yr achos fod cymaint o amser yn cael ei dreulio yn gyffredin i ddysgu unrhyw iaith ddyeithr, a hyny i raddau anmherffaith iawn y rhan fynychaf. Dechreuir trwy ddysgu rheolau y gramadeg, pan nad yw y person yn gwybod dim am yr iaith yn ymarferol: ni all dim fod yn fwy annaturiol. Ond y mae yr enwog Locke, a lluaws o ddysgedigion cywir, wedi dangos afresymoldeb y dull yma yn ddigonol. Cyn y gall yr efrydydd amgyffred a chanfod cysondeb y rheolau gramadegol, y mae yn angenrheidiol fod ganddo yn mlaenllaw ystôr o eiriau yr iaith yn ei gof yn eu cysylltiad naturiol â'u gilydd; yr hyn sydd i'w gael trwy ymarferyd â'r iaith yn annibynol ar ei helfenau.

Yr unig drefn a ystyriwn yn naturiol a chywir, yw hòno a gynygiwyd gan Mr. Locke. Y mae egwyddor ei gyfundraeth ef yn gynnwysedig mewn cyfieithiad llythyrenol o unrhyw awdwr o'r iaith y byddys yn bwriadu ei dysgu, gyda defnyddiad graddol a phenodol ar ramadegau yr iaith. Y mae yn wir fod Locke yn dwyn hyn mewn grym yn gysylltedig â'r uchawdwyr Groeg a Lladin yn benaf; ond y mae yr egwyddor yn sefyll yr un yn mhob iaith, a chyda phob awdwr. Yr ydym wedi dweyd o'r blaen, yn ol barn dysgedigion penaf yr oes, nad yw o werth i neb golli ei amser i ddysgu y Groeg a'r Lladin er mwn yr uchawduron; ond ei fod o bwys mawr i'r duweinydd fod yn alluog yn yr Hebraeg, a Groeg y Testament Newydd a chyfieithiad y Deg-a-thriugain. Y mae dysgedigion yr oes yn dechreu addef hyn, er cryfed yw rhagfarn at yr hen arferiad; a rhai ysgolion ac athrofaau yn dechreu gweithredu yn ol hyny. Y mae athrofa Llundain yn addysgu yn ol y cynllun yma, ac wedi dwyn Llyfr Genesis allan yn Hebraeg a Saesonaeg o waith Mr. Greenfield, a'r Efengylwyr yn Groeg, Lladin, a Saesonaeg, gan rai o athrawon yr athrofa. Er mwyn egluro y wybodaeth yn drwyadl i'r efrydydd, nyni a roddwn anghraifft yn y y Groeg a'r Gymraeg, yn nghyda rhai sylwadau.

GWEDDI YR ARGLWYDD.

*Pater..hêmòn ho en tois-ouranois, hagiasthêtô*
Ein..Tad yr hwn *wyt* yn y-nefoedd, santeiddier

*to-onoma..sou· Elthetò he-basileia..sou· genêthêtô*
dy..enw: Deled dy..deyrnas: gwneler

*to-thelêma..sou· hôs en ouranôi kai epi*
dy..ewyllys, megys yn y-nef, *felly* hefyd ar

*tês gês· Ton-arton..hêmôn ton-epiousion dos hêmin*
y ddaear: Ein..bara beunyddiol dyro ini

*sêmeron· Kai apheis hêmin ta-opheilêmata..hêmôn,*
heddyw: A maddeu ini ein..dyledion,

*hôs kai hêmeis..aphiemen tois-opheiletais..hêmôn·*
fel hefyd y-maddeuwn..ninau *i*'n..dyledwyr:

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| *Kai me* | *eisenengkes* | *hemas* | *eis* | *peirasmon,* | *alla* | *rhusai* |
| Ac nac | arwain | ni | i | brofedigaeth, | eithr | gwared |
| *hemas* | *apo* | *tou-ponerou·* | *Hoti* | *sou* | *estin* | *he* |
| ni | rhag | drwg: | Canys | eiddot-ti | yw | y |
| *basileia,* | *kai he* | *dunamis,* | *kai he* | *doxa,* | | *eis* |
| deyrnas, | ac y | gallu, | ac y | gogoniant, | | dros |
| *tous-aiônas·* | *Amen.* | | | | | |
| oes-yr-oesoedd : | Amen. | | | | | |

Y mae hyn yn ddigon o anghraifft i roddi golwg i'r efrydydd ar natur y gyfundraeth. Fel hyn fe ellid gwneyd trefniant i egluro y Groeg a'r Hebraeg mewn llythyrenau Cymreig yn unig, fel y gallai plentyn ddyfod i'w deall a'u siared yn eithaf cywir. Y mae hyn wedi ei wneyd yn Hebraeg a Saesonaeg gan Mr. Greenfield, am y cyfryw waith y dywed y Cadeirtraw R. W. Jelf, fel hyn—" Yr wyf yn cymeryd y cyfleusdra presenol i gydnabod fy rhwymau i lyfr a ddylai fod yn nwylaw pob hunan-ddysgawdwr—sef Llyfr Genesis mewn Saesonaeg-Hebreig gan W. Greenfield. Y rhwystr mawr ar ffordd efrydydd unig yw darllen a chynanu. Wrth ddysgu unrhyw iaith estonol oddiar ysgrif, y mae natur yn ein dysgu i ddefnyddio tri offeryn—y llygad, y glust, a'r genau; y llygad at ymddanghosiad y gair—y glust at ei sain—a'r genau at ffurfiad peiriannol ei sillaffau. Y mae pob un o'r rhai hyn yn cydweithredu i gynorthwyo y cof. Os bydd un o honynt ar ol, fe fydd un o'r llwybrau yn gauedig. Pan y dechreuais ar yr Hebraeg, yr oedd y tafod a'r glust yn segur, o herwydd nad oedd genyf yr un rheol i gynanu. Arweinid fi gan ymddanghosiad y gair yn unig; a dygwyddai yn aml fy mod yn troi i'r geirlyfr i chwilio yr un gair ag y byddwn wedi sicrhau ei ystyr yn yr adnod flaenorol. Ond pe buaswn yn gallu cynanu y gair, nid felly y buasai. Y mae Mr. Greenfield wedi ffurfio dull hawdd o ddarllen a seinio yr iaith â llythyrenau Saesonig yn unig." Ond gadewch i ni grybwyll yma, y gellir gwneyd hyn yn gywirach yn y Gymraeg, am fod tafod y Cymro yn alluog i gyrhaedd pob sain sydd yn yr Hebraeg a'r Groeg, yr hyn nid all y Sais.

Yn awr, bwriwch fod yr efrydydd yn dechreu ar y Groeg gyda chyfieithiad llythyrenol o ryw gymaint o'r Testament Newydd, yn ol y cynllun uchod—pa fodd y dylai fyned yn mlaen? Ar ol dysgu darllen (yr hyn a ellir yn bur hawdd), dylai ymosod yn ddioedi ar ddysgu ystyr y geiriau, trwy gyfarwyddyd y cyfieithiad yn unig; yr hyn a wneir trwy nodi rhyw gyfran, megys pennod neu lai, a'i darllen allan yn araf a manwl, gan ddal sylw ar fynychiad y geiriau yn y Groeg a'r Gymraeg. Dylai fyned dros y wers fel hyn gynifer o weithiau, nes y byddo geiriau y ddwy iaith gwedi eu cysylltu yn ei feddwl yn y fath fodd ag y bydd llefaru un yn dwyn y llall i'r cof yn naturiol. Ar ol myned trwy bennod yn y dull yma, dylai brofi ei allu i droi y wreiddiol i'r Gymraeg, trwy geisio ei chyfieithu heb gymhorth y cyfieithiad fyddo o'i flaen, a chymharu y ddau eilwaith gyda'u gilydd. Cyn myned yn mhellach, dylai fod yn feistr trwyadl ar y wers, mor drwyadl fel y gallo nid yn unig gyfieithu y testyn gwreiddiol yn frawddegau, ond hefyd roddi gair Cymreig am bob gair Groeg, ac eilwaith Groeg am y Cymreig, a hyny yn annibynol ar gysylltiad y geiriau yn yr ymadrodd.

Ar ol myned yn mlaen fel hyn ryw gymaint, dywedwn dros lyfr Matthew, fe all yr efrydydd ddechreu troi ychydig i'r gramadeg Groeg, i ddysgu y treigliadau rheolaidd yn y rhanau ymadrodd treigliedig. Ni ddylai anturio at y gorchwyl yma cyn bod âg ystôr o eiriau yn barod yn ei feddwl; yr hyn fydd ganddo pan y dysgo gymaint ag a nodwyd, neu o gylch hyny. Yn ei ymchwiliadau gramadegol, dechreued gyda threigliad rheolaidd y sylweddair neu enw cadarn; ac yna aed yn mlaen nes bod yn hyddysg yn holl dreigliadau rheolaidd yr ansoddair, y rhagenw, a'r parwyddiad. Fel hyn fe fydd wedi ei barotoi i efrydu cystrawen yr iaith, yr hyn, o ran ei sylwedd, sydd yr un yn mhob iaith; ond fod i bob iaith ei neillduolion. Ac yn wir, fe fydd wedi dyfod yn wybodus yn rheolau yr iaith, i raddau mawr, yn ddiarwybod megys iddo ei hunan. Yn fyr, dyma y gyfundraeth gywir i efrydu iaith estronol, am ei bod yn gosod yr efrydydd yn debyg ar yr un tir ag y mae y plentyn wrth ddysgu ei iaith gynhenid.

# PENNOD V.

ADDYSGU PLANT MEWN CREFYDD—MEWN MOESAU—I IAWN DDEFNYDDIO EU GALLUOEDD CORFFOROL MEWN GWYBODAETH GYFFREDINOL—MEWN CELFYDDYD—DIFYRION PLANT.

PLANT yr oes hon yw gobaith yr oes ddyfodol. Yr ydym ni, y rhai sydd yn cyflawni gorchwylion y byd, yn cilio yn gyflym oddiar chwareufwrdd amser: y mae dydd ar ol dydd yn ein hysgubo ymaith oddiar wyneb y ddaear, ac yn gosod rhai o honom yn feunyddiol i orwedd yn y bedd tawel, lle nad oes na gwaith na dychymyg. Fe fydd yspaid deng mlynedd ar hugain wedi cyfodi cenedl arall yn ein lle—ereill fydd prif oruchwylwyr y byd yn ei holl amgylchiadau, ac yn ei lenwi â bendithion neu felldithion, pan y byddwn ni yn gorwedd yn isel yn y pridd. Gan hyny, a gawn ni ddim ystyried, beth a allwn ni ei wneyd tuag at attal drygau, a chyfranu bendithion ar yr oes ddyfodol? Beth a gawn ni ei wneyd tuag at sicrhau crefydd, rhinwedd, a gwybodaeth, yn mhlith y genedl ddyfodol! A ydym yn hollol ddifater am ogoniant Duw yn yr oes sydd yn codi? Yn ddiawydd am feithrin rhinwedd a dedwyddwch i'r rhai sydd i sefyll yn ein lle? Bydded i ni wrando, gan hyny, ar Dduw trwy ei was Solomon, ac nyni a gawn ddysgu pa fodd y mae cyflawni hyn. Y mae y Duw holl-ddoeth, a'r doethaf o ddynion, yn cyduno i'n cynghori fel hyn—"Hyfforddia blentyn yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy â hi."

Y mae yn anhawdd dechreu addysgu plant yn rhy fore; ac yn wir, y mae had arferion drygionus yn cael eu hau yn meddyliau plant yn llawer ieuangach nag y meddylir yn gyffredin. Efallai mai anhawdd gan rieni yn gyffredin fyddai credu fod anufydd-dod ac ymddygiadau anhywaith eu plant yn cael eu dysgu iddynt ganddynt hwy eu hunain, trwy eu harferion ffol, cyn i'r babanod fyned erioed o'u breichiau. Er anghraifft—fe welir y fam yn fynych mewn digrifwch yn dysgu y baban i roddi ffat â'i law fechan yn ngwyneb ei dad: a thra y mae y plentyn yn ei fabandod, nid yw y canlyn-

iad o fawr bwys: ond y mae yr arferiad yn cryfhau mor gyflym ag y mae y plentyn yn cynyddumewn oedran a maint: y mae yr hedyn bychan a hauwyd mewn gwendid, yn aros, yn gwreiddio, ac yn tyfu: a phan y del y bachgen neu y ferch i oedran, fe ddaw yr hyn oedd yn ddibwys, yn bwysig. Os gellir, fel hyn, chwanegu at ddrygau calon dyn yn ngwawrddydd bywyd, onid ellir hefyd, i raddau, trwy ddiwydrwydd a llafur, attal ei ddrygau, a meithrin rhinwedd? Onid ellir difa rhai drygau cyn iddynt ddechreu egino? Ac onid ellir planu rhinweddau yn ddioedi yn nhir y natur ddynol, a hyny cyn i'r drain a'r mieri cas ddechreu tyfu?

Yn awr, yr hyn sydd yn hanfodol i addysgu plant, yw eu cyfarwyddo yn y pethau hyny sydd yn angenrheidiol ac yn ddefnyddiol iddynt eu medru a'u gwybod yn eu sefyllfa yn y byd hwn, ac yn eu perthynas â'r byd dyfodol. Gan fod gan bob plentyn a enir i'r byd gorff ac enaid—a chan fod ei ddedwyddwch neu ei annedwyddwch yn y byd hwn a'r hwn a fydd yn dibynu i raddau mawr ar ei wybodaeth a'r cyfarwyddiadau a gaiff, y mae ganddo hawl ar ei rieni i gael ei addysgu ganddynt, yn ol eu gallu, mor belled ag y mae yn angenrheidiol er ei ddedwyddwch mewn corff ac enaid, yn y byd hwn ac yn y byd arall.

I. Y peth mwyaf pwysig y dylid ei ddysgu i blant yw crefydd, o ran egwyddor ac ymarferiad. Yr wyf yn crybwyll hyn yn gyntaf, nid yn unig o herwydd ei fod o'r pwys mwyaf, a hyny i ddynolryw yn gyffredinol, ond hefyd am y gellir addysgu plant yn hyn tra yn ieuainc iawn. Mor gynted ag y daw plant i ddeall unrhyw beth, ac i ddefnyddio eu rheswm o fewn cylch bychan eu hamgyffred, fe ellir eu haddysgu mewn crefydd mor belled ag y mae yn rhesymol eu dysgu yn y cyfryw oedran.

1. Fe ellir eu dysgu fod Duw yn bod—Duw mawr ac anfeidrol—yr hwn a'u gwnaeth hwy, ac sydd yn rhoddi iddynt bob peth daionus. Ei fod ef yn eu gweled hwy yn mhob man, er nad allant hwy ei weled ef.

2. Gellir eu dysgu beth a ddylent ei wneyd, a pheth a ddylent ei ochelyd, tuag at foddhau Duw. Dylent gael eu dysgu i wybod y gwahaniaeth rhwng da a drwg. Gellir eu dysgu mai eu dyledswydd yw ofni, a charu,

ac addoli Duw; gweddio arno am yr hyn sydd arnynt ei angen, ei fendithio am yr hyn y maent yn ei fwynhau; yn nghyda lluaws o ddyledswyddau ereill.

3. Fe ddichon eu cydwybodau dderbyn argyhoeddiad yn ngwyneb esgeuluso y dyledswyddau hyn, neu pan y torant un o orchymynion Duw ne ueu rhieni; ac fe ellir peri iddynt deimlo fod y Duw mawr a santaidd, yr hwn sydd yn caru cyfiawnder, a'r hwn sydd yn cyfranu iddynt hwythau eu holl ddaioni—yn ddig wrth y rhai sydd yn tori ei orchymynion ac yn pechu yn ei erbyn; gan hyny, eu bod hwy gwedi myned yn wrthddrychau ei anfoddlonrwydd.

4. Gellir eu dysgu fod byd ar ol hwn, ac nad yw eu heneidiau yn marw gyda'u cyrff; y cânt fyned i'r nefoedd, i fod yn ddedwydd am dragwyddoldeb, os byddant yn rhai da a santaidd yn y byd hwn; ond os byddant yn rhai drwg ac annuwiol, y bydd yn rhaid iddynt fyned i uffern i ddyoddef poenau ac annedwyddwch yn oesoesoedd.

5. Dylid dweyd wrthynt hefyd, er i'w cyrff farw a chael eu claddu, eto y gall Duw, ac y gwna hefyd, eu hadgyfodi a'u bywhau eilwaith; ac y bydd eu heneidiau a'u cyrff mewn undeb â'u gilydd mewn dedwyddwch neu annedwyddwch, yn ol eu hymddygiadau yn y byd hwn.

6. Dylid eu dysgu hefyd nad oes yr un ffordd i bechaduriaid fel nyni ddynion, gael ein dwyn i heddwch a chymeradwyaeth Duw, ond yn unig er mwyn a thrwy Iesu Grist, Mab Duw, yr hwn a ddaeth i lawr o'r nef i'r byd hwn, a fu fyw bywyd santaidd a pherffaith; a ddyoddefodd ac a fu farw, er mwyn cymodi pechaduriaid â'r Duw mawr a santaidd, yr hwn a ddigiwyd trwy bechodau dynion; a'i fod yn awr yn y nefoedd yn eiriol dros bechaduriaid: a chan mai Iesu Grist yw yr unig Gyfryngwr rhwng Duw a dyn, fod yn rhaid i'w holl obaith am iachawdwriaeth orphwys arno ef yn unig.

7. Dylid eu dysgu eu bod yn bechaduriaid wrth natur, a'u bod yn dueddol i wneyd drwg yn naturiol; ac mai yr Ysbryd Glân a raid wella llygredd a drygioni eu calonau, a'u gwneyd yn santaidd, ac yn addas i fyw gyda Duw yn y nefoedd.

8. Dylent gael eu dysgu i weddio ar Dduw am iddo ef, er mwyn Iesu Grist y Cyfryngwr bendigedig, faddeu eu pechodau, a'u cynorthwyo, trwy ei Ysbryd, i'w garu a'i wasanaethu gydag aiddgarwch a ffyddlondeb dros yr amser dyfodol—am iddo gyfranu iddynt bob bendith angenrheidiol yn y byd hwn, a'u dwyn yn ddiogel yn y diwedd i'w dragwyddol deyrnas.

9. Dylid dysgu iddynt fod ein Hiachawdwr wedi sefydlu dwy ordinhad i gael eu cadw gan ei holl ganlynwyr hyd ddiwedd amser: gelwir hwy yn gyffredin yn *sacramentau*. Un yw bedydd, yn mha un y golchir dynion â dwfr yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, i arwyddo eu cyflwyniad yn ddysgyblion i Grist; ac fel arwydd o'r purdeb calon a bywyd y maent hwy yn ei arddel, ac i amcanu ato fel canlynwyr Crist. Y llall yw swper yr Arglwydd, yn mha un y torir bara, ac y tywelltir gwin, i'w yfed a'i fwyta gan Gristionogion, er coffadwriaeth am ddyoddefiadau a marwolaeth Crist yn iawn dros bechodau dynion. Nad yw y blaenaf, sef bedydd, i gael ei weinyddu ond un waith i'r un person; ond bod yr olaf, sef swper yr Arglwydd, i gael ei weinyddu yn aml, er mwyn cadw coffa bywiog a pharhaus yn yr eglwys am farwolaeth Crist, nes y delo yr ail waith i farnu y byd.

Dyma swm a sylwedd y grefydd Gristionogol, wedi ei ffurfio i ychydig o bynciau syml ac eglur, fel y gallo plentyn pedair oed, o gyneddfau cyffredin, ddysgu y rhan fwyaf o honynt; a'u deall oll yn wyth neu naw, o'r hyn lleiaf mor belled ag y mae yn angenrheidiol i'w ymarferiadau crefyddol ef.

II. Fe ddylai pob plentyn gael rhyw gymaint o addysg ar foesau, fel y gallo ymddwyn tuag ato ei hun a thuag at bawb ereill yn hywaith a charuaidd. Er i bob dysgeidiaeth arall gael ei chyfranu i blentyn, os bydd hon yn eisiau, fe fydd diffyg mawr yn ei addysg, yr hyn a'i gwna yn fwy annerbyniol gan ereill, ac yn fwy annedwydd iddo ei hun.

1. Fe ddylid dysgu plant o'u mabandod i ddweyd y gwir. Nid all dynion fod yn greaduriaid cymdeithasgar yn ddim hwy nag y credant eu gilydd; a thrwy yr ymddiriad sydd gan ddynion yn eu gilydd—trwy i'r hyn a ddywedir genym wrth ereill gael ei dderbyn fel gwir-

ionedd, a thrwy i ninau ymddiried yn yr hyn a ddywedir wrthym gan ereill—y mae gorchwylion y byd yn cael eu dwyn yn mlaen. Ond o'r tu arall, pe twyll a chelwydd fyddai yn unig mewn arferiad, fe ddinystrid ffurf a grym y gymdeithas ddynol i'r sylfaen. Nid oes yr un pechod yn dangos mwy o lygredigaeth y galon na chelwydd; yr un yn dangos mwy o gariad at ansanteiddrwydd; nac yr un chwaith ag y cyhoeddir barnau trymach yn ei erbyn: er hyny, trist yw meddwl, pechod hynod o gyffredin ydyw yn ein plith fel cenedl, mewn gwahanol ffurfiau. Fe ddywed Iesu ab Sirach fel hyn am y dyn celwyddog—"Anaf mawr ar ddyn yw celwydd —Gwell yw lleidr na'r hwn a ymgynefino â chelwydd: a phob un o'r ddau a gaiff ddinystr yn etifeddiaeth," Eccles. xx. 24, 25. Ac fe ddywed Dafydd, (Salm lii. 2,) fod tafod twyllodrus fel ellyn llym, i ddinystrio yn fradwriaethus. Ac nid rhyfedd fod celwyddwyr mor beryglus ac andwyol, pan yr ystyriwn pwy ydynt, a pheth yw eu nodweddiad. Fel hyn y dywed Crist am danynt,—"O'ch tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad diafol a fynwch chwi eu gwneuthur. Lleiddiad dyn oedd efe o'r dechread; ac ni safodd yn y gwirionedd, oblegid nid oes gwirionedd ynddo ef. Pan yw yn dywedyd celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd: canys y mae yn gelwyddog, ac yn dad iddo," Ioan viii. 44.

Dylid dysgu plentyn i gilio oddiwrth gelwydd fel oddiwrth sarff, a gochelyd rhagddo fel rhag gwenwyn. Danghoser iddo y gellir yn hawddach faddeu cant o gamgymeriadau, nag un celwydd i guddio ei fai. A thuag at gyrhaedd hyny, y mae yn angenrheidiol ei arfer i fod yn fanwl i ddweyd y gwir hyd yn nod mewn pethau dibwys. Pe dygwyddai rhyw beth wrth un ffenestr, ac i'r plentyn, wrth adrodd y peth, ddywedyd mai wrth ffenestr arall y dygwyddodd, ni ddylid gadael i hyny fyned heibio, ond dylid ei attal yn y fan; canys pan y dechreuir myned o'r ffordd, ni wyddys pa le y terfyna.

2. Fe ddylid addysgu plant yn fore i lywodraethu eu hunain. Dylent gael eu dysgu, hyd y mae yn ddichonadwy, i lywodraethu eu meddyliau, i iawn ddefnyddio eu hewyllys, ac i ymddwyn yn ol gwybodaeth, ac nid

yn ol nwydau gwyllt a ffol. Fe ddylid arfer plant, hyd y gellir, i gadw eu meddyliau a'u bryd yn sefydlog ar y peth y byddant wrtho, a'u hattal rhag rhedeg o'r naill beth i'r llall yn ol eu blys a'u tueddiadau eu hunain. Y mae llawer o blant mor wamal ac ansefydlog, fel nad arhosant gyda dim dros nemawr iawn o amser: y mae pob pluen—pob symudiad o eiddo pawb a phobpeth fo yn agos atynt—a phob swn, mawr neu fach, yn eu tynu yn union oddiwrth eu gwaith: ac os na ddefnyddir doethineb a phenderfyndod i'w diwygio oddiwrth y dymher yma, hi a fydd yn sicr o effeithio yn niweidiol iawn arnynt mewn amser dyfodol; ac odid fawr y cyrhaeddant unrhyw ragoroldeb mawr mewn gwybodaeth, nac yn eu galwedigaeth, beth bynag a fyddo. Eto dylid bod yn ddoeth i beidio â cheryddu y duedd yma yn rhy lym mewn unrhyw fodd, rhag dinystrio y planhigyn ieuanc, a difa, efallai, y grym athrylith a ymddanghosai yn obeithiol iawn. Ac i ochelyd hyn, dylid defnyddio moddion i ddenu y plentyn, yn hytrach na'i yru; canys y mae yn well yn mhob ystyr gyflawni dyledswydd o ddifyrwch nag o orfod. Er hyny ni ddylid cadw y plentyn yn ormodol yn yr un fan, na chyda'r un peth.

Peth arall y dylai plant gael eu dysgu i'w lywodraethu ydyw blys. Ac yn flaenaf dylid crybwyll blys y chwaeth neu y genau. Peth cas iawn yw gweled plant yn estyn at bob dysglaid o fwyd, a phob cwpanaid o ddiod, a welont yn y teulu; ond felly y gwnant os na ddysgir hwy yn well. Heblaw fod hyn yn arwydd amlwg o ddiffyg llywodraeth mewn teulu, pa faint o blant a ddifasant eu hiechyd, a dreuliasant eu daoedd bydol, a gollasant eu nodweddiad, ac a syrthiasant i'r bedd yn anamserol, yn unig o herwydd eu gadael i anwesu blys at fwydydd a diodydd! Ond y mae blysiau ereill heblaw eiddo y chwaeth, ag y mae plant yn dueddol i'w hanwesu os nad attelir hwynt gan eu rhieni. Y mae rhai yn rhy awyddus am weled pob peth, ac ereill am glywed pob peth. Dylid defnyddio pob moddion er attal y tueddiadau yma, a hyny gyda bywiogrwydd mawr; oddieithr yn unig mewn ymchwiliadau mewn gwybodaeth. Y maent yn bur atgas mewn plant yn anad neb, ac yn arwain i arferion a'u gwna yn

aelodau annefnyddiol yn y gymdeithas ddynol. Ond pan y byddo rhyw ryfeddodau mewn natur neu gelfyddyd, y mae yn beth buddiol iawn i blant eu gweled, er mwyn cynyddu eu tueddiadau at wybodaeth, a chynhyrfu eu hathrylith. Eto, ni ddylid gadael iddynt ganlyn eu tueddiadau hyd yn nod yn y cyfryw amgylchiadau, ond cyn belled ag y byddo doethineb a synwyr eu rhieni yn caniatau.

Y peth olaf a gaf ei enwi yn y fan yma, yw y nwydau a'r serchiadau. Y mae y rhai hyn yn ymddangos yn fore iawn mewn plant, a dylent gael eu llywodraethu yn fore. Y maent yn caru ac yn casâu yn rhy fyrbwyll a phoethlyd; y maent yn llawenhau ac yn tristâu yn ormodol, a hyny ar ychydig iawn o achos. Gan hyny dylai y rhieni doeth wylio ar y nwydau yma, a'u hattal mewn doethineb a phwyll. Or tu arall, dylid dysgu i blant a fyddont o dymher wylaidd iawn, nad oes achos iddynt gywilyddio am ddim ond yr hyn sydd yn ddrwg neu bechadurus. Tra y byddant yn ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni, nid oes achos iddynt ofni dim.

3. Dylai plant gael eu haddysgu ychydig mewn rheolau callineb, fel y gallont ddwyn yn mlaen eu hachosion eu hunain yn drefnus ac yn ganmoladwy; ac fel y gallont ymddwyn at ereill hefyd yn foneddigaidd. Tuag at gyrhaedd hyn, y mae yn angenrheidiol dysgu iddynt adnabod eu hunain yn gyntaf: Beth yw eu tymherau a'u tueddiadau naturiol—beth yw eu blysiau a'u nwydau cryfaf—beth yw y gwendidau a'r ffoleddau y maent yn fwyaf agored iddynt—beth yw eu hathrylith a'u galluoedd, os ynt ganddynt—beth yw yr hudoliaethau tebycaf i'w maglu—beth yw eu sefyllfa yn y byd—beth yw eu dyledswyddau—a pha berthynas y maent yn ei dwyn âg ereill—yn nghydag amryw bethau o'r cyffelyb natur.

Y mae gwybodaeth o ddynolryw hefyd yn angenrheidiol tuag at gyrhaedd callineb. A dylai plant gael eu dysgu, nid yn unig i wybod beth yw natur a galluoedd, rhinweddau, gwŷdau, a ffoleddau dynolryw; ond hefyd dylent gael eu haddysgu i ddal sylw beth yw tymherau, tueddiadau, nwydau, galluoedd, yn nghyda chyneddfau da a drwg y rhai hyny ag y mae a fynont hwy â hwynt fwyaf yn y byd; fel y gallont ymddwyn yn gall

tuag at ereill; ac fel y gallont ddysgu oddiwrth nodweddiad pob math o ddynion, er buddioldeb iddynt eu hunain ac ereill. Fe all hyn effeithio arnynt i beri iddynt gilio oddiwrth arferion ffol a niweidiol sydd wedi darostwng ereill i drueni; ac i ganlyn ereill a fuont byw yn rhinweddol yn y byd, er cysur iddynt eu hunain a daioni i ereill.

Fe ddywed Solomon, (Preg. iii. 1, 17, a viii. 5, 6,) fod amser i bob peth, ac amser i bob amcan dan y nefoedd; a bod calon y doeth yn adwaen amser a barn; hyny yw, y mae yn canfod pa beth i'w wneyd, a pha bryd i'w wneyd; am hyny y mae trueni dyn yn fawr arno, am nad yw yn adwaen amser a barn, nad yw yn canfod yr hyn sydd yn addas i'w wneyd, na'r amser addas i'w gyflawni. Gan hyny y mae callineb yn gynwysedig mewn barnu yn iawn beth sydd i'w ddweyd, a pheth sydd i'w wneyd, yn mhob amgylchiad newydd; pa bryd i fod yn llonydd, a pha bryd i weithredu; pa bryd i fod yn ddystaw, a pha bryd i siared; beth i'w ochelyd, a pheth i'w geisio; pa fodd i ymddwyn yn mhob amgylchiad, ac yn mhob cymdaith; pa fodd i ennill ewyllys da dynolryw, mewn trefn i chwanegu ein dedwyddwch ein hunain, ac i wneyd mwyaf er gwasanaeth Duw a lles dynion yn y sefyllfa y mae rhagluniaeth wedi ein gosod ynddi. Tuag at gyrhaedd hyn, nid oes yr un llyfr yn gydwerth â Diarhebion Solomon, yn mha rai y dylid gwneyd plant yn gyfarwydd, trwy eu crybwyll yn fynych wrthynt, a pheri iddynt eu trysori yn eu cof. Ac yn nesaf at y Diarhebion, efallai, y saif llyfr yr Ecclesiasticus, o holl lyfrau y byd, er ei fod yn mhlith llyfrau yr Apocrypha.

4. Dylent gael eu cadw rhag unrhyw niweidiau oddiwrth bersonau a phethau, tra yn ieuainc. Ni ddylid goddef i famnaethod na neb arall lenwi eu meddyliau â chwedlau ffol a chaniadau disynwyr. Y mae eu dychymyg yn cael ei dwyllo trwy hyny; eu deall yn cael ei gamarwain; a hwythau yn cael eu harfer i ymhyfrydu mewn ffoleddau a phethau disynwyr, yn lle defnyddio eu dealltwriaeth, yr hyn yw gogoniant penaf y natur ddynol. Ni ddylid chwaith ganiatau i neb eu brawychu â chwedlau am ganwyllau cyrff, tylwyth têg, ac ysbrydion a bwbachod y nos. Y mae y cyfryw chwedl-

au gwedi effeithio yn dra niweidiol lawer gwaith. Ac yn unol â hyn, dylid bod yn ofalus i beidio â rhoddi hanesion yn eu dwylaw am weithredoedd gwaedlyd a chreulawn o unrhyw natur, pa un bynag ai ymdrechion hunanol gwladyddion beilchion, neu ynte gweithredoedd creulawn gau-grefyddwyr penboeth. Bydd yn ddigon prydlawn iddynt ddyfod yn wybodus o'r gwallgofrwydd a'r trueni yma ar ol iddynt gyrhaedd mwy o nerth meddwl.

Dylid bod yn hynod o ofalus rhag iddynt glywed ymadroddion neu ystorïon llygredig, a chaniadau masweddol; yr hyn sydd yn un o'r prif foddion i lygru bechgyn a merched Cymru yn y dyddiau hyn. Dylid cadw pob math o lyfrau rhagddynt a fo â thuedd ynddynt i lygru y meddwl, neu i'w dysgu mewn iaith neu syniadau aflan. Ni ddylent chwaith gael edrych ar ddim lluniau anllad a ffiaidd, nac ar ddelweddau unrhyw wrthddrychau neu ymddygiadau a fyddo yn anweddus i'w hamlygu yn gyhoeddus. Ni ddylai dim ond sydd yn bur ac yn ddiniwaid ddyfod o fewn cyrhaedd eu clustiau a'u llygaid. Ac yn gysylltedig â hyn, dylai rhieni fod yn hynod o ofalus i gadw eu plant rhag cymdeithion drwg. Byddai yn beth hynod o ddedwydd pe bae i'r plant sydd yn cael eu dwyn i fyny mewn ysgolion gael eu cadw oddiwrth gymdaith ac effeithiau niweidiol plant ereill yr ysgol, y cyfryw ag sydd yn tyngu ac yn rhegu, yn cymeryd enw Duw yn ofer, ac yn arfer pob math o ymadroddion aflan a llygredig. A dylai athrawon ac athrawesau fod yn bur ofalus a manwl i chwilio beth yw ymddygiadau eu hysgolorion pan y maent o'u golwg; a dylent ymdrechu, hyd y mae ynddynt, na byddo dim cymaint ag un yn eu hysgol o ymadroddion nac ymddygiadau llygredig, canys fe all un ddafad ddrwg effeithio yn niweidiol ar yr holl ddeadell. Beth bynag, os ceir fod plant anfoesol o'r fath yn yr un ysgol a hwynt, dylent gael eu rhoi dan berygl i gilio o'u cymdaith, ac i ddangos yr atgasrwydd mwyaf at eu harferion drwg. Dedwydd yw y plant sydd yn cael eu haddysgu gartref, neu yn dygwydd cael ysgol wir rinweddol a moesol.

5. Y peth nesaf y dymunwn alw sylw rhieni ato, ydyw dysgu eu plant i iawn ddefnyddio a gwellâu eu galluoedd corfforol. Cymeraf yn ganiataol yn y fan

yma, eu bod yn ystyried mai y gwrthddrych blaenaf a mwyaf pwysig yw eu galluoedd meddyliol a moesol— y dealltwriaeth, y cof, y farn, y bryd, y gallu ymresymiadol, a'r gydwybod. Yr ydym yn hyderu hefyd fod yr hyn a ddywedwyd yn nghorff y llyfr yn ddigon ar y pethau hyn; ond yn awr ein hamcan yw rhoi ychydig o grybwyllion mewn perthynas i iawn ddefnyddiad y galluoedd corfforol. Ac er i natur gyfranu y cyneddfau a'r galluoedd yma, eto rhaid cael addysg i'w cyfarwyddo i'w rhoi ar waith ac i'w gwellâu; ac heb hyn hwy a fyddant fel tir heb ei drin, yn dwyn drain a mieri yn lle ffrwythau defnyddiol.

1. Gan fod Awdwr natur wedi rhoi llygaid iddynt, dylai rhieni eu dysgu i'w hiawn ddefnyddio. Y mae rhai plant yn dueddol i hylldremio ar bersonau a phethau; ond dylid eu ceryddu. Fe arfera rhai edrych yn ochrog ar bethau, os na chymerir gofal i'w dysgu i edrych yn eu cyfer ar wrthddrychau. Dylid eu dysgu hefyd i edrych yn ngwyneb y rhai y byddont yn ymddyddan â hwy. Y mae rhai plant yn dueddol i edrych yn sarug ac yn guchiog bob amser; ond dylid eu rhybyddio a'u diwygio rhag hyny.

2. Dylai rhieni ddysgu eu plant i arferyd eu tafodau yn gywir ac yn briodol; nid eu dysgu i siared yn unig, ond i seinio pob gair a llythyren yn gywir. Y mae rhai yn methu rhoi y sain briodol i'r lythyren *s*; ac ereill i'r lythyren *r*; eithr gellir diwygio yr afreoleidd-dra yma, ond cymeryd ychydig o drafferth, trwy ddewis y geiriau hawddaf i'w cynanu ag y mae y cyfryw lythyrenau ynddynt, a pheri i'r plentyn eu mynychu nes i'w dafod eu cyrhaedd yn barablber. Ac ar ol eu seinio yn y rhai hawddaf, deuir i wneyd hyny yn rhwydd yn y rhai anhawddaf. Heblaw hyn, y mae attal dweyd ar rai, yr hyn a ellid ei ddiwygio yn fynych trwy ddysgu i'r plentyn beidio â siared ond ychydig, a hyny gydag arafwch. Dylid eu dysgu hefyd i beidio â siared pan y byddant dan ddylanwad unrhyw nwyd, nac mewn tymher boethlyd; canys y mae hyny yn dyrysu y peiriannau ymadrodd.

3. Gan fod Duw wedi rhoddi traed iddynt, dysged eu rhieni hwynt i sefyll ac i gerdded yn hardd a gweddus; heb siglo o un ochr i'r llall; heb droi unrhyw un

o'u traed yn ŵyrol i mewn nac allan; ac heb unrhyw un o'r anffurfiau a ddylynant rai hyd y bedd. Digon priodol yw crybwyll yn y fan yma, y dylid gadael i blant ymddifyru mewn rhedeg a neidio, lle na byddo perygl, er mwyn dwyn eu cymalau i ymarferiad, i'w gwneyd yn heinif, yn gryf, ac yn fywiog ar bob achlysur.

4. Fe roddwyd eu breichiau a'u dwylaw iddynt hefyd, nid i'w cadw yn mhleth, ond i'w defnyddio mewn rhyw lafurwaith buddiol; ac weithiau, mewn cymedroldeb, gallant eu defnyddio mewn caledwaith; nid i'w hysigo, ond i'w nerthu a'u caledu mewn ymarferiad. Y mae hyn yn perthyn i bob plant, ond yn benodol y rhai hyny sydd i gynal eu hunain trwy eu llafurwaith. Dylent gael eu harfer i weithio mewn gwres ac oerfel, ac i oddef blinder corfforol, er mwyn eu haddasu i fyned trwy yr anhawsderau a allant fod o'u blaen gyda mwy o rwyddineb, ac i gyflawni eu dyledswyddau gyda mwy o gysur iddynt eu hunain. Pe buasai llawer o famau yn dwyn eu plant i fyny yn y dull yma, ni fuasent heddyw yn galaru uwch eu beddau. O'r braidd y goddefent iddynt roi eu traed ar y ddaear, nac i awel o wynt chwythu drostynt: ac fel hyn fe'u magwyd mewn gormod o dynerwch ffol, yn greaduriaid gwanaidd a nychlyd, yn agored i effeithiau niweidiol o bob tu.

IV. Er i mi enwi gwybodaeth fel peth angenrheidiol i blant gael eu haddysgu ynddi, yr ydym yn hyderu nad oes angen i ni sefyll uwchben hyn, gan fod pawb yn gyffredinol yn cydnabod hyny. Eto, efallai nad anfuddiol fyddai crybwyll gair pa ganghenau o wybodaeth gyffredinol a ddylid eu dysgu i blant, er yn wir fod sefyllfaoedd ac amgylchiadau y rhieni a'r plant yn effeithio ar hyn i raddau mawr, fel mai nid yr un addysg sydd yn addas i bawb.

Ymddengys yn amlwg y dylai pawb cael eu haddysgu ryw gymaint yn yr hyn a elwir genym yn foddion i gyrhaedd gwybodaeth—sef darllen, gwyddoniaeth, ac iaith; ac at hyn dylid chwanegu ysgrifenu.

Y peth blaenaf a ddylid ei ddysgu i bob plentyn ydyw darllen. Trwy ei ddysgu yn hyn, fe agorir y drws iddo gael gwybod mil o bethau buddiol ac angenrheidiol nad allai eu gwybod heb hyny. Trwy ddarllen fe gaiff wybod beth a fu yn yr oesoedd gynt; beth sy

mewn gwledydd pellenig yn ei oes ei hunan; a pheth yw syniadau a chyfarwyddiadau dynion doeth a dysgedig; ac fel hyn fe all, tra yn ieuanc, gyrhaedd mwy o ddoethineb a medr nag y gallai heb hyny er iddo fyw gannoedd o flynyddoedd. Ac uwchlaw y cwbl, trwy ddarllen fe all ddyfod yn wybodus yn ngwirionedd gair Duw, yr hwn sydd yn alluog i'w wneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth dan fendith yr Ysbryd. Ac heblaw y buddioldeb sydd yn hyn, y mae yn ddarostyngiad mawr ar bob dyn yn ein dyddiau ni, os nad yw yn medru darllen. Gan hyny, ni ddylid esgeuluso hyn mewn modd yn y byd.

Yn nglŷn â hyn, ac o werth annhraethol hefyd, dylid eu dysgu mewn ysgrifenu. Heblaw y buddioldeb personol y gall hyn fod iddynt, o'r braidd y gellir meddwl am unrhyw sefyllfa nad yw i raddau mwy neu lai yn wir angenrheidiol. Yn nglyn â hyny hefyd, dylem nodi rhifyddiaeth, yr hyn, i raddau penodol, sydd yr unrhyw mor angenrheidiol bron i bob math o ddyn. Ac os bydd amgylchiadau ac athrylith yn caniatau, na esgeuluser mesuriaeth ac alsoddeg. Hefyd, os byddys yn bwriadu dysgu rhyw iaith neu ieithoedd estronol i'r plentyn, goraf oll po gyntaf y gwneir hyny, cyn i'w feddwl gael ei lyncu i fyny gan ymchwiliadau ar ol gwir wybodaeth.

V. Y mae addysg dda yn cynwys dysgu plant mewn rhyw alwedigaeth neu gelfyddyd, trwy yr hon y gallant gynal eu hunain, a pharotoi yn addas ar gyfer eu teuluoedd mewn amser dyfodol. Y mae rhai o'r cenhedlaethau dwyreiniol yn dysgu eu holl blant, y rhai cyfoethocaf fel y rhai tylotaf, mewn rhyw alwedigaeth benodol. Yn hyny y maent yn dangos doethineb neillduol; canys trwy hyny y mae eu plant yn cael eu harfer at lafurwaith corfforol a meddyliol, yr hyn sydd yn iechyd mawr iddynt, ac yn eu cadw rhag syrthni a seguryd, a mil o hudoliaethau niweidiol. A da fyddai i blant boneddigion Prydain pe baent yn eu canlyn yn gyffredinol yn hyn; a da iawn a fuasai i gyfoeth, moesau, a chysur miloedd o honynt cyn heddyw. Beth bynag, y mae y rhan fwyaf dan rwymau o ran eu hamgylchiadau i hyn, cyn y gallant gynal eu hunain a'u teuluoedd, a bod yn aelodau teilwng yn y gymdeithas

ddynol. Yn awr, tuag at wneyd hyny er cysur a gwir lwyddiant y rhieni a'r plant, y mae yn angenrheidiol ystyried rhai pethau.

1. Dylid ystyried beth yw amgylchiadau y rhieni: a allant hwy gynal y plentyn yn egwyddorwas, a'i gynysgaethu â phob peth angenrheidiol nes y daw yn alluog i'w gynal ei hunan trwy ei alwedigaeth. Weithiau y mae uchelfrydedd y rhieni neu y plentyn yn nodi ar alwedigaeth uwchlaw eu hamgylchiadau; ac mewn canlyniad, y mae y plentyn yn cael ei wneyd yn agored i lawer o anfanteision, a'r rhieni i lawer o ofidiau.

2. Dylid ystyried hefyd beth yw galluoedd, athrylith, a thueddiadau plant. Os ydyw yn galedwaith, a oes gan y plentyn ddigon o nerth corfforol i'w gyflawni? A ydyw yn debyg o gytuno â'i iechyd? Os bydd yn gofyn llawer o ddoethineb, barn, efryd, &c., yna fe ddylid ystyried, a oes gan y plentyn ddigon o allu ac athrylith i'w wneyd yn gymhwys i'r fath alwedigaeth? A oes ganddo duedd at, ac hyfrydwch yn hyny? Canys heb hyn, beth bynag fyddo ei allu, bydd yn lled anobeithiol iddo fod byth yn enwog ynddi, nac yn gysurus iddo ei hun.

3. Dylai pob rhieni hefyd fod yn bur ofalus, wrth rwymo eu plant, i ddewis lleoedd crefyddol iddynt, o'r hyn lleiaf, lleoedd ag a fyddo yn wir foesol, ac yn cael eu llywodraethu yn dda. Y mae diffyg yn hyn wedi dinystrio miloedd o ieuenctid prydferth ag a allasent fod yn fendith yn eu hoes a'u cenedl; ac er fod hyn yn ddigon hysbys i'r byd yn gyffredin, nid oes hanner y gofal yn cael ei arferyd a ddylai gael.

VI. Y peth olaf a nodwn yma, ydyw difyrion neu chwareyddiaethau plant: ac na feddylied y rhieni fod hyn yn anmherthynasol, neu islaw eu sylw. Nid yw y natur ddynol yn hoffi, ac nis goddefa chwaith, yn neillduol mewn plant ac ieuenctid, gael ei chadw yn rhy rwym at waith nac efryd. Rhaid bod rhyw yspeidiau o amser er difyrwch, fel y rhyddhäer y meddwl ac yr adfywier yr ysbrydoedd. Y mae caethiwed maith at unrhyw beth yn blino ysbryd yr ieuainc yn neillduol, ac yn gwanychu eu bywiogrwydd yn fawr. Os cedwir y bwa yn blygedig bob amser, fe fydd yn sicr o golli ei rym. Y mae cymysgiad doeth o chwareyddiaethau a

difyrion diniwaid yn tueddu yn benodol at gadw iawn ysbryd a thymher mewn plant, ac yn hanfodol at eu hiechyd.

Yr ydym yn credu, fod llawer iawn rhy fach o sylw yn cael ei wneyd o hyn, sef y buddioldeb a ddeilliai yn mhob ystyr o gyfundraeth addas o chwareyddiaethau a difyrion, nid yn unig i blant, ond hefyd i rai mewn oedran, yn neillduol pawb nad yw yn llafurio yn yr awyr agored. Nid oes dim a dueddai yn fwy at welliant ar iechyd ac athrylith y genedl. Fe roddai hyn fwy o nerth yn yr awen, a mwy o rym yn mhob math o gyfansoddiad.

Nid ein bwriad yn bresenol yw cynyg unrhyw gyfundrefn, ond yn unig galw rhieni i ystyried y pwys o hyny, a bod diffyg neu esgeulusiad yn tueddu yn anorfod at nychdod eu plant. Ond cyn terfynu, dymunem grybwyll wrthynt, yn

1. Y dylai y plant hyny sydd lawer o fewn y tŷ, un ai yn efrydu neu yn gweithio, gael cymaint ag sydd yn ddichonadwy o'u difyrion yn yr awyr agored. Y mae y natur ddynol, tuag at fod yn nerthol ac yn fywiog, yn gofyn cryn lawer o olafur yn yr awyr agored, yn neillduol mewn plant; canys y mae gan yr awyr ddylanwad mawr iawn ar y cyfansoddiad.

2. Dylai plant gael dewis eu difyrion iddynt eu hunain, canys fe fydd y rhai hyny yn cael mwy o ddylanwad arnynt na phe baed yn dewis rhai iddynt. Eto ni ddylent gael eu ffordd yn hollol yn hyn; yn ddim pellach nag y barno eu rhieni y cyfryw yn addas iddynt.

3. Ni ddylid eu goddef gydag unrhyw chwareyddiaeth a dueddai i afrywiogi eu tymherau, niweidio eu natur, tori eu cymalau, na gwneyd unrhyw niwaid iddynt eu hunain nac i'w gilydd. Byddai y cyfryw yn addasach (pe yn addas hefyd) i anifeiliaid direswm nag i blant.

4. Ni ddylent gael eu goddef i ymhyfrydu mewn dim a fo yn greulondeb yn y mesur lleiaf, hyd yn nod at anifeiliaid direswm; megys taflyd am y goraf at geiliog, fel y gwneir mewn rhai manau llygredig ar ddyddiau penodol—neu boenydio adar bychain ag y byddent gwedi dygwydd eu cael; yn nghyda lluaws o bethau ereill—canys wrth arfer creulondeb mewn rhyw ddull, neu at unrhyw greadur, fe galedir eu calonau, ac yn

raddol fe leddir pob teimlad sydd o fewn y fynwes, nes o'r diwedd, efallai, na fydd dim anhawsder ganddynt arfer y creulondeb mwyaf at eu cyd-ddynion.

5. Ni ddylent mewn un modd ymarfer â chwareyddiaethau fyddo yn cynwys anfoesoldeb mewn un wedd —mewn geiriau nac mewn agweddau. Ni ddylent gael eu goddef i ymarfer âg unrhyw chwareyddiaeth fyddo mewn un modd yn drosedd ar ddeddf Duw. Dylent gael eu rhwymo at onestrwydd, cyfiawnder, gwirionedd, a daioni, hyd yn nod yn eu chwareyddiaethau.

# ATTODIAD.

---

Tybiasom na fyddai Hyfforddwr yr Efrydydd yn berffaith, heb ei fod yn cynwys rhifres o lyfrau teilwng a gwerthfawr ar wahanol ganghenau dysgeidiaeth. Attalia hyn i'r efrydydd ieuanc daflu llawer o arian am lyfrau diwerth, ac weithiau niweidiol hefyd. Nid ydym yn golygu fod angenrheidrwydd iddo fod yn feddiannol ar y cwbl a nodwn; canys nid oes gwir angenrheidrwydd am lyfrgell fawr. Llyfrgell fechan dda, a'i hefrydu yn gywir, a etyb y dyben. Ond yr ydym yn nodi cynifer, trwy y dichon i'r efrydydd gael gafael ar rai o honynt, pan nad allai ar y lleill.

Hyderir nad oes dim yn y rhifres ganlynol a all fod yn niweidiol i'r efrydydd mewn un modd; er nad ydym yn eu cymeradwyo oll yn mhob pwnc; yr hyn nid ellir ei ddysgwyl mewn casgliad mor amrywiaethog. Nid ydym chwaith yn ymrwymo dros y cyfieithiad o'r rhai sydd yn gyfieithiedig, am na chawsom y cyfleusdra o ddarllen pob un a nodir genym.

## I. DUWINYDDIAETH.

1. *Llênyddiaeth Ysgrythyrol.*

Dylid darllen y llyfrau canlynol, neu eu cyffelyb, mewn ffordd o ragbarotoad i ddeall y Beibl yn gywir:

Hanesiaeth Ysgrythyrol Watts.
Henafiaethau Iuddewig Josephus.
Amseryddiaeth Ysgrythyrol Lloyd.
Defodau Dwyreiniol, gan E. Griffiths.
Cydymaith y Beibl, gan D. Jones.
——— Ysgrythyrol, Hughes.

Darllen ac efrydu y llyfrau uchod* yn dda, yn nghyda chyfeiriadau i Eiriaduron Ysgrythyrol ar leoedd

* Dichon fod llyfrau yn y Gymraeg ar y pynciau a nodir genym, nad ydynt yn ein rhifres, a hyny o herwydd nad yw yr awdwr yn wybodus o honynt. A chof yw ganddo weled un gan gyfaill o

a chreaduriaid, a wna yr efrydydd yn ddysgedig yn y Beibl, fel nad oes gwir achos i'r Cymro uniaith fod yn ol o wybodaeth gywir ac eang yn yr ysgrythyrau santaidd.

I'r rhai sydd yn deall Saesonaeg, gallwn chwanegu y rhai canlynol:

Arweiniad i wybodaeth ferniadol o'r Ysgrythyrau, gan H. Horne.
Henafiaethau Iuddewig Jennings.
Hanesiaeth Naturiol y Beibl, gan Carpenter.
———————— gan Dr. Harris.
Llênyddiaeth Iuddewig, gan Dr. Clarke.
Iaith ffugyrol yr Ysgrythyrau, gan W. Jones.
Trefniad Amseryddol o'r Hen Destament a'r Newydd, gan Townsend.
Egluriadau Ysgrythyrol Paxton.
Arferion Dwyreiniol Jamieson.
———————— gan Gymdeithas y Traethodau.

2. *Berniadaeth Ysgrythyrol.*

HEBRAEG.

Beibl Hebreig Athias.
———————— Leusden.
———————— Van Der Hooght. †
———————— Boothroyd.

gyfieithiad (hyd y mae yn cofio) Mr. D. Owen, Brutus, yr hwn a farnai y pryd hyny yn deilwng iawn o ddefnyddiad. Ni welodd ei hun mohono byth wedi hyny, ac nid yw yn cofio ei enw i'w nodi uchod; ond y mae wedi ei fwriadu fel arweinydd i ddeall yr Ysgrythyrau, yn ol cynllun y llyfrau a gymeradwyir genym. Digon tebyg ei fod yn gyffredin mewn rhai parthau o Gymru, er ei fod yn hollol ddyeithr ac anhawdd ei gael mewn lleoedd ereill. Y mae hyn yn profi fod eisiau diwygiad yn ein plith yn y dull o fasnachu mewn llyfrau.

† Y mae argraffiad prydferth o'r Beibl uchod wedi ei ddwyn allan gan Mr. S. Bagster, o Lundain, am 18s., yn cynwys y gwahanol ddarlleniadau Hebreig o'r Pumllyfr Samaritanaidd, yn nghyda'r Nodiadau Masoretaidd efo ac heb y nodau Rabinaidd. Y mae argraffiad ystrydebol hynod o brydferth a chywir wedi ei ddwyn allan o'r un ailun gan C. Tauchnitz o Lipsic. Gellir cael yr un 12plyg o'r argraffiad hwn yn rhad, yn achlysurol o leiaf. Ystyrir hwn y Beibl Hebreig goraf yn gyffredin.

Geirlyfr Hebreig a Saesonig Gesenius.
———————————— Parkhurst.
Mynegair Hebreig Taylor.
————————— gan Bagster.

GROEG.

Testament Groeg Baskerville.
————————— Valpy.
————————— Griesbach.
————————— Mill, gan Bagster.
Cyfieithiad y Deg-a-thriugain.
Geirlyfr Groeg a Saesonaeg Parkhurst, gan Rose.
———————————— Dawson.
———————————— Greenfield.
Mynegair Groeg Williams.
————————— Schmid.

3. *Geiriaduron a Mynegeiriau Ysgrythyrol.*

Geiriadur Ysgrythyrol Charles.
———————————— Gurney, gan I. Jones.
———————————— (Saesonig) Brown.
———————————— (Saesonig) Calmet.
Mynegair Ysgrythyrol P. Williams.
———————————— (Saesonig) Cruden.
Mynegai i'r Beibl gan T. Jones.
Allwedd Duwinyddiaeth, gan J. Davies.

4. *Llyfrau ymarferol a duwiol.*

Arfogaeth y Cristion, gan Gurnal.
Addewidion Ysgrythyrol, gan S. Clarke.
Ffordd anffaeledig i Foddlonrwydd, gan P. Williams.
Dechread a chynydd Crefydd yn yr Enaid, gan Doddridge.
Digofaint, gan Fawcet.
Gweddillion Mason.

5. *Esboniadau.*

Er nad ŷm mewn un modd yn cymeradwyo i'r efrydydd ddefnyddio Esboniadau nes y delo yn alluog i farnu yn lled gywir drosto ei hun, eto yr ydym yn nodi

y rhai canlynol fel y gallo droi iddynt, os dewisa, pan y delo i oedran ac addasrwydd.

Esboniad ar y Testament Newydd, gan Dr. Lewis.
——— ar y Beibl, gan Jenkins.
————— gan J. Hughes.
——— Berniadol, gan J. Jones *(Idrisyn)*.
————— gan O. Jones.
——— Clarke ar y Testament Newydd, gan I. Jones.

Er fod llawer o wybodaeth werthfawr i'w chael yn yr Esboniadau uchod, nid yw y naill na'r llall ar gynllun iawn Esboniad; ond rhaid addef mai y rhai agosaf yw y rhai berniadol. Yr unig gynllun têg a wyddom am dano yw y Beibl Cynwysfawr *(Comprehensive Beibl)* a gyhoeddwyd gan Mr. S. Bagster, Llundain.

6. Ar yr un egwyddor eto yr ydym yn nodi y *Cyrff Duwinyddiaeth* canlynol:

Corff Duwinyddiaeth Dr. Lewis.
Dyddlyfr Cristionogol, gan J. Jones.
Pedwar cyflwr dyn, gan Boston.
Gweledïad y Palas Arian, gan J. Jenkins.
Elfenau Duwinyddiaeth, gan T. Jones, 2il.
Catecism Brown, gan Parry.
——— Eglwys Loegr.

## II. DUWINYDDIAETH NATURIOL.

Nis gwn fod neb wedi ysgrifenu ar hyn yn unigol yn y Gymraeg, gan hyny yr ydym dan rwymau i gyfeirio yr efrydydd sydd yn deall Saesonaeg at rai yn yr iaith hòno; gan hyderu nad hir y bydd Cymru heb lyfrau yn ei hiaith ei hun ar bob cangen o ddysg.

Duwinyddiaeth Naturiol Dr. Paley.
————— gan Brougham.
Pregeth ar Annuwiaeth, gan Mr Estlin.—Dywed R. Hall fod y Bregeth hon yn anwrthwynebol.
Duwinyddiaeth Naturiol, gwaith Dr. Chalmers.

Y Priodoliaethau Dwyfol, gan Drew.
Ar Fodoliaeth a Phriodoliaethau Duw, gan Charnock.

## III. DWYFOLDEB YR YSGRYTHYRAU A'R GREFYDD GRISTIONOGOL.

Nis gwyddom am neb sydd wedi ysgrifenu ar hyn eto yn unigol yn y Gymraeg, oddieithr cyfieithiad o Grotius ar y Grefydd Gristionogol. Trwy drugaredd nid oes gwir angenrheidrwydd am lyfrau ar hyn yn y Gymraeg fel yn y Saesonaeg, canys nid oes neb o'n cenedl hyd yn hyn wedi ei ollwng i'r fath galedwch ag i ysgrifenu yn erbyn y pynciau yma; gan hyny rhaid golygu y diffyg yma yn ddiffyg gogoneddus yn ein hiaith. Parhaed felly dros byth. Y mae amryw gwedi ymdrin â'r pwnc yn alluog ac yn foddhaol i'r eithaf yn y Saesonaeg. Nodwn rai o honynt yn olynol:

Prawfiadau o Gristionogaeth, gan Dr. Paley.
Dull Byr a Hawdd gydag Anffyddwyr, gan Leslie.
Amddiffyniad Crefydd, gan Simpson.
Pregethau ar Brawfiadau o Gristionogaeth, gan Dr. Doddridge.
Traethawd ar Wyrthiau, gan Campbell.
Cyflawniad y Proffwydoliaethau, gan Newton.
Cyfatebiad Crefydd, gan Butler.
Pregethau ar Seryddiaeth, gan Dr. Chalmers.

## IV. EFRYDU IEITHOEDD.

1. *Yr Iaith Gymreig.*

Geirlyfr mawr a bychan y Dr. Pugh.
——— Richards.
Gramadeg y Dr. Pugh.
Cadwedigaeth yr Iaith Gymreig.
Ieithadur I. Jones.
———— R. Davies.
Elfenau y Gymraeg, gan W. Jones.
Adchwiliadau Celtaidd Davies (Saesonaeg).
Geiriadur bychan J. W. Thomas.

2. *Saesonaeg.*

Testament Dwyieithawg. ‡
Geirlyfr Cynanawl Walker.
Gramadeg Saesonaeg Lennie.
Hermes Harris.
Geiryddiaeth a chystrawen, gan Crombie.

3. *Groeg y Testament Newydd.*

Testament (yr Efengylwyr) Tairieithawg Athrofa Llundain.
Gramadeg Groeg a Saesonaeg i'r Testament Newydd, gan Athrofa Llundain.
Eto, gan Stuart.

4. *Hebraeg yr Hen Destament.*

Llyfr Genesis yn Hebraeg a Saesonaeg, gan W. Greenfield.
Gramadeg Hebraeg a Chymraeg, gan J. Parry.
———————— a Saesonaeg, gan Lee.
———————— gan Hurwitz.

## V. GWYDDONIAETH.

Yma eto rhaid i'n cyfeiriadau fod yn Saesonig, am nas gwyddom am yr un llyfr ar hyn yn y Gymraeg, oddieithr rhyw gymaint o Elfenau Rhifyddiaeth J. W. Thomas, yr hwn, er däed oedd, ni orphenwyd o eisiau cefnogaeth!!—ac Anerch Ieuenctid Cymru.

Rhifyddiaeth Bonnycastle.
Arweiniad i Fesuriaeth, gan yr un.
Euclid, gan Simson.
——— gan Playfair.

☞ Y mae argraffiad rhagorol a rhad o'r olaf newydd ei gyhoeddi gan Meistriaid Chambers o Edinburgh.

‡ Yr wyf yn deall fod Llyfrau bychain o gyfieithiadau llythyrenol yn Gymraeg a Saesonaeg mewn rhai parthau o Gymru; hwyrach yr etyb y rhai hyny yn amgenach i gychwyn.

## VI. ATHRONIAETH.

Yma eto rhaid i'n cyfeiriadau fod yn Saesonig, canys nis gwyddom am ddim yn y Gymraeg ar hyn, oddieithr darnau yma a thraw yn y cyhoeddiadau misol.

Arweiniad i'r Gwyddoregau, gan Chambers.
Athroniaeth Naturiol, gan yr un.

☞ Fe fydd cyfrolau athronyddol, &c., y ddau Chambers yn yr *Educational Course* o'r eiddynt, yn ddigon i'r efrydydd cyffredin ar Athroniaeth Naturiol.

Seryddiaeth Ferguson, gan Brewster.
Egwyddorion Aniandraw, gan A. Combe.
Gwelliant y Meddwl, gan Watts.
Traethawd ar y Dealltwriaeth, gan Locke,
Athroniaeth y Meddwl, gan Stewart.
——————— gan Dr. Brown.
Ar Gyfoeth Gwladol, gan Smith.
Hanesiaeth Anianyddol Goldsmith.

## VII. HANESIAETH, &c.

1. *Eglwysig.*

Gwaith y Prynedigaeth Edwards, gan T. Jones.
Hanes yr Eglwys, gan Morgans.
Hanes y Merthyron, gan T. Jones.

### Yn Saesonaeg.

Cysylltiad y ddau Destament, gan Dr. Prideaux.
Hanesiaeth Eglwysig Milner, gan Haweis.
Hanes yr Eglwys yn mhob oes, gan Timpson.
Daearyddiaeth Ysgrythyrol Miles.

2. *Gyffredinol.*

Hanes Cymru, gan Carnhuanawc.
Drych y Prifoesoedd.

Geirlyfr Cymreig O. Williams.
Daearyddiaeth Roberts.

YN SAESONAEG.

Hanesiaeth Henafol Rollin.
Henafiaeth Cenhedlaethau, gan Pezron.
Pictorial History of England.
Daearyddiaeth Stewart.
Atlas Thomas.

## VIII. BARDDONIAETH, &c.

Cyfrinach y Beirdd, gan Iolo Morganwg.
Mel Awen Pedr Fardd.
Corff y Gainc, gan Dafydd Ddû.
Gwinllan y Bardd, gan Daniel Ddû.
Ceinion Awen y Cymry, gan Gwenffrwd.
Cywydd y Drindod, gan Dafydd Ionawr.
Cywydd Joseph, gan yr un.
Y Gwyneddigion.
Powysion.
Awdl ar Elusengarwch, gan Dewi Wyn.
Coll Gwynfa, gan Idrison.
Ffrwyth yr Awen.
Canwyll y Cymry.
Gramadeg Cerddoriaeth Ieuan Glan Alarch.
Caniedydd Crefyddol W. Owen.
Grisiau Cerdd Arwest Ieuan Ddû.
Caniadaeth Gysegredig O. Williams.
Caniadau Seion, gan R. Mills.
Alawon Cymreig, gan Bingley.
——————— gan Parry.
Rhetoreg, gan H. Perri.

YN SAESONAEG.

Coll Gwynfa Milton.
Barddoniaeth Pope.
Pryddestau Cowper.
Meddyliau Nosawl Young.
Barddoniaeth Watts.

Rheithoreg Blair.
Gramadeg Ffraetheg Wood.

Nid yw yr Awdwr yn tybied mai y llyfrau uchod yw yr unig rai sydd o werth eu prynu. Dichon fod lluaws yn gystal neu yn well ar yr un testynau, na ŵyr ef am danynt; a dichon ei fod yntau yn gydnabyddus âg ereill nad ydynt yn dyfod i'w gof wrth dynu y rhifres hon. Beth bynag, wrth derfynu, dymuna i'r efrydydd ieuanc, yn 1. Beidio â phrynu llyfr heb fod gwir angen arno am dano. 2. Beidio â phrynu yr un heb gael barn rhyw un galluog a diduedd ar ei werthfawrogrwydd ar y mater. 3. Beidio â phrynu argraffiadau gwael, er iddynt fod yn rhad.

J. JONES, ARGRAFFYDD, LLANIDLOES.

Y

# PREGETHWR A'R GWRANDAWR;

SEF

## Calfinistiaeth a Ffwleriaeth

YN CAEL EU HYSTYRIED, AR DDULL

## YMDDYDDAN RHWNG DAU GYFAILL.



**GAN Y PARCH. RICHARD WILLIAMS, LIVERPOOL.**



*Ail Argraffiad.---Y bummed fil.*



LLANIDLOES:
ARGRAFFWYD GAN J. JONES, DROS Y CYHOEDDWR,
Y PARCH. T. HUGHES, MACHYNLLETH.
1842.

# RHAGYMADRODD.

---

*Ymddanghosodd rhan o gynwysiad y llyfryn hwn yn* "Y Drysorfa," *am* 1838—9; *ond,*

1. *Trwy amryfusedd yr Ysgrifenydd neu y Golygydd, neu bob un o'r ddau, diangodd amryw wallau yn y rhan hòno, nid yn unig mewn orgraff, ond hefyd mewn synwyr, nes bod awydd, mwy na pheidio, yn yr Ysgrifenydd, i'r Ymddyddanion hyny gael eu printio drachefn.*

2. *Wrth fod pob Ymddyddan yn cymeryd cymaint o le mewn Rhifyn o'r* "Drysorfa," *a bod amrywiol wedi eu hysgrifenu heblaw y rhai a ymddangosasant, meddyliwyd mai gwell fuasai cyhoeddi y cwbl yn gryno gyda'u gilydd, rhag blino darllenwyr* "Y Drysorfa" *â gormod meithder gyda'r un mater.*

3. *Er nad oes un corff o grefyddwyr yn atebol am ddywediadau* "Y Pregethwr," *na'r* "Gwrandawr;" *eto, yr ydys yn eu cyhoeddi ar annogaeth ugeiniau o gyfeillion, yn Ngogledd a Deheudir Cymru.*

*Y tri pheth yna ydyw unig ymesgusodiad yr awdwr dros ganiatau cyhoeddiad y llyfryn hwn.*

*Dichon i rai ag sydd yn agos o'r un farn a'r Pregethwr, feddwl ei fod yn rhy debyg i'r blaid a wrthwynebir ganddo, yn ei ddull o ymresymu; ac y buasai yn well gadael llawer gwrthddadl heb ei hateb, na'i hateb yn y dull a fabwysiedir yma. Caniatawn nad ymgais at ryw fanylrwydd philosophaidd, yn enwedig wrth bregethu, ydyw'r llwybr tebycaf o droi pechaduriaid o gyfeiliorni eu ffyrdd; eto, pan fyddo'r sawl a dybiwn yn gyfeiliornwyr, yn arfer y dull hwnw o ymresymu er cynal system, gall rhoddi cyfarfod*

*iddynt, megys ar eu tir eu hunain, ateb y dyben i ddangos i'r byd dwyll eu rhesymau, a gwaeledd eu cyfundraith.*

*Nid ydyw y beibl wedi ei ysgrifenu yn y dull a elwir yn philosophaidd, neu athronyddol; ond yn y dull mwyaf syml, i gyfarfod â dealltwriaeth y mwyaf annysgedig; ac felly, nid oes ynddo un atebiad uniongyrchol i lawer o wrthddadleuon philosophaidd Ffwleriaid ac ereill (os ydynt yn philosophaidd hefyd): ac y mae llawer wedi meddwl mai goreu fyddai i ninau beidio â chynyg eu hateb: ac yn wir, pe bai pawb yn foddlawn i gymeryd y beibl ar ei air, ni byddai eisiau ateb y fath wrthddadleuon: ond pan y mae'r Ffwleriaid yn eu codi beunydd, ac yn ymherio am atebiad iddynt, ac heb ei gael, y mae rhai yn dechreu meddwl, a dyweyd hefyd, fod y gwrthddadleuon mor gryfion, fel nas gellir eu cyfarfod. Wrth ystyried hyna, tra yn ofni "ateb ynfyd yn ol ei ynfydrwydd,* rhag bod yn gyffelyb iddo," *anturiai y Pregethwr "ateb yr ynfyd yn ol ei ynfydrwydd,* rhag iddo fod yn ddoeth yn ei olwg ei hun."

*Ni fedd yr awdwr neb mwy na'u gilydd i wneyd rhyw gyflwyniad* (dedication) *ffurfiol o'i lyfryn iddo; ond y mae yn ei gyflwyno, yn ostyngedig, gan ddymuno fod bendith y Goruchaf yn ei ddylyn, i bwy bynag a gymero'r drafferth o'i ddarllen. Pa bethau bynag sydd ynddo yn onest, yn hawddgar, a chanmoladwy, aed y clod i gyd i Dduw: a pha bethau bynag a welo'r darllenydd yn feius ac yn wael ynddo, priodoled, ond maddeued, y gwaeledd a'r bai i'w annheilwng wasanaethwr yn yr efengyl,*

LIVERPOOL,
CHWEFROR 29, 1840.

RICHARD WILLIAMS.

# LLYTHYRAU CYMERADWYOL.

---

(ODDIWRTH Y PARCH. J. ELIAS.)

FRAWD PARCHEDIG A HOFF,—

Da genyf fod yr Ymddyddanion rhwng "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*," a ymddangosasant yn y Drysorfa er's llawer o fisoedd bellach, yn cael eu hargraffu yn un llyfr, gan obeithio y bydd i'r Arglwydd ei fendithio er llesâd pregethwyr a gwrandawyr. Y mae angen mawr ar y naill, edrych pa beth a pha fodd y pregethont; ac ar y lleill angen edrych, "*pa beth* a *pha fodd* y gwrandawont." Y mae perygl mawr i'r pregethwyr fod yn anianol ac *ysgafn*, a'r gwrandawyr fod yn gnawdol a diofal.

I. Y mae lle y pregethwr yn ofnadwy, a'i swydd yn arswydus iawn! Dyn gwael yn sefyll uwchben torf o'i gyd-ddynion, dan enw cenad oddiwrth Dduw, i ddywedyd meddwl Duw, ïe, ei holl feddwl datguddiedig i ddynion, a dim ond ei feddwl ef; dywedyd hyny wrth rai cyfrifol i Dduw, troseddwyr ei ddeddf, gelynion iddo, rhai dan gollfarn eisoes, ac oll i gael eu barnu ganddo.

Y mae i ddywedyd wrthynt yn onest, a ffyddlawn, beth yw eu sefyllfa gerbron Duw; ac am y ffordd a drefnodd Duw yn ei ras penarglwyddiaethol i achub y fath rai.—Y mae i'w galw i edifarhau am eu gwrth-

ryfel dirfawr; ac i'w gwahodd i gymod â Duw.—Y mae i gyhoeddi ffordd y cymod; pregethu yr Arglwydd Iesu; cyhoeddi ei angeu, "Yr ymadrodd am y groes."—Y mae i bregethu, nid â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb ddynol, ond gan Ysbryd Duw.—Y mae i fynegu i'w wrandawyr holl gynghor Duw; ac i ddysgu Cristionogion "pa fodd i rodio a boddloni Duw."—Y mae i ddysgwyl wrth yr Ysbryd Glân, am ddoethineb a nerth i gyflawni ei weinidogaeth, a'i gwneuthur yn fuddiol i'w wrandawyr. A chofio beunydd, nad ydyw efe ddim.

Y mae diffyg mawr yn null llawer yn pregethu y dyddiau hyn. Prin y gellir dywedyd mai pregethu yr efengyl y mae llawer. Felly, nid afreidiol yw Ymddyddanion "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr,*" yn nghylch yr athrawiaeth a bregethir.

Y mae pregethau llawer yn gymysglyd iawn, lluaws o ymadroddion, nid y rhai a ddysgir gan yr Ysbryd Glân—pethau yn cael eu cuddio â rhyw fath o eiriau, fel y mae yn anhawdd gwybod pa beth sydd ganddynt. Er na ellir, fe allai, eu cyhuddo o ddywedyd pethau anwireddus; eto, y maent yn gadael gwirioneddau pwysig ac angenrheidiol heb eu dywedyd, yn y lle y dylid eu dywedyd. Wrth adael heibio ranau o'r gwirionedd yn eu lle priodol, y mae y gair yn cael ei ŵyro i bethau na fwriadwyd ef; a'r gwrandawyr yn cael eu llithio i wadu y gwirionedd y mae y pregethwr yn ei adael heibio yn ei bregethau. Y mae gadael rhyw wirionedd heb ei gyhoeddi, yn fwriadol, yn arwain i'w wadu.

Y mae amryw o bethau yn ddiffygiol mewn llawer o bregethau; ïe, y mae rhai yn cydnabod eu diffyg, ac yn galaru o'i blegid; fe allai fod lle i ofni fod y diffygion hyn yn fwriadol yn ereill. Enwaf rai pethau sydd yn ymddangos i mi yn ddiffygiol mewn pregethau.

1. Y mae angen dangos mwy o fawredd, purdeb, a chyfiawnder Duw, a phurdeb ac ysbrydolrwydd ei gyfraith. Heb hyn ni ellir dangos mawr ddrwg pechod, na haeddiant pechadur i ddyoddef cosp dragwyddol am bechu.

2. Nid yw dyfnder cwymp, a llygredd hollol dyn, a'i drueni, yn cael eu dangos mewn llawer o bregethau, yn iaith yr Ysgrythyrau Santaidd; sef bod holl ddynolryw, wrth natur, "yn blant digofaint;" a "barn i gondemniad" ar bob un; na ddichon neb achub ei hunan; nad oes teilyngdod yn neb i gael ei achub gan Dduw; ac na fynant ddyfod at Grist i gael bywyd.

3. Ychydig sydd yn dangos, yn eglur, bod achubiaeth pechaduriaid o ddynolryw, yn tarddu yn hollol o ras penarglwyddiaethol Duw; a bod gras yn ymddysgleirio yn dra gogoneddus yn nhrefniad, gwneuthuriad, a chymhwysiad iachawdwriaeth. "Er mawl gogoniant ei ras ef," y mae trefn iachawdwriaeth i gyd!

4. Y mae gormod o ryw gymysgiad dynol, tywyll, mewn llawer pregeth, sydd dan enw pregethu Crist. Ni phregethir ef yn oleu, ac yn ysgrythyrol, yn Iachawdwr cyflawn; ni ddanghosir yn amlwg ogoniant ei berson; a'i osodiad yn lle pechaduriaid; a'i waith yn gweinyddu ei swyddau cyfryngol, yn ol cyfammod y prynedigaeth; cyflawnder ei iawn; a pherffeithrwydd y cyfiawnder a ddygodd ef i mewn, i gyfiawnhau pawb a gredant ynddo. Gwael, a thywyll, y dywedir yn aml am gyfrif cyfiawnder Crist i'r rhai sydd yn credu.

5. Ychydig sydd yn dywedyd, yn oleu, am yr angenrheidrwydd am waith yr Ysbryd Glân, er achub pechaduriaid; a natur ei waith ar y rhai a gedwir. Mor anaml y pregethir am *farw i'r ddeddf*, yr angenrheidrwydd anhebgorol am *ail-enedigaeth*, a bod yn *gyfranogion o'r duwiol anian*, ac nad oes dim a wnelo dyn

yn wir santaidd, heb ei fod yn tarddu o egwyddor santaidd. Ychydig a ddywedir am yr angen sydd ar y Cristion am gael ei ddysgu, ei arwain, a'i nerthu yn mhob peth, gan yr Ysbryd Glân; ac mai efe sydd yn gwneyd ordinhadau yr efengyl, a moddion gras, yn fuddiol i ni.

Dylem ni, y pregethwyr, grynu, rhag bod i'n gwrandawyr dwyllo eu hunain o dan ein gweinidogaeth; a bod y pregethau a wrandawsant wedi eu hesmwythâu a'u cadarnhau yn eu twyll. Peth mawr yw i bregethwr allu dywedyd, ei fod ef yn "lân oddiwrth waed pawb oll" a'i gwrandawodd. "Mynegu holl gynghor Duw," a ddatguddiwyd i ni yn ei air santaidd, sydd un peth angenrheidiol tuag at fod yn lân oddiwrth waed. "Gwylio arno ei hun, ac ar yr athrawiaeth, ac aros ynddi," yw y ffordd i bregethwr "gadw ei hun, a'r rhai a wrandawant arno." 1 Tim. iv. 16.

II. Y mae yn beth o'r pwys mwyaf i'r gwrandawyr "edrych *pa beth*, a *pha fodd* y gwrandawont." Y mae gwrando gair Duw yn foddion o'i ordeiniad ef i gael ffydd a bywyd. Esay lv. 3. Rhuf. x. 17.

1. Dylai gwrandawyr "edrych *beth* a wrandawont;" oblegid y mae gau-athrawon, ac "athrawiaethau amryw a dyeithr," yn bod: am hyny, dylent chwilio yr ysgrythyrau beunydd, fel y *Bereaid*, i edrych a ydyw y pethau hyny fel y dywedodd y pregethwr.

2. Dylent hefyd "edrych *pa fodd* y gwrandawont;" beth yw eu dyben a'u hagwedd yn gwrando. Y mae llawer math o wrando nad yw er gogoniant Duw, na lles y gwrandawyr; megys gwrando er mwyn dawn, neu hyawdledd a ffraethineb y pregethwr; neu i borthi eu blys cywreinddoeth eu hunain; neu er mwyn difyrwch cnawdol, &c. Ond gwrando a ddylid, beth a ddywed yr Arglwydd, mewn gŵylder, gan "grynu wrth y

gair;" gwrando a deall, a derbyn ei eiriau ef; credu ei dystiolaeth, ufyddhau i'w orchymynion, cadw a chuddio ei ymadroddion yn y galon.

Nid oes dim yn fwy gweddaidd nag i bregethwr a gwrandawr ymddyddan yn nghylch gwir athrawiaeth yr efengyl, mewn ysbryd gostyngedig, a pharodrwydd i gymeryd eu dysgu gan Dduw, ac i gymeryd ei air ef yn derfyn ar bob ymryson.

Gocheler ceisio myned â gair Duw i gael ei farnu o flaen mainc rheswm llygredig dyn! Gocheler gofyn am unrhyw beth a ddywedodd Duw yn ei air, Pa fodd y mae hyny yn rhesymol, neu yn addas, neu yn gyson? Gallu gwybod beth a ddywedodd yr Arglwydd am bob peth, sydd yn ddigon i ni: y mae ei holl eiriau ef yn wirionedd cadarn; a doethineb anfeidrol, a chysondeb perffaith, ynddynt oll.

Bod i lawer gael lles wrth ddarllen yr Ymddyddanion, a chael eu dwyn i weled mwy o werth a gogoniant yn yr athrawiaeth iachus—cael profi mwy o'i rhinweddau iachusol; a derbyn o'i bendithion nes y bucheddont fel y gweddai i'r athrawiaeth iachus, ac yr "ymddygont yn addas i efengyl Crist," yw dymuniad eich brawd gwael, a'ch cyd-was,

*Fron*,
*Ionawr* 16, 1840.

JOHN ELIAS.

---

(ODDIWRTH Y PARCH. J. HUGHES, O LIVERPOOL.)
(*Gynt o Wrexham.*)

Nid oes neb wedi cyraedd perffeithrwydd yn y byd hwn. Byddai proffesu hyny yn brawf o *anmherffeith-*

*rwydd.* Mewn llawer o bethau, mewn *barn* a buchedd, yr ydym ni bawb yn llithro. Amrywia plant Duw eu hunain yn eu golygiadau ar lawer o bethau *llai* o bwys; ïe, ar bethau *mawr* eu pwys, pan y manylir yn ormodol arnynt. Ni roddir i ni, bob amser, wybod o ba herwydd, nac i ba ddyben, y mae llawer o bethau mewn *anian;* mwy o lawer, ynte, y gellir dysgwyl, yn nirgelwch mawr duwioldeb, ddwfr rhy ddwfn i'w blymio, a phethau rhy fawr i'w gwybod.

Hysbys ydyw fod gwahaniaeth yn bod, ac wedi bod er's oesoedd yn mhlith y rhai a elwir yn Galfiniaid, yn eu syniadau ar Athrawiaeth; rhai yn uwch fel y dywedir, ac ereill yn îs. Gŵyrodd rhai, o dro i dro, mor bell i ochr *Uwch-galfiniaeth* nes terfynu yn bur agos ar Antinomiaeth; ereill i ochr *Is-galfiniaeth,* nes na ellid prin eu gwahaniaethu oddiwrth Arminiaeth. Hyd yr wyf fi yn deall, ac nid wyf yn hòni pethau mawrion, cafodd y Trefnyddion Calfinaidd, yn Nghymru, eu cadw hyd yn hyn i ochel y *ddwy* graig yna, ac i gynal gair y bywyd yn ei *flas,* ac yn ei burdeb; a gobeithiaf y parhant i wneuthur felly. Wrth ddywedyd hyn, nid wyf yn proffesu unrhyw anffaeledigrwydd ar y naill law, nac yn gwneuthur cymhariaeth gynhenus â phleidiau ereill, ar y llaw arall.

Nid wyf yn gwybod fod dim yn y traethawd canlynol yn milwrio yn *erbyn* y gwirionedd, ond *dros* y gwirionedd; a barnwyf fod ynddo brofion eglur o ymchwiliad manwl, ac o fedrusrwydd helaeth; a'i fod yn tueddu i dywys yr enaid ymofyngar i ddirgelwch y ffydd—i gadarnhau y neb a allai fod yn sefyll—i dywys y neb a allai fod yn petruso—ac i adferu y neb a allai fod yn gŵyro.——"A ddarlleno ystyried, a ystyrio dealled."

JOHN HUGHES.

(ODDIWRTH Y PARCH. H. REES.)

Yr ydwyf yn barnu, yn ostyngedig, fod yr athrawiaeth a amddiffynir yn yr Ymddyddanion hyn, yn ddatguddiedig yn ngair yr Arglwydd; a bod yr amddiffyniad hefyd yn gyfryw ag sydd yn tueddu i gryfhau a sefydlu y meddwl ynddi. Y mae'n wir, nad rhesymau goreu dynion dros athrawiaeth yr efengyl, yw y moddion i genhedlu ffydd ynddi yn nghalon pechadur; ond yn hytrach, y cyhoeddiad noeth o'r athrawiaeth ei hun. Oblegid nid yw ffydd y saint mewn doethineb dynion, ond mewn nerth Duw: ac y mae y nerth hwnw yn gweithio, er dwyn y meddwl i gredu'r efengyl, nid drwy resymau dynol o'i phlaid, ond drwyddi hi ei hun. "Oblegid gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth i bob un sydd yn credu." Eto, pan bo meddyliau dynion yn agored i gael eu dyrysu drwy y dadleuon a'r rhesymau cyfrwysddoeth a ddygir yn erbyn y gwirionedd gan gyfeiliornwyr; fe all gwaith y doeth a'r medrus yn ei amddiffyn, drwy egluro ei natur—dangos ei gysondeb—dynoethi y twyll-resymau a ddygir i'w erbyn—ac hefyd, trwy ddwyn rhesymau têg a chedyrn i'w gadarnhau, fod o neillduol wasanaeth i gredinwyr, er chwalu eu petrusder—cryfhau eu ffydd—a sefydlu eu heneidiau yn yr athrawiaeth iachus.

Mi feddyliwn mai hyn yw prif amcan yr holl ymddyddan rhwng "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr;*" a than fendith yr Arglwydd, gobeithiaf y bydd iddo ei gyrhaeddyd hefyd. Ac felly, yr ydwyf yn dymuno ei lwydd, i wneuthur gwasanaeth ag sydd mor angenrheidiol i'r eglwysi y dyddiau hyn.

HENRY REES.

(ODDIWRTH Y PARCH. L. EDWARDS, A. C.)

ANWYL GYFAILL,—Dywenydd oedd genyf glywed eich bod wedi cydsynio i'r "*Pregethwr a'r Gwrandawr*" ymddangos yn llyfr ar ei ben ei hun. Gan fod cryn amser er pan ddarllenais yr hyn sydd wedi ymddangos o hono, y mae yn anhawdd i mi ddyweyd dim yn fanwl o barthed ei deilyngdod; ond yr argraff a adawyd ar fy meddwl, ydyw, ei fod yn cynwys rhesymau o blaid Calfiniaeth, nas gellir, ar frys, eu gwrthbrofi. Y gwreiddyn, os nad wyf yn camsynied, i'r rhan fwyaf o'r annghysondeb a welir mewn llawer o ysgrifeniadau, y dyddiau hyn, yw diffyg ystyried fod yr achos o holl drefn yr iachawdwriaeth yn Nuw. Yr hyn yw Efe o *angenrheidrwydd natur*, yw yr achos fod pechod yn ddrwg, fod y drwg hwnw yn galw am gosp, ac nad oedd modd ei faddeu heb iawn. Ac Efe hefyd, o'i *ras penarglwyddiaethol*, yw yr achos dechreol, a'r unig achos, o bob daioni sydd yn neb o'i greaduriaid. Am fod eich ymresymiadau wedi eu hadeiladu ar y sylfaen hon, yr wyf yn credu eu bod yn ddiysgog, ac o'm calon yn dymuno bendith ar eich llafur.—Ydwyf, anwyl gyfaill, yr eiddoch,

LEWIS EDWARDS.

# Y CYNWYSIAD.

---

**ATTODIAD.**

Y

# PREGETHWR A'R GWRANDAWR.

---

## YMDDYDDAN I.

### SYLWADAU RHAGARWEINIOL.

*Gwrandawr.* PA beth yw eich barn chwi, Mr. P., am y byd crefyddol yn y dyddiau hyn? Diameu'ch bod chwi yn darllen llawer. A fu, attolwg, y fath amser erioed ar eglwys Crist a'r dyddiau presenol? Gwyddys fod Protestaniaid a Phapistiaid yn dadlu â'u gilydd o hyd er dyddiau Luther;—Calfiniaid ac Arminiaid, yr un modd, er dyddiau Arminius;—Eglwyswyr ac Ymneillduwyr mewn dadl â'u gilydd byth er amser yr hen Buritaniaid; ac y mae dadleuon aneirif yn bod rhwng y pedair sect, fel eu gelwir, yn Nghymru er's blyneddau lawer cyn ein geni ni.

Ond yn awr, y mae y gwahanol bleidiau crefyddol yn methu â chytuno yn eu plith eu hunain; a hyny, os nad wyf yn camgymeryd, am brif byncian y grefydd Gristionogol. Wrth wrandaw pregethau yr Annibynwyr, cawn glywed yr athrawiaeth y bu Rees, Tibbot, Gray, Lewis, y'nghydag ereill o hen bregethwyr y cyfenwad hwnw, yn ei phregethu ac yn ei phleidio yn wrol, yn awr yn cael ei thaflu o'r neilldu fel cyfundraith o gyfeiliornadau. Ac y mae rhai yn dywedyd nad yw y Methodistiaid Calfinaidd yn lân oddiwrth yr un cyhuddiad. Nid yw yn beth i ryfeddu llawer ato, nac i dramgwyddo cymaint wrtho, fod dynion duwiol a da yn methu â chydweled am bethau o îs-bwys mewn crefydd; ond pan y mae dynion o wybodaeth helaeth, a dawn hefyd, yn dywedyd yn groes i'w gilydd am y pethau mwyaf eu pwys, megys natur a dybenion iawn Crist, trefn cyfiawnhad pechadur, a gwaith yr Ysbryd Glân; onid yw y peth yn tueddu yn fawr ddyrysu yr ymofynydd mwyaf gonest, ac i gadarnhau yr anffyddiwr yn ei haeriad mai ffiloreg yw'r cwbl?

*Pregethwr.* Y mae yn ddigon gwir fod pethau yn bod fel yr ydych chwi yn darlunio, a bod niweidiau mawrion yn cael eu gwneyd trwy hyny, sef y gwan yn y ffydd yn cael ei wneyd yn wanach, a'r cryf mewn annghrediniaeth yn cael ei wneyd yn gryfach. Ond dylem edrych hefyd i'r ochr arall; y mae llawer o ddaioni yn cael ei wneyd i achos crefydd weithiau, trwy fod dadleuon yn codi; y mae dynion yn cael eu deffroi i chwilio, a rhai trwy hyny yn cael eu hargyhoeddi o'u cyfeiliornadau, ac ereill yn cael eu cadarnhau yn y gwirionedd: ac yr wyf fi yn meddwl, er cymaint o ddrwg sydd yn cael ei wneyd i achos crefydd trwy y dadleuon hyn, y bydd, yn y diwedd, y daioni yn llawer mwy; ond fe allai mai yn ein beddau y byddwn ni cyn y bydd hyny i'w weled yn eglur.

Dylem, bob amser, wrth chwilio am y gwirionedd, ymddyosg oddiwrth bob rhagfarn. Y mae hen bobl yn hynod dueddol i ragfarn o blaid hen bobl. Y mae y rhai a enwasoch chwi, y'nghydag ereill o'u cyfoedion, wedi eu seintio yn meddyliau llawer o hen bobl, fel yr ystyriant ddywedyd yn groes i'r hyn a ddywedodd y rhei'ny, bron yr un peth a dyweyd yn groes i'r beibl: ond a ydyw hyny yn dêg, tra nad oeddynt hwy, er maint eu dawn a'u defnyddioldeb, ond dynion ffaeledig fel ninau? Y mae pobl ifainc, drachefn, yn dueddol iawn i ragfarn o blaid pobl ifainc: braidd na phenderfynai llawer un, mai rhyw ffyliaid oedd yr hen bobl, heb wybod dim, a bod rhyw oleuni newydd wedi dyfod i'r byd gyda'r oes bresenol, na bu ei fath, o leiaf, er dyddiau'r apostolion. Bydded i ní dalu pob parch dyledus i'n henafiaid, ac yn enwedig i'n tadau a fuont yn llafurus a defnyddiol gydag achos crefydd mewn amserau blinion iawn; ac, ar yr un pryd, beidio â diystyru llafur na gwybodaeth neb o'n cydoeswyr; a chofio mai "pa beth bynag sydd yn egluro, goleuni yw." Eto awn â'u hathrawiaethau "at y gyfraith ac at y dystiolaeth; oni ddywedant yn ol y gair hwn," b'ont hwy hen, b'ont ifainc, dysgedig neu annysgedig, "hyn sydd am nad oes oleuni ynddynt."

*Gwran.* Ie, peidiwch chwi â fy nghamgymeryd i. Nid wyf fi yn condemnio yr hen na'r ifanc. Bu yn dda gan fy nghalon i wrando ar ugeiniau yn pregethu, ag sydd yn awr yn y priddellau. Ond os dywedaf y gwir, braidd na feddyliwn i fod y bobl bresenol yn gweled ryw beth yn mhellach na'u tadau. Y mae gan y bobl ifainc yma

*Natural and Moral Philosophy*, *Metaphysics*, *Logic*, *Rhetoric*, ac ni wn i pa faint o bethau, na wyddai llawer o'r hen bobl ddim am danynt. A phe clywech chwi y fath philosophi sydd gan y bechgyn dewr yma wrth bleidio y pynciau newydd, yr wyf fi yn meddwl y byddai yn anhawdd i chwi gael rhesymau i'w gwrthbrofi.

*Preg.* Y mae y grefydd Gristionogol â'i sail ar y datguddiad dwyfol, ac nid ar yr hyn a elwir philosophi; o ganlyniad, wrth y datguddiad hwnw y mae yn rhaid i'w holl bynciau gael eu profi, ac nid wrth yr hyn a elwir philosophi.

*Gwran.* Ond *y mae dyn yn greadur rhesymawl*, ac fe ddylai gael gwybod y rheswm paham a pha fodd y mae pob peth, cyn y gallo yn rhesymawl ei gredu; ac ni allwn lai na chyfrif y dyn yn goelgar *(credulous)*, a gredai beth heb ddeall paham na pha fodd y mae y peth hwnw yn bod. Yn wir pan fyddaf yn eich gwrando chwi ac arall yn dywedyd mai tros yr etholedigion yn unig y bu Crist farw, ac mai ar eu medr hwy yn unig y darparwyd holl fendithion iachawdwriaeth; ac eto fod yr efengyl i gael ei phregethu i bawb yn ddiwahaniaeth, a bendithion trefn achub i gael eu cymhell ar bawb, ac mai ar y dyn y mae y bai am eu gwrthod; ni fedrwn i yn fy myw weled y cysondeb. Pa gysondeb sydd mewn gwahodd pawb i wledd na fwriadwyd ac na ddarparwyd ond i rai? A pha reswm yw beio dyn am wrthod yr hyn na pherthyn iddo? Onid gonestrwydd yw iddo ei wrthod? Ac onid trais a fyddai iddo ei dderbyn?

*Preg.* Os na chredwch chwi fod dim yn bod, oddieithr i chwi allu ei amgyffred a rhoddi rheswm têg am dano, yr ydych yn rhwym o fod yn amheuwr, (*sceptic*) yn mhob peth; oblegid y mae y pethau a welir yn fwyaf cyffredin, ac na amheuir gan neb, yn cynwys ynddynt ddirgeledigaethau rhy ddyfnion i amgyffred y dyn mwyaf deallus. Paham yr ydwyf fi yn gallu ymsymud mwy na'r *desk* yma sydd o'm blaen?

*Gwran.* Pam hefyd? Onid am fod bywyd ynoch chwi, yr hyn nid yw yn y *desk?*

*Preg.* Bywyd! Pa beth yw hwnw?

*Gwran.* Y peth sydd yn gwneyd y gwahaniaeth rhyngoch chwi a'r *desk*.

*Preg.* Ie, dyna chwi yn awr yn ymresymu mewn cylch, a phe baech yn troi ynddo hyd flwyddyn i heddyw, ni

fyddech chwi na neb arall ddim doethach. Ond pa beth yw y bywyd sydd yn gwneyd gwahaniaeth rhyngof fi a'r *desk*?

*Gwran.* Wel yr hwnw. Rhywbeth yn y gwaed. Rhywbeth ———

*Preg.* Digon gwir mai rhywbeth ydyw, ond ni ellwch chwi na minau ddywedyd nac amgyffred pa beth yw y rhywbeth hwnw. Ond ai rhesymol fyddai i mi beidio â chredu y gallaf ymsymud mwy na'r *desk*, o achos na allaf amgyffred y peth sydd yn gwneyd y gwahaniaeth rhyngom?

*Gwran.* Ni feddyliais i erioed am beth fel yna. Ond pa beth yw hyny i'r mater dan sylw?

*Preg.* Dim rhagor na phrofi fod yn rhaid i ni gredu llawer o bethau, cyn deall pa fodd y maent yn bod; neu fod yn amheuwyr am bob peth.

Os ydych am ddringo i esgynlawr gwybodaeth, y peth cyntaf i'w wneyd ydyw, mynu tir cadarn gwirionedd i osod troed eich hysgol arno. Y mae llawer, oblegid gosod eu hysgol i fyny ar dir llithrig amheuaeth, wedi syrthio a chlwyfo eu penau yn anfeddyginiaethol. Fy meddwl wrth ddyweyd hynyna yw, y rhaid i ddyn a fyddo yn chwilio am wybodaeth, gael rhyw bethau sicr a diamheuol i adeiladu ei resymau arnynt, ac onidê y mae yn rhwym i fyned i ddyryswch o gyfeiliornadau. Yr wyf yn meddwl mai trwy beidio â dylyn y llwybr yma y mae llawer o ddynion dysgedig a gwybodus wedi myned i gyfeiliornadau cethin iawn; sef trwy gymeryd y gwirioneddau mwyaf eglur yn rhag-dybiaethau (*hypotheses*), i'w credu neu eu hanghredu, yn ol fel y byddont hwy yn amgyffred neu yn methu amgyffred eu cysondeb.

*Gwran.* Prin yr ydwyf yn deall eich hymresymiad.

*Preg.* Wel ynte, mi a enwaf ddwy anghraifft, un o bethau naturiol, a'r llall o bethau duwinyddol, er mwyn dangos i chwi fy meddwl yn eglurach. 1. Y mae yn wirionedd sicr ac eglur, fod dyn yn gyfansoddedig o gorff ac enaid, a bod yr enaid yn gweithredu ar y corff er ei ysgogi fel y bo yn ewyllysio: meddyliaf am godi fy llaw at fy mhen, dyna hi i fyny yn y fan: meddyliaf am fyned allan i'r ardd, dyna y ddau droed yn ysgogi bob yn ail yn union tua'r lle. Ond ni allwn amgyffred pa fodd y mae yr enaid yn dylanwadu ar y corff i roddi ysgogiad yn ei holl aelodau. Yn awr, wrth adael y pethau eglur a nodais heb benderfynu eu bod, nes gallu amgyffred paham y

maent yn bod, a pha fodd y maent yn gweithredu, aeth rhai i wadu fod gan ddyn enaid, ac i haeru mai corff yn unig ydyw; aeth ereill i wadu fod gan ddyn gorff, ac i haeru mai enaid yn unig ydyw. 2. Y mae bod y Gwaredwr yn Dduw ac yn ddyn, yn wirionedd mor eglur ag un athrawiaeth o fewn y beibl. Ond y mae llawer o dduwinyddion na fynant gredu dim mewn duwinyddiaeth, fel gwirionedd diamheuol, nes iddynt hwy allu amgyffred pa fodd y mae yn bod: y canlyniad o hyn yw, i rai fyned i wadu dyndod—ac i ereill fyned i wadu Duwdod, Crist.

*Gwran.* Ho, yr ydych chwi, ynte, yn golygu fod llawer o bethau yn wirioneddau, pan nad oes dim cysondeb rhyngddynt, ac mai ein dyledswydd yw credu agos bob peth, a pheidio ymyraeth i chwilio dim am gysondeb pethau, ac felly mai fy lle inau yw credu, heb betruso, mai tros yr etholedigion yn unig y bu Crist farw, mai iddynt hwy yn unig y darparwyd iachawdwriaeth, ac eto fod gwahoddiad didwyll yn cael ei wneyd yn ngweinidogaeth yr efengyl, i bawb ddyfod i dderbyn y pethau. A ydych yn dysgwyl mewn difrif i mi, a minau *yn greadur rhesymawl*, gredu pethau ag sydd yn annghyson â'u gilydd?

*Preg.* Y mae pob gwirionedd yn berffaith gyson â'u gilydd, fel nas gall dau wirionedd fod yn wrthwyneb i'w gilydd. Pan glywoch chwi ddau ddyn yn haeru pethau croes i'w gilydd, dichon fod y ddau yn dywedyd celwydd, ond ni all ond un o honynt fod yn dyweyd y gwir; oblegid y mae celwyddau yn aml yn hollol groes i'w gilydd, ond ni all dim gwirioneddau beidio â chytuno â'u gilydd.

Nid wyf yn dywedyd chwaith na ddylem lafurio, hyd eithaf ein gallu, er canfod cysondeb pethau, yn enwedig pethau y beibl. Ond pe methem âg amgyffred pethau, ni ddylem am hyny benderfynu nad ydynt yn wir. Pan ganfyddom bethau ag y byddai yn drais ar synwyr cyffredin i ni eu hamau, ein dyledswydd, dybygwn i, yw eu credu; ac os na fedrwn weled cysondeb rhwng y naill a'r llall o'r pethau, priodoli hyny i anmherffeithrwydd ein deall. A pha beth yw y gorawydd sydd mewn dynion i amgyffred cyn credu pethau y beibl, ond yr hen flys bod fel duwiau yn gwybod da a drwg? Oblegid beiddiaf ddywedyd fod yn y beibl, yn gystal ag mewn natur, bethau na all neb eu dirnad yn berffaith tu yma i Hollwybodaeth; ac os byddwn ninau heb eu credu nes gallael eu dirnad,

byddwn byth yn annghredinwyr i eiriau y Gwirionedd ei hun.

*Gwran.* Pa beth sydd wirionedd? A raid i ni gredu pob peth? Neu pa fodd yr ydym i benderfynu'r peth a raid ei gredu?

*Preg.* Pan unwaith yr addefir dwyfoldeb yr ysgrythyrau, yr un peth yw beibl i'r duwinydd ag ydyw *facts* i'r philosophydd. Rhaid i'r philosophydd gael *facts* i adeiladu ei gyfundraith arnynt; ac weithiau wedi iddo fod flyneddau yn llafurio ac yn astudio i gael y *system* yn gyson â hi ei hun, y mae un *fact* yn dinystrio y cwbl; ac er ymdrechu i gynal yr adeilad i fyny, trwy wadu'r *fact*, neu ei symud o'r ffordd, i lawr y mae yn dyfod, ac yntau yn dianc gan waeddi, "*Facts are stubborn things.*" Yr un peth yn gymhwys yw'r ysgrythyrau i'r duwinydd. Pa beth bynag y mae y beibl yn ei ddywedyd, y mae yn *fact*, ac y mae yn haws symud y Wyddfa i fôr Werydd na newid un iot o hono. Llawer duwinydd a lafuriodd yn ddiwyd ac a astudiodd yn galed, i wneyd i fyny *system* o dduwinyddiaeth; ac erbyn ei dwyn i'w phrofi wrth y beibl, byddai rhyw adnod fechan yn rhywle neu gilydd, er tybygid nad oedd hi fawr o beth o flaen y fath *system* fawr, eto yr oedd y gyfundraith o'i blaen yn cael ei malu, fel delw Nebucodonosor o flaen y gareg, cyn faned a llwch lloriau dyrnu haf. Y mae ambell un yn ceisio esponio a chyfieithu y beibl yn y modd mwyaf ffafriol i'w *system*, ïe, ceisio dilëu ambell adnod o'r beibl. Ond y mae yr adnodau yn ystyfnig, fel ffeithiau; ni waeth ceisio symud nef a daear o'u man, na cheisio gwyro adnod un trwch blewyn o'i lle, oblegid y "mae yn haws i'r nef a'r ddaear fyned heibio, nag i un tipyn o'r gyfraith ballu."

*Gwran.* Ond bwriwch fod dwy adnod yn groes i'w gilydd: un yn dywedyd fod Crist wedi marw dros bawb, a'r llall yn dyweyd mai yr eglwys yw yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed. Pa un o'r ddwy a gredwn ni? Neu pa fodd y gallwn gredu y ddwy?

*Preg.* Dwy adnod yn groes i'w gilydd! ni all hyny byth fod. Y mae holl adnodau y beibl yn wirionedd, ac felly o angenrheidrwydd yn berffaith gyson â'u gilydd. Ond pan gyfarfyddom âg adnodau a f'ont, ar yr olwg gyntaf, yn ymddangos felly, megys y ddwy y cyfeiriech atynt, rhaid i ni yn gyntaf oll benderfynu eu bod yn wir, a bod y naill mor wir a'r llall. Eto dylem roddi ein

rheswm ar waith i chwilio am eu cysondeb â'u gilydd; megys trwy ystyried a ydyw yn amlwg fod y gair "*eglwys*" yn cael ei arfer weithiau yn y beibl am holl ddynolryw? Ac a oes rhyw debyg, wrth sylwi ar y cyd-destyn, mai dyna feddwl y gair "*eglwys*" yn y lle tan sylw? Neu a ydyw yn amlwg fod y gair "*pawb*" yn cael ei arfer weithiau yn y beibl am ryw nifer llai na holl ddynolryw? Ac a ydyw yn ymddangos, wrth sylwi ar y cyd-destyn, mai rhyw nifer llai na holl ddynolryw a feddylir wrth y gair "*pawb*" yn y lle arall tan sylw? A da iawn fyddai, pe baem yn medru ymofyn â'r ieithoedd yr ysgrifenwyd y beibl ynddynt; ond yn niffyg hyny, gallwn ymgynghori â gwaith awdwyr sydd wedi bod yn llafurus iawn ar hyd eu hoes i chwilio i mewn i'r ieithoedd hyny. Ond eto, pe baem yn methu amgyffred cysondeb y pethau, er chwilio ddyddiau ein bywyd, ein dyledswydd yw credu yr adnod sydd yn dywedyd i Grist farw tros bawb; a chredu hefyd yr adnod sydd yn dywedyd mai yr eglwys yw yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed; a chredu fod y ddwy adnod yn gyson â'u gilydd, er ein bod ni yn methu â chanfod y cysondeb; a gweddio am arweiniad Ysbryd y gwirionedd, fel y tywyser ni i bob gwirionedd.

*Gwran.* Wel, pe cawn i hamdden gan yr hen fyd yma, y mae arnaf eisiau ymddyddan llawer iawn â chwi am y pethau hyn. Bûm i flyneddau yn gwrando ar yr hen bobl, gyda blas mawr, yn pregethu. Ie, bûm yn methu â dal heb dori allan i foliannu, os nad i neidio, wrth eu gwrando yn son am fendithion y cyfammod a rhyfeddodau y groes. A phan glywn i son am ryw un yn pregethu *system* newydd, yr oeddwn yn barod i benderfynu fod y cyfryw wedi hanner gwirioni, neu o leiaf yn hynod o anwybodus a dibrofiad. Ond yr wyf wedi newid fy marn; nid yn hollol am yr athrawiaeth, ond am y dynion sydd yn ei phregethu. Yr wyf yn meddwl eu bod yn ddynion o wybodaeth a dawn helaeth; ac wrth wrando amryw yn ymresymu, rhaid i mi gyfaddef fy mod wedi'm hanner ennill i farnu mai hwy sydd yn eu lle, a bod yr hen bobl wedi colli cryn dipyn ar y ffordd; ac y mae yn ddiamau genyf pe buasai llawer o honynt yn fyw, y buasent wedi eu hennill i'r un farn a'r bobl ifainc.

*Preg.* Yr wyf finau wedi gwrando llawer, a darllen peth, ar bob ochr i'r ddadl. Ac er y dymunwn dalu pob parch dyledus i ddysg, doniau, a duwioldeb llawer o'r rhai

sydd yn pregethu yr hyn a elwir yn *system* newydd, eto, efo beibl a chydwybod, ni fedraf lai na gwahaniaethu oddiwrthynt. Ac os byddwch yn ewyllysio ymddyddan yn mhellach am y pethau hyn, ni bydd yn flin genyf ddangos fy meddwl y tro nesaf y cyfarfyddom â'n gilydd.

---

## YMDDYDDAN II.

### NATUR A CHANLYNIADAU PECHOD.

*Pregethwr.* Wel, Mr. G., pa beth yw eich meddwl am y pynciau dadleuol, fel eu gelwir, erbyn hyn?

*Gwrandawr.* Clywais un gweinidog, yn ddiweddar, yn dywedyd ei fod ef o'r farn nad yw y gwahaniaeth sydd rhwng Ffwleriaid a Chalfinistiaid* nemawr o ddim heblaw annghytundeb yn nghylch geiriau; a phe deallem ein gilydd, ein bod yn nes at ein gilydd nag yr ydys yn meddwl.

*Preg.* Y mae y gŵr, pwy bynag ydyw, yn camgymeryd yn fawr, ysywaeth. Pan ydys yn pregethu, ac yn ysgrifenu, y gallasai Duw faddeu pechodau heb iawn, ac y buasai yn fwy anrhydeddus iddo wneyd felly, oni bai ei fod yn peryglu diogelwch y llywodraeth foesol; h. y. pe na bai pechod ond rhyw beth yn erbyn Duw fel Bôd unigol, y buasai yn fwy anrhydeddus iddo faddeu heb, na thrwy iawn; pan ydys, meddaf, yn dal y fath athrawiaeth a hon, ni

---

* Wrth y Calfinistiaid yr ydys yn golygu y sawl sydd yn dál yr hyn a alwai yr hen bobl "y pum pwynt," sef—1. Etholedigaeth bersonol. 2. Pechod gwreiddiol. 3. Prynedigaeth neillduol. 4. Galwedigaeth effeithiol neu anwrthwynebol. 5. Parhad y saint mewn gras.

Wrth y Ffwleriaid yr ydys yn golygu y rhai sydd yn proffesu dylyn y Parch. Andrew Fuller, a'r Doctor Williams o Rotheram, yn eu golygiadau ar iawn Crist, &c.

Nid ydys yn golygu fod y rhai a alwn yn Galfinistiaid, o'r un farn a'r diwygiwr enwog John Calfin, am bob peth; ac nid ydys ychwaith yn penderfynu fod y sawl a alwn yn Ffwleriaid, o'r un farn a'r enwogion Fuller a Williams am bob peth. Os nad ydym yn camgymeryd, y mae llawer o bethau yn cael eu pregethu a'u hysgrifenu gan y rhai a broffesant eu hunain yn ganlynwyr i Fuller neu Williams, ag y buasai y gwyr duwiol hyny, pe buasent yn fyw, yn dychrynu wrth eu clywed yn cael eu traethu yn eu pulpudau. Dealled y darllenydd, yr arferir yr enwau Calfinistiaid a Ffwleriaid er mwyn gwahaniaethiad, a hyderir fod pawb yn deall pwy ydys yn olygu wrth y naill a'r llall.

allwn fod o'r un farn am bechod, nac am Dduw ei hun, mwy nag am iawn y Cyfryngwr. Yn ol y golygiad a enwais, nid ydyw pechod yn ddrwg anfeidrol fawr, fel ag yr oeddym ni yn tybied ei fod. Nid yw iawn Crist ond rhwy *valuable consideration*, i wneyd rhyw argraff moesol ar feddyliau creaduriaid rhesymol, fel y byddai maddeu yn beth diberygl i'r llywodraeth, ac nid oes ynddo ddim o'r fath beth a gwir gosp am bechod. Ie, yn ol y gyfundraith hon, nid ydyw Duw ei hun yn gymaint o elyn i bechod ag yr oeddym ni yn meddwl ei fod.

*Gwran.* Pechod yn ddrwg anfeidrol! Pa fodd y gall hyny fod? Nid yw dyn ond bôd meidrol a therfynol, o ganlyniad, pa fodd y gall dim sydd yn perthyn iddo fod yn anfeidrol neu yn annherfynol?

*Preg.* Addefaf mai bôd meidrol yw dyn, ar yr un pryd yr wyf yn gwadu fod pob peth a berthyn iddo yn feidrol a therfynol: beth am ei barhad, a ydyw hwnw, attolwg, yn derfynol? Os yw dyn, fel y mae yn rhaid i chwi addef ei fod, yn wrthddrych o annherfynol drueni, oni all, ar yr un egwyddor, fod yn wrthddrych o anfeidrol euogrwydd? Paham na all pechod bôd meidrol fod yn anfeidrol, yn gystal a'i barhad, a'i ddedwyddwch neu ei drueni? Y mae pechod yn ddrwg anfeidrol am ei fod yn erbyn Duw anfeidrol; y mae ein rhwymedigaethau i ufyddhau i Dduw yn anfeidrol, ac y mae pechod yn drosedd o'r rhwymedigaethau hyny; o ganlyniad rhaid fod ei ddrwg yn anfeidrol.

*Gwran.* Pa fodd y gall bôd meidrol fod tan rwymedigaethau anfeidrol? Y mae eich hathrawiaeth yn ymddangos i mi fel yn gosod y rhwymedigaeth sydd ar y dyn yn fwy peth na'r dyn ei hun, pwys y baich yn fwy na'r ysgwydd sydd tano. Pa fodd y cydsaif hyn â doethineb ac â daioni Duw?

*Preg.* Er fod y rhwymedigaeth ynddi ei hun yn anfeidrol, eto nid yw yr hyn y rhwymir dyn i'w gyflawni, yn anfeidrol, nac yn afresymol mewn un modd; oblegid pan y daeth dyn gyntaf o tan law y Creawdwr, yr oedd yn iau mor esmwyth, ac yn faich mor ysgafn, fel yr oedd yn haws iddo ei gyflawni na'i esgeuluso; ond pan y mae dyn wedi esgeuluso ei ddyledswydd, a throseddu (neu fyned ar draws) y rhwymedigaeth oedd arno, y mae anfeidroldeb y rhwymedigaeth hôno yn gosod anfeidroldeb ar euogrwydd ei drosedd.

meddwl i, yn dangos natur y peth mor eglur a'r gair cyfammod. Ac felly, os dylid rhoddi i bob peth yr enw mwyaf priodol iddo, dylai y peth dan sylw gael ei alw yn gyfammod.

*Gwran*. Pa raid sydd i ni fod mor fanwl yn ein golygiadau ar y peth? Ni waeth i ni pa un ai cyfammod ai rhywbeth arall ydoedd; oblegid pa ddaioni bynag oedd yn sefydliad gwreiddiol y peth, nid oes dim daioni na chysur i ni i'w ddysgwyl byth oddiwrtho.

*Preg*. Dyna siarad rhyfedd iawn yn wir. Ai nid ydyw yn werth, ac yn ddyledswydd, i ni ymdrechu am ddeall pa beth bynag a ddatguddiodd Duw yn ei air? Ond heblaw hyny, y mae yr apostol Paul yn defnyddio y llwybr y daeth pechod a marwolaeth i'r byd, a'r modd y mae pechod Adda yn effeithio ar ei holl hiliogaeth, fel gosail (*ground-work*) i'w holl ymresymiadau er egluro ffordd cyfiawnhad pechadur trwy Grist. Mewn cyferbyniad i Adda, y mae yn galw Crist yn Adda diweddaf; fel megys y daeth pechod trwy y cyntaf, felly y daeth cyfiawnder trwy y diweddaf: megys y daeth barn i gondemniad trwy y cyntaf, felly y daeth y dawn i gyfiawnhad trwy y diweddaf: ac megys y daeth marwolaeth trwy'r cyntaf, felly y daeth bywyd trwy y diweddaf, &c. Yn awr, os ydyw yn angenrheidiol i ni wybod athrawiaeth y Testament Newydd am y ffordd i'n cadw trwy Grist, y mae yn angenrheidiol i ni wybod y ffordd y'n collwyd yn Adda, oblegid y mae yr ysgrifenwyr santaidd yn defnyddio yr olaf i egluro y gyntaf.

*Gwran*. Y mae llawer yn dywedyd fod y ddeddf foesol, sef y deg gorchymyn, yn ammod o du Adda yn y cyfammod gweithredoedd: ond wrth ddarllen am yr hyn a basiodd yn Eden, ni welaf yr un crybwylliad am dani, nac am yr un o'i gorchymynion. Beth meddwch chwi?

*Preg*. Yr oedd y ddeddf foesol, swm yr hon yw cariad at Dduw a'n cymydog, yn ddeddf natur dyn yn ei greadigaeth. Ac er nad oedd cadw y deg gorchymyn yn cael ei osod i lawr mewn geiriau, fel *ffurf* o ammod yn y cyfammod gweithredoedd; eto, pe buasai Adda yn cadw y ddeddf hòno (yr hyn nis gallasai heb ufyddhau i'r gorchymyn pendant am bren gwybodaeth), buasai wrth hyny yn cadw y cyfammod. Ond wrth droseddu y ddeddf foesol (yr hyn nis gallasai heb anufyddhau i'r gorchymyn pendant am bren gwybodaeth; fel y dywedais yn ein hym-

ddyddan diweddaf), torodd y cyfammod. Felly yr wyf yn tybied mai y ddeddf foesol oedd *egwyddor* ammod y cyfammod hwnw. Y mae y golygiad hwn yn cytuno â gwaith yr apostol yn galw y ddeddf foesol, "Y gorchymyn, yr hwn ydoedd i fywyd;" neu yn ol y cyfieithiad Saesonig, "Y gorchymyn, yr hwn a ordeiniwyd i fywyd." Nid ydwyf yn deall yr ordeiniwyd y ddeddf foesol yn orchymyn i fywyd, ond fel yr oedd yn *egwyddor* ammod y cyfammod gweithredoedd: gorchymyn i farwolaeth ydyw i ddynion byth ar ol toriad yr ammod hòno.

*Gwran.* Wrth son am farwolaeth yn gosp am doriad y cyfammod, a ydych yn golygu fod dyn, o ran ei gyfansoddiad cyn y cwymp, yn *anfarwol?*

*Preg.* Os wrth anfarwoldeb yr ydych yn golygu fod dyn yn anfarwol ynddo ei hun, neu yn annibynol ar neb arall am ei fywyd, yr wyf yn ateb yn nacaol. Ni all fod neb felly ond Duw yn unig: "Yr hwn yn unig sydd ganddo anfarwoldeb," 1 Tim. vi. 16. Ond os wrth anfarwoldeb yr ydych yn golygu fod cyfansoddiad y dyn, cyn pechu, yn rhydd oddiwrth bob peth a fuasai yn ei rwymo i farw, yr wyf yn ateb yn gadarnhaol.

Heb fyned i chwilio a chwalu rhesymau *Infidels*, a hanner *Infidels*, megys Socinus ac ereill, sydd yn ceisio profi fod achosion marwolaeth yn natur Adda cyn ei gwymp, digon, mi feddyliwn, i'n pwrpas ni, yw fod y beibl yn dywedyd, mai "felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a phechu o bawb:" ac mai "cyflog pechod yw marwolaeth." Gallaswn enwi llawer ychwaneg o ysgrythyrau sydd yn dangos yn amlwg nad dim yn nghyfansoddiad creadigol dyn, ond mai ei bechod a'i gwnaeth yn rhwym i bob math o farwolaeth.

*Gwran.* Os oedd marwolaeth naturiol a thragwyddol yn gynwysedig yn y bygythiad, "*Yn y dydd y bwytâi o hono, gan farw y byddi farw,*" pa fodd y bu i Adda fyw gannoedd o flyneddau ar ol troseddu? Paham na chafodd ei drosglwyddo gan angeu naturiol i afael marwolaeth dragwyddol yn y dydd y bwytaodd?

*Preg.* Nid wyf yn meddwl mai pan y mae yr enaid yn ymadael â'r corff y mae y dyn yn dechreu marw: ond y mae marw naturiol yn cynwys yr holl boenau a'r gofidiau sydd yn cyfarfod â dyn yn y byd yma, ac yn terfynu pan y mae yn myned oddiyma. Cafodd Adda, ar y dydd y *bwytaodd o'r pren,* ei droi o ardd Eden i ymboeni, mewn

llafur a chwys, am ei gynaliaeth dros weddill ei oes. Diau hefyd i angeu naturiol ymaflyd yn ei gyfansoddiad y fynyd y bwytaodd o'r ffrwyth gwaharddedig, er iddo fod gannoedd o flyneddoedd yn gorphen ei waith.

Nid ydwyf, ychwaith, yn meddwl mai pan y mae dyn yn cael ei daflu i uffern, y mae marwolaeth dragwyddol yn dechreu ymaflyd ynddo; ond y mae yr amddifadrwydd o gymdeithas â Duw, cnofeydd cydwybod, y'nghyda'r dychryn sydd yn y meddwl rhag y canlyniadau, yn ddechread o'r "pryf na bydd marw, a'r tân na ddiffydd:" ac y mae'n amlwg fod y pethau hyn wedi ymaflyd yn Adda pan aeth i ymguddio wrth glywed "llais yr Arglwydd Dduw yn rhodio gydag awel," neu "yn hwyr y dydd."

Felly, ymaflodd marwolaeth naturiol a thragwyddol, yn gystal a marwolaeth ysbrydol, yn y dyn, ar y dydd y bwytaodd o ffrwyth y pren.

---

## YMDDYDDAN V.

---

### CYFRIFIAD PECHOD ADDA I'W HILIOGAETH.

*Gwrandawr*. Bore da'wch. Y mae yn dda iawn genyf eich gweled, yn enwedig os gallaf gael hanner awr o ymddyddan â chwi; canys y mae yr hyn y buom yn siared yn ei gylch y tro diweddaf y gwelais chwi wedi cael y fath argraff ar fy meddwl, fel nad wyf yn cael nemawr o lonyddwch ganddo nos na dydd o hyny hyd yr awr hon.

*Pregethwr*. Nid difyrwch genyf yw dywedyd dim i ddyrysu neu drallodi meddwl neb, yn enwedig un o'm cyfeillion: eto, os parodd yr hyn a ddywedais i chwi feddwl yn ddwysach am beth ag y mae lle i ddysgwyl bendith enaid wrth fyfyrio arno, dywedaf yn ngeiriau Paul, "Nid yw edifar genyf er bod yn edifar genyf." Ond mynegwch chwi yr hyn sydd ar eich meddwl.

*Gwran*. Y mae goruchwyliaeth Eden yn ymddangos yn ddigon cyfiawn a thêg, am a wn i, cyn belled ag y perthynai i Adda a'i wraig: ond pan ydych yn dywedyd fod y peth yn effeithio arnom ni—ein bod ni yn cael ein condemnio am drosedd a gyflawnwyd filoedd o flyneddoedd cyn ein geni—a'n bod yn rhwym i gospedigaeth

dragwyddol am bechod Adda; yr wyf yn dychrynu rhag y fath athrawiaeth. Pa fodd, yn wyneb uniondeb a chyfiawnder, y gallai neb fod yn euog o bechod Adda heblaw Adda ei hun?

*Preg.* Y mae'n ddrwg genyf orfod dyweyd eich bod eto yn dechreu o chwith; neu, yn ol y ddiareb, eich bod yn "rhoddi y câr o flaen y ceffyl." Yr ydym yn gyntaf i chwilio a ydyw *cyfrifiad pechod Adda i'w hiliogaeth* yn athrawiaeth ysgrythyrol: os gwelwn nad ydyw, nid rhaid i ni drafferthu gyda'r *pa fodd;* ond os ydyw, pe na allem amgyffred *pa fodd*, eto, gochelwn ei chablu, rhag ein cael yn euog o roddi yn ynfyd ddim yn erbyn Duw.

*Gwran.* Ond yn gyntaf oll rhowch glywed pa beth ydych yn ei feddwl wrth y gair *cyfrifiad?*

*Preg.* Y mae'r gair *cyfrif* yn cael ei arferyd yn y beibl am amryw o bethau nad yw yn ateb ein pwrpas presenol ni eu henwi. Ond pan sonir am gyfrif pechod, neu gyfrif cyfiawnder, y meddwl yw, ***Rhoddi yn erbyn, neu o blaid un, mewn barn, yr hyn y mae ef ei hun, neu arall yn ei le, wedi ei wneuthur; mewn trefn i'w obrwyo neu i'w gospi am dano.*** Wrth ddywedyd fod pechod Adda yn cael ei gyfrif i ni, yr wyf yn golygu fod pechod Adda yn cael ei roddi yn ein herbyn ni, fel pe buasem ni ein hunain yn bersonol wedi ei gyflawni. Wrth ddywedyd fod pechodau ei bobl wedi eu cyfrif ar Grist yr wyf yn meddwl, fod y pechodau hyny wedi eu rhoddi yn ei erbyn ef, fel pe buasai efe ei hun wedi eu cyflawni.* Ac wrth ddywedyd fod cyfiawnder Crist yn cael ei gyfrif i bechadur, yr wyf yn ystyried fod ufydd-dod gweithredol a dyoddefol Crist yn cael ei roddi o blaid y pechadur, fel pe buasai ef ei hunan wedi ei gyflawni, er ei ryddhau oddiwrth ddamnedigaeth, a rhoddi iddo hawl i fywyd tragwyddol.

*Gwran.* Ni ddymunwn ddywedyd dim a barai i chwi dybied fy mod, mewn un modd, yn eich diystyru. Ond gobeithio na ddigiwch wrthyf am ddyweyd nad digon genyf eich bod chwi o'r farn fod pechod Adda, yn y golygiad a enwasoch, yn cael ei gyfrif i'w hiliogaeth, oddieithr i chwi brofi hyny o'r beibl.

*Preg.* Digio yn wir! Y mae yn dda gan fy nghalon

---

* Gwel Ymddyddan xiii.

i eich clywed yn siared fel yna. Pe caem bawb i benderfynu ymddiried i wirionedd dywediadau y beibl (nid am mai felly yr oeddynt hwy yn tybied o'r blaen; nid am mai felly y dywed hwn a hwn; ac nid am eu bod hwy yn gallael amgyffred *yr am a'r modd;* ond) oblegid mai felly y dywed yr ysgrythyr; yr wyf yn meddwl y gallem herfeiddio holl gyfeiliornadau y byd.

*Gwran.* Wel, pa brofion sydd genych fod hiliogaeth Adda yn cael eu cymeryd i mewn yn y cyfammod gweithredoedd (gan mai felly y mynwch ei alw). Nid oes un crybwylliad yn yr ymddyddan a fu rhwng Duw ac Adda, o berthynas i'r pren hwnw, cyn na chwedi y trosedd, am neb ond Adda ei hun. "Gan farw, *ti* a fyddi farw," nid "*ti a'th hiliogaeth,*" *&c.* "Trwy chwys *dy wyneb y bwytâi* fara," ac nid "trwy chwys *eich wynebau y bwytâi di a'th hiliogaeth* fara," &c.

*Preg.* Y mae bod yr holl felldithion a gyhoeddwyd yn erbyn Adda am doriad y cyfammod yn disgyn ar ei hiliogaeth, yn gystal ag arno ef ei hun, yn brawf fod ei hiliogaeth, yn gystal ag ef ei hun, yn cael eu cymeryd i mewn yn y cyfammod. Trwy lafur a chwys yr ydym ni yn cael ein bywioliaeth, yn gystal ag Adda: drain ac ysgall a ddwg y ddaear i ni fel iddo yntau: ac i'r pridd yr ydym ni yn dychwelyd fel yntau. Gan hyny, er mai dan y rhagenw unigol "*ti*" y mae Duw yn dywedyd y pethau hyn wrth Adda, eto y mae ei hiliogaeth yn cyfranogi o'r pethau yn gystal ag ef ei hun; a chan ein bod yn gweled eu bod yn cyfranogi o'r gospedigaeth, rhaid i ni benderfynu eu bod yn cyfranogi o'r bai; neu roddi yn siars ein Gwneuthurwr yr hyn y mae ei enaid yn gasâu. "Y neb a gyfiawnhao y drygionus, ac a gondemnio y gwirion, ffiaidd gan yr Arglwydd ydynt ill dau," Diar. xvii. 15. Felly yr oedd yr Arglwydd yn delio âg Adda yn y cyfammod gweithredoedd, nid fel person unigol, ond fel cynrychiolwr ei holl hiliogaeth.

*Gwran.* Onid yw dynion yn pechu digon yn eu personau eu hunain, i dynu yr holl ddrygau yna am eu penau? Yr wyf yn synu fod yn rhaid i fy nghyfaill fyned cyn belled a phechod Adda i chwilio am achos o'r llafur a'r gofidiau ag y mae dynion ynddynt, a digon o bechodau, cyn waethed a'r pechod hwnw, yn cael eu cyflawni bob dydd ganddynt hwy eu hunain!

*Preg.* Digon gwir fod dynion yn pechu bob dydd

ddigon i dynu melldith arnynt eu hunain. Ond y mae y beibl fyth ar eich ffordd i ddywedyd mai'r pechodau hyn yw yr achos o'r llafur a'r blinder y mae dynion ynddynt am eu bara beunyddiol; ac o fod y ddaear yn dwyn drain a mieri, yn lle llysiau cymhwys, &c.

*Gwran.* Pa bennod? Pa adnod?

*Preg.* Gen. iii. 17—19: "Am wrando o honot ar lais dy wraig, a bwyta o'r pren am yr hwn y gorchymynaswn i ti, gan ddywedyd, Na fwyta o hono; melldigedig fydd y ddaear *o'th achos di:* trwy lafur y bwytâi o honi holl ddyddiau dy einioes. Drain hefyd ac ysgall a ddwg hi i ti; a llysiau y maes a fwytâi di. Trwy chwys dy wyneb y bwytâi fara, hyd pan ddychwelech i'r ddaear; oblegid o honi y'th gymerwyd; canys pridd wyt ti, ac i'r pridd y dychweli." Y mae y llafur blin yma a roddes Duw ar feibion dynion i ymguro ynddo, i'w weled ar bawb yn mhob gwlad ac oes; a dyma yr am, neu yr achos o hono, yn cael ei ddangos, mewn geiriau eglur, gan Dduw ei hun: "Am wrando o honot ar lais dy wraig, a bwyta o'r pren," &c.

*Gwran.* Nid wyf yn deall fod y beibl yn son dim am gyfrifiad pechod Adda i'w hiliogaeth.

*Preg.* Chwi a addefwch fod y beibl yn dangos llawer o bethau a'r na thrinir dan yr enwau sydd genym ni arnynt, megys y ddeddf foesol, y ddeddf seremonïol, &c. Felly, er nad yw yr ymadrodd *cyfrifiad pechod Adda i'w hiliogaeth* yn cael ei arfer, eto y mae yn ddigon i'n pwrpas ni, os ydyw y peth yn cael ei ddangos, dan ba enw bynag, neu â pha ymadrodd bynag.

*Gwran.* Pa adnod sydd yn dangos, ynte, yn uniongyrchol, fod pechod Adda yn cael ei gyfrif i'w hiliogaeth?

*Preg.* Rhuf. v. 12: "Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod; ac felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a phechu o bawb." Dywed y beirniaid y gellid cyfieithu diwedd yr adnod "*yn yr hwn y pechodd* pawb." Ac os pechodd pawb yn Adda, y mae yn rhaid fod pechod Adda yn bechod i bawb.

*Gwran.* Efallai na waeth i ni gymeryd y cyfieithiad cyffredin o'r geiriau, sef mai "felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, *yn gymaint a phechu* o bawb."

*Preg.* Purion. Y maent mor benderfynol ar y mater y naill ffordd a'r llall. Yn ol y cyfieithiad cyffredin, y rheswm am fynediad marwolaeth ar bob dyn yw, "yn

gymaint a phechu o bawb." Ni raid i mi ddywedyd wrthych fod miloedd o ddynolryw yn meirw heb bechu dim yn eu personau eu hunain, sef babanod: a chan mai pechod yw yr achos o farwolaeth yn mhawb, a bod babanod yn meirw, y mae yn rhaid fod babanod, mewn rhyw ystyr, wedi pechu; a gofynaf, yn mha ystyr y gall babanod fod wedi pechu, heblaw yn eu pen-cyfammodwr Adda? Neu pa bechod a all fod yn cael ei gyfrif iddynt hwy, os nad pechod cyntaf Adda?

*Gwran.* Dyna ryw air anystwyth iawn eto, "Pen-cyfammodwr." Pa beth, attolwg, ydych yn ei feddwl wrth y fath air?

*Preg.* Yr wyf yn meddwl yr hyn a olygai MILTWN FARDD, pan yn tybied y Tad yn cyfarch y Mab yn y geiriau canlynol:

> ---------------------- Yn lle Addaf bydd
> Yn ben dynolion, i Addaf er yn fab.
> Mal ynddo ef y trengant ddynion oll,
> Efelly, mal ail wreiddyn, ynot ti
> Adferir y cynifer ag a fydd
> Adferawl; hebot neb. Ei fai a wna
> Yn euawg ei holl feibion.--COLL GWYNFA.

Wrth alw Adda yn ben-cyfammodwr y meddyliaf yr un peth ag oedd yr apostol hefyd yn ei feddwl wrth alw Adda "y dyn cyntaf," a Christ "yr ail ddyn, a'r Adda diweddaf." Ni allai neb ond Cain fod yn ail ddyn o Adda mewn ystyr naturiol. Ond Crist yw yr ail ddyn i fod mewn sefyllfa gyffelyb i Adda, sef yn Ben-cyfammodwr i gynrychioli ereill mewn cyfammod am fywyd. Yn yr ystyr yma, y mae Adda a Christ yn ddau ddyn na bu erioed, ac na bydd byth, eu cyffelyb. Megys yr oedd ei holl hâd naturiol yn cael eu cynrychioli yn Adda, fel eu pen-cyfammodwr, pan yn anufyddhau; felly yr oedd ei holl hâd ysbrydol (sef yr holl rai a gedwir) yn cael eu cynrychioli yn Nghrist, fel eu pen-cyfammodwr hwythau, pan yn ufyddhau. "Felly, gan hyny, megys trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad; felly hefyd trwy gyfiawnder un y daeth dawn ar bob dyn i gyfiawnhad bywyd. Oblegid megys trwy anufydd-dod un dyn y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid; felly trwy ufydd-dod un y gwneir llawer yn gyfiawn," Rhuf. v. 18, 19. Felly nid oedd anufydd-dod y naill, nac ufydd-dod y llall, yn dybenu ynddo ef ei hun, ond yr oedd i gael ei gyfrif i'r holl bersonau a gynrychiolid ganddo.

*Gwran.* Ond, ystyriwch chwi, y mae pechod yn myned am gospedigaeth yn fynych yn y beibl. A phan ddywedir mai trwy "anufydd-dod un y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid," dichon nad yw yr apostol yn golygu fod pechod Adda yn cael ei gyfrif i ni, ond ein bod ni wedi myned yn agored i'r gospedigaeth a ganlynodd ei drosedd ef.

*Preg.* Yn ol yr esboniad yna ar y gair pechod yn y bennod tan sylw, y mae ymresymiad yr apostol yn adn. 12, yn rhedeg fel hyn: Felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a bod pawb wedi myned yn agored i gosp. Neu, felly y mae pawb wedi myned yn agored i gosp, yn gymaint a bod pawb wedi myned yn agored i gosp. Mewn difrif, a fuasai y fath ymresymiad yn deilwng o ddysgybl Gamaliel? heb son am apostol Iesu Grist. Nid wyf yn gwadu fod y gair pechod yn cael ei arfer weithiau yn y beibl am gospedigaeth; ond byddai cysylltu y fath feddwl â'r gair, yn yr adnodau dan sylw, yn gwneyd ymresymiad yr apostol yn un pentwr o eiriau heb ddim synwyr iddynt. Gwel *Hervey's Theron and Apasio*, Dial. V.

*Gwran.* Mewn difrif eto, a ydych yn meddwl fod pechod yn cael ei gyfrif, ac o ganlyniad fod cospedigaeth dragwyddol yn rhwym, i'r babanod gwirion sydd yn myned o'r byd heb gyflawni cymaint ag un pechod?

*Preg.* Nid yw yn perthyn yn uniongyrchol i'r pwynt i mi fyned i ddwyn yn mlaen fy rhesymau tros achubiaeth y rhai sydd yn meirw yn eu babandod. Ond anturiaf ddweyd na ddatguddiodd Duw un ffordd i gadw dynion, hen nac ieuainc, ond trwy faddeuant; ac y mae maddeuant bob amser yn rhag-dybied trosedd. Gan hyny, pan y mae babanod yn cael eu cadw, y maent yn cael hyny trwy faddeuant; ac os felly, rhaid fod y maddeuant hwnw yn eu cael yn droseddwyr; a'r unig drosedd y gallant fod yn euog o hono yw pechod Adda. Hefyd, pan ydych yn gweled y baban yn marw, sef yn derbyn rhan o gyflog pechod, rhaid i chwi benderfynu y cyfrifir pechod iddo, neu fod rhagluniaeth yn ymddwyn yn annghyfiawn tuag ato.

Yn gytunol â'r golygiad hwn y mae adn. 14, o'r bennod a enwais. "Eithr teyrnasodd marwolaeth o Adda hyd Moses, ïe, arnynt hwy, y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda."

*Gwran.* Y mae'n wir y byddai'r hen bobl yn dyweyd

fod y geiriau yna yn cyfeirio at fabanod, ond yr ydys yn awr yn gweled yn mhellach, sef nad babanod y mae yr apostol yn ei feddwl wrth "y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda," ond y rhai heb bechu yn erbyn un ddeddf gyhoeddedig, neu orchymyn pendant, fel y gwnaeth Adda; ac felly yr oedd holl ddynolryw o Adda hyd Moses.

*Preg.* Po fwyaf a feddyliwyf am y geiriau, cadarnaf yn y byd yw fy meddwl o blaid esboniad yr hen bobl arnynt. "Ni welaf," medd y *President Edwards*, wrth sylwi ar yr adnod hon, yn ei draethawd rhagorol ar bechod gwreiddiol, "Ni welaf un rheswm i fod yn anfoddlon i'r esboniad cyffredin ar y geiriau, sef mai babanod a feddylir wrth 'y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda,' y rhai, er yn wir eu bod wedi pechu yn Adda, eto ni phechasant erioed fel y gwnaeth Adda, trwy droseddu yn weithredol yn eu personau eu hunain; oddieithr fod yr esboniad hwn yn rhy hen a chyffredin." Cymerai ormod o amser yn bresenol i mi fyned i ddarllen holl sylwadau y *President* ar y geiriau; ond os cymerwch chwi y drafferth i wneyd hyny, yr wyf yn meddwl y cewch eich argyhoeddi, mai yr hen esboniad yw y goreu. Rhoddaf fenthyg y llyfr i chwi os gwnewch, 1af, Ei ddarllen; 2il, Ei gadw yn lân; ac yn 3ydd, Ei ddychwelyd o hyn i ben tair wythnos.

*Gwran.* Diolch yn fawr i chwi. Ond pe dygwyddwn ei gadw am fis gallai na fyddech yn anfoddlon iawn; canys nid llawer o amser darllen sydd genyf; ac y mae y gŵr hwnw yn ysgrifenu mor athronyddol, fel nad wrth ryw redeg o ddarllen y gellir deall ei feddwl.

*Preg.* Purion. Ond gadewch i mi ddarllen alleiriad y *President* o'r adnod sydd dan ein sylw.

"Ond fod pechod yn cael ei gyfrif y pryd hwnw, a bod dynion yn cael eu hystyried gan eu Barnwr yn bechaduriaid, trwy euogrwydd a llygredigaeth tarddedig oddiwrth Adda, ac yn gondemniedig am bechod, i farwolaeth, yr hyn yw priodol gospedigaeth pechod, y mae genym brawf eglur; oblegid y mae yn amlwg fod holl ddynolryw, yn ystod yr holl amser cyn deddf Moses, yn ddarostyngedig i'r farwolaeth dymhorol hòno ag sydd yn arweiniad gweledig i mewn i, ac yn ddelw o'r dinystr llwyr ag y mae pechod yn ei haeddu; ïe, heb adael y babanod allan, y rhai na allent fod yn bechaduriaid mewn un ffordd arall

ond trwy rinwedd trosedd Adda, oblegid na phechasant erioed yn weithredol, yn eu personau eu hunain, fel y gwnaeth Adda; ac nas gallent y pryd hyny gael eu halogi trwy ddeddf Moses, fel rhai dienwaededig, neu rai wedi eu geni o rieni dienwaededig."

Ond gadewch i ni adael pob alleiriad heibio, ac edrych ar y geiriau fel y maent yn ein beiblau ni. Y mae yr ymadrodd, "Arnynt hwy *y rhai* ni phechasant," &c., yn dangos yn eglur, dybygwn i, fod yr apostol yn golygu rhyw *rai*, ac nid *pawb*, o ddynolryw o Adda hyd Moses: ond yr oedd pawb y pryd hwnw heb bechu yn erbyn yr un ddeddf gyhoeddedig, neu orchymyn pendant: ac felly, yn y golygiad hwnw, yr oedd pawb heb "bechu yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda." Yn awr, gofynaf, Pa synwyr a fuasai i'r apostol son am *rai* yn dal y cymeriad hwnw, pan yr oedd yn amlwg fod *pawb* yn dal yr un cymeriad? Ond golygwch mai rhai heb bechu yn weithredol, yn eu personau eu hunain, y mae yr apostol yn ei feddwl, a chwi a gewch y synwyr yn eglur, oblegid y mae babanod, a neb ond babanod, yn y golygiad hwn, heb bechu yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda.

Yn wir, nid wyf yn cofio am ddim ond dau olygiad, yn mha rai y mae y beibl yn dyweyd fod dynion yn gyffelyb i Adda; sef fel y maent yn cael eu geni ar ei ddelw; ac hefyd fel y maent yn pechu yn eu personau eu hunain, trwy dori cyfammod neu ddeddf Duw. Y mae pawb fel Adda yn y golygiad cyntaf, ond nid yw babanod yn gyffelyb iddo yn y golygiad olaf; y maent hwy yn cael eu bôd ar ddelw Adda, ond nid ydynt yn pechu yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda.

*Gwran*. Y mae marwolaeth wedi teyrnasu ar fabanod o Moses hyd heddyw, yn gystal ag o Adda hyd Moses. Yn awr, os babanod a feddylir wrth "y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda," paham y sonir am yr amser "o Adda hyd Moses," mwy na rhyw amser arall?

*Preg*. Gellir dywedyd yr un modd, fod marwolaeth wedi teyrnasu o Moses hyd heddyw ar y rhai ni phechasant yn erbyn deddf gyhoeddedig neu orchymyn pendant, yn gystal ag ar fabanod, sef ar y paganiaid, y rhai ni chawsant ddeddf gyhoeddedig na gorchymyn pendant gan eu Creawdwr, i allu pechu yn ei erbyn. Felly nid yw eich golygiad chwi ar "y rhai ni phechasant yn ol cyffelyb-

iaeth camwedd Adda," yn rhoddi dim gwell mantais i ateb y cwestiwn yna, na'r eiddof finau. Yr wyf yn dywedyd cymaint a hyna, nid i daflu'r peth i ffwrdd, ond i ddangos nad ydyw yr anhawsdra (os oes anhawsdra) i ateb eich gofyniad, yn cymylu dim ar yr hen esboniad mwy nag ar y newydd. Bellach at y cwestiwn.

Gwedi i'r apostol osod i lawr, yn adn. 12, mai trwy un dyn y daeth pechod a marwolaeth i'r byd, a bod pawb wedi pechu yn mhechod yr un dyn hwnw, sef yw hyny, fod pawb yn bechaduriaid yn Adda; y mae yn yr adnod dan sylw, y'nghyda'r adnod flaenorol, dybygid, yn profi'r peth drwy ddangos fod dynion yn droseddwyr, nid yn unig o gyfraith Sinai, ond hefyd o ddeddf Eden, oblegid fod marwolaeth wedi teyrnasu o "Adda hyd Moses," yn gystal ag wedi Moses. Ac er y gellid dadlu fod troseddu deddf eu natur yn ddigon i ddwyn marwolaeth ar bobl mewn oedran, ac y gallai y cyfryw fod yn gyffelyb i Adda yn eu cospedigaeth, am eu bod yn gyffelyb iddo yn eu gwaith yn pechu; eto gan fod marwolaeth wedi teyrnasu ar fyrddiynau o fabanod, "y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda," hyny yw, yn eu personau eu hunain, y mae'n rhaid fod y pechod ag y bygythiasid marwolaeth yn gosp am dano, sef pechod Adda, yn cael ei gyfrif iddynt hwy. Ac os ydyw y babanod dan gyfrifiad o bechod Adda, y mae yn rhaid fod pawb felly wrth naturiaeth, canys y mae pawb, ond Adda, yn fabanod cyn bod yn ddim arall.

Efallai hefyd fod yn yr ymadrodd, "O Adda hyd Moses," gyfeiriad at y cospedigaethau trymion a dywalltwyd ar ddynion yn yr yspaid hwnw o amser; yn enwedig y diluw a foddodd yr hen fyd, a'r brwmstan a'r tân a losgodd Sodoma a Gomorra, yn mha rai y teyrnasodd marwolaeth ar ryw fyrddiynau o ddynolryw ar unwaith, ac yn eu plith filoedd o fabanod.

Y mae gwaith Abraham yn eiriol, a'r Arglwydd yn ei ateb, yn achos Sodoma, yn eglurhad penderfynol ar y mater yr ydym yn ymddyddan yn ei gylch, sef fod babanod yn cael eu cyfrif yn bechaduriaid. "Abraham hefyd a nesaodd ac a ddywedodd, A ddyfethi di y cyfiawn hefyd y'nghyda'r annuwiol? Ond odid y mae deg a deugain o rai cyfiawn yn y ddinas; a ddyfethi di hwynt hefyd, ac ni arbedi y lle er mwyn y deg a deugain cyfiawn sydd o'i mewn hi? Na byddo i ti wneuthur y cyfryw beth, gan

ladd y cyfiawn gyda'r annuwiol, fel y byddo y cyfiawn megys yr annuwiol: na byddo hyny i ti. Oni wna barnydd yr holl ddaear farn? A dywedodd yr Arglwydd, Os caf fi yn Sodoma ddeg a deugain yn gyfiawn o fewn y ddinas, mi a arbedaf yr holl fangre er eu mwyn hwynt." Yn awr, sylwch, pe buasai yr holl fabanod yn gyfiawn, y mae yn ddiddadl y buasai llawer deg a deugain o rai cyfiawn yn Sodoma, ac felly buasai yr holl fangre yn cael ei harbed er eu mwyn; ond gan mai dinystrio Sodoma a Gomorra a wnaed, y mae yn amlwg fod Barnydd yr holl ddaear yn cyfrif babanod fel ereill yn bechaduriaid.

*Gwran.* Nid rhaid myned cyn belled a phechod Adda i chwilio am yr achos o ddinystr Sodoma. Yr oedd pechodau y Sodomiaid eu hunain yn ddigon i dynu dinystr arnynt hwy a'u babanod.

*Preg.* O'r goreu. Dyna roddi i fyny y prif gwestiwn ar unwaith, sef fod pechodau y naill ddyn, mewn rhyw amgylchiadau, yn cael eu cyfrif i ddyn arall, er ei rwymo i gosp. Y gwahaniaeth rhyngom bellach, mi feddyliwn, yw, eich bod chwi yn barnu mai pechodau y Sodomiaid eu hunain oedd unig achos eu dinystr hwy a'u babanod, a minau yn tybied fod pechod Adda yn achos o'r cwbl. Yn wir, yr wyf yn meddwl ein bod yn bur agos at ein gilydd ar y pen hwn, canys yr wyf fi yn golygu, fel chwithau, mai eu pechodau eu hunain oedd yr achos uniongyrchol o farwolaeth y rhieni a'r babanod; ond ai nid pechod Adda yw yr achos o fod dynion yn cael eu goddef i syrthio i bechodau ag sydd yn tynu dinystr arnynt hwy a'u plant?

*Gwran.* Nid wyf yn dywedyd, nac yn meddwl, mai pechodau y rhieni oedd yr *unig* achos o ddinystr babanod Sodoma. Yr oedd y fath hâd llygredig yn eu natur hwy eu hunain, fel, yn ol pob tebygolrwydd, pe cawsent eu harbed, y buasent cyn waethed a'u rhieni.

*Preg.* Ond paham, attolwg, y cawsant eu bôd yn ngafael y fath lygredigaeth?

*Gwran.* Peidiwch chwi â gwasgu ar fy ngwynt i fel yna hefyd. Prin y goddefech i mi ofyn paham, na pha fodd, am ddim: ond yn awr dyma chwi eich hunan yn dyfod i'r un peth.

*Preg. Begio'ch pardwn*, fy nghyfaill. Y peth yr oeddwn yn ei feio oedd, nid fod dyn yn defnyddio ei reswm i chwilio i mewn i bethau, ond bod dyn yn gadael pob peth

heb ei benderfynu nes iddo ef allael amgyffred yr holl *am* a'r *modd* yn mherthynas iddo. Yr wyf yn dyweyd eto, mai y peth cyntaf sydd genym i'w wneyd â phob pwnc mewn duwinyddiaeth, yw chwilio a ydyw yn ysgrythyrol; os ceir ei fod, y peth nesaf yw ei gredu; a'r trydydd peth a ddylem ei wneyd yw defnyddio pob moddion cyfreithlawn i gael allan y rheswm am y peth. Ie, pan y mae y beibl yn dangos rheswm am unrhyw beth, y mae yn bechod i ninau fod yn ddifater am ei wybod.

*Gwran.* Wel, a ydyw y beibl yn dangos yr achos paham y mae pob dyn yn dyfod i'r byd yn llygredig?

*Preg.* Ydyw, a hyny mewn geiriau eglur. Yn adn. 19 o'r bennod a enwais o'r blaen, y darllenwn ni mai "trwy anufydd-dod un y gwnaethpwyd llawer yn bechaduriaid." Dylynwch holl ddrygau, holl bechodau, y'nghyda llygredigaeth y natur ddynol i'r achosion uniongyrchol o honynt, a dylynwch yr achosion hyny drachefn i'r achosion o honynt hwythau, &c., a chewch weled fod y cwbl yn tyfu ar yr un gwreiddyn mawr, sef, "camwedd un." Y mae pechodau y rhieni, halogrwydd natur y babanod, y'nghyd â'r holl ddrygau sydd yn dylyn, yn cyfarfod yn yr un peth fel yr achos gwreiddiol o honynt, sef, "anufydd-dod un dyn."

Ond y mae genyf un sylw eto i'w wneyd cyn gadael y gair, "Teyrnasodd marwolaeth, ïe, arnynt hwy," &c. Y mae hòniad yr apostol o'r peth yn y geiriau, "ïe, *arnynt hwy*," yn dangos, allan o bob dadl, ei fod yn golygu rhyw rai a ddylasent, yn ol golygiadau dynol, fod yn rhydd oddiwrth lywodraeth marwolaeth. Ond pan ddarllenom hanes boddi y cawri annuwiol, a llosgi y Sodomiaid aflan, nid ydys yn rhyfeddu iddynt gyfarfod â'r farn, nac yn meddwl y dylasent ddianc yn ddigosp. Eithr pan edrychom ar y baban truan yn cael ei ddirdynu gan angeu, onid yw yn naturiol i'r cwestiwn, "Pwy a bechodd?" godi yn ein meddyliau? Oblegid dyma farwolaeth yn teyrnasu, "ïe, *arnynt hwy*," na wnaethant un pechod yn eu personau eu hunain: "ïe, *arnynt hwy*," na ddywedasant, ac na feddyliasant yn bechadurus. "Ie, *arnynt hwy!*" Y mae marwolaeth babanod wedi dyrysu holl wadwyr pechod gwreiddiol, yn eu hymresymiadau, o ddyddiau Morgan, yr heretic, hyd y dydd hwn. Rhai yn haeru mai dyled natur, ac nad cosp am bechod, yw angeu naturiol: ond y mae hyny yn wrthddywediad noeth i'r beibl. Dywed

ereill y gwneir iawn *(amends)* i'r babanod, mewn byd arall, am eu poenau yn y byd hwn. Ond y mae hyn cystal a hòni fod y Bôd Mawr yn gwneyd cam â hwynt. Caniatewch yn unig mai "cyflog pechod yw marwolaeth," a bydd yn anmhosibl byth rhoddi un rheswm têg am farwolaeth babanod, heb addef cyfrifiad o bechod Adda i'w holl hiliogaeth.

Ond pe caniateid mai rhai heb droseddu un gyfraith gyhoeddedig, neu orchymyn pendant, yw "y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda," pa beth well a fyddech?

*Gwran.* Gallwn osgoi yr hen opiniwn o fod pechod un yn cael ei gyfrif i lawer; oblegid yr oedd gan bobl mewn oed, cyn yn gystal ag wedi cyhoeddiad y ddeddf, ddigon o bechodau i farw o'u plegid, heb iddynt fod tan gyfrifiad o bechod Adda.

*Preg.* O ran y pwynt mewn dadl y mae pob un o'r ddau esboniad yn ein dwyn i'r un penderfyniad. Oblegid os ydyw marwolaeth dynion yn profi fod pechod yn cael ei gyfrif i rai, paham nad ydyw yn profi ei fod yn cael ei gyfrif i bawb? Os oedd marwolaeth rhai mewn oedran yn profi eu bod hwy yn bechaduriaid, oni raid fod marwolaeth babanod yn profi eu bod hwythau yn bechaduriaid? Os nad yw eu marwolaeth yn profi fod pechod yn cael ei gyfrif i fabanod, pa fodd y gall marwolaeth neb brofi fod pechod yn cael ei gyfrif iddynt? Ac os yw babanod yn meirw, a hwythau heb fod yn bechaduriaid, paham na allai rhai mewn oedran feirw heb fod yn bechaduriaid? O ran y gwirionedd, yn wir, yr wyf yn dewis yr hen esboniad Calfinistaidd ar y geiriau; ond o ran y mater yr ydym yn ymddyddan yn ei gylch, yr wyf yn berffaith foddlawn i chwi gymeryd eich dewis; oblegid yn ol y naill esboniad a'r llall, y mae yn rhaid fod pechod Adda yn cael ei gyfrif i'w holl hiliogaeth.

---

## YMDDYDDAN VI.

### RHAN I.

#### PECHOD GWREIDDIOL.

*Gwrandawr.* Dyma y llyfr. Diolch i chwi am ei fenthyg.

*Pregethwr.* Pe bai pawb a fenthycai lyfr mor ofalus

i'w gadw yn lân, ac i'w ddychwelyd ar yr amser penodol, ag ydych chwi, ni byddai fawr o beth gan ddyn roddi benthyg, yn awr a phryd arall. Ond oblegid y diffyg o hyny y mae llawer o'm llyfrau i wedi myned nas gwn i ba le, ac ereill wedi eu diwyno a'u dryllio, fel, ar eu dychweliad, prin yr oeddwn yn eu hadnabod. Ond beth meddwch chwi am y gwaith? sef *Edwards ar Bechod Gwreiddiol.*

*Gwran.* Meddyliwn fod yr awdwr yn ystyried fod dyn yn greadur *rhesymawl.* Oblegid rhaid i'r meddwl a fedro gynwys a dosparthu ei frawddegau hirion, a dylyn ei ymresymiadau manwl a dysgedig, heb eu darllen fwy nag unwaith, fod yn berchen ar ddeall annghyffredin o gryf. Ai tybied yr ydych chwi na buasai dull mwy cyffredin o eirio *yn tueddbenu mwy at lesoli y dynol deulu?*

*Preg.* Yr oeddwn inau yn meddwl rhyw beth yn debyg i hyny wrth ei ddarllen. Ond wrth ystyried fod y *President* yn athronydd mor gyfarwydd ei hunan, ei fod yn ysgrifenu yn erbyn gwŷr dysgedig o ddoctoriaid ac esgobion, ac yn enwedig ei fod yn ymwneyd â gwrthddadleuon a dybid yn philosophyddaidd, nid oeddwn yn rhyfeddu cymaint fod ei iaith mor uchel.

*Gwran.* Cyn belled ag yr oedd fy meddwl i yn gallael dosparthu ei bethau, yr oeddwn yn tybied ei fod yn ymresymu yn dêg, ac yn meistroli y gwrthddadleuon a gymerai mewn llaw. Ond fy mhenderfyniad presenol ydyw, mynu y llyfr yn eiddo i mi fy hun, a deall ei bethau, pe costiai i mi ei ddarllen hanner dwsin o weithiau.

Ond gan nad yw pechod gwreiddiol yn air ysgrythyrol, pe gwyddwn na chyfrifech fi yn ormeswr am gymeryd eich hamser, gofynwn, O ba le y daeth y gair, a pha beth yw ei ystyr?

*Preg.* Cyfrif fy nghyfaill yn ormeswr! Yn mhell y byddwyf oddiwrth y fath beth. Yn wir, y mae cael ymddyddan â ffrynd am hanner awr, yn llawer o adnewyddiad i fy meddwl i, os nad yn lles i'm hiechyd hefyd.

Yr wyf yn meddwl mai y cyntaf a arferodd y gair pechod gwreiddiol oedd Awstin o Hippo, wrth ddadlu yn erbyn Morgan yr heretic. Cyn hyny yr oedd y peth yn cael ei alw *drwg naturiol*, ac weithiau *drwg treftadol;* ac am fod y Marcioniaid a'r Manicheaid yn cymeryd mantais oddiwrth yr enwau yna i bleidio yr hen gyfeiliornad paganaidd o fod dwy egwyddor dragwyddol, un yn berffaith

dda, a'r llall yn hollol ddrwg, a bod pob peth yn tarddu yn angenrheidiol o'r egwyddorion hyny; dewisodd Awstin, ac ereill ar ei ol, alw y peth yn *bechod gwreiddiol.*

*Gwran.* Purion. Dyna ddigon am ddyfodiad y gair i arferiad. Ond mi feddyliwn nad yn yr un ystyr y mae pawb yn ei gymeryd. Beth meddwch chwi?

*Preg.* Mi feddyliwn mai yr anian bechadurus sydd yn mhob dyn wrth naturiaeth, sef yr hyn a eilw y beibl, "Y cnawd—deddf pechod—yr hen ddyn," &c., oedd Awstin, y'nghyda'r cyffredin o dduwinyddion uniongred, a ysgrifenasant ar y peth, o'i amser ef hyd yn ddiweddar, yn ei feddwl wrth y gair pechod gwreiddiol. Galwent ef felly am ei fod yn wreiddiol yn natur pob dyn fel y mae yn dyfod i'r byd; ac hefyd am ei fod yn wreiddyn ag y mae pob gweithred bechadurus yn tarddu oddiarno. Ond yn awr, wrth son am bechod gwreiddiol, y mae llawer yn golygu nid yn unig yr halogrwydd, ond hefyd yr euogrwydd, yn ngafael â pha un y mae pob dyn yn cael ei fod. Er hyny y mae yn ymddangos fod hyd yn ddiweddar, bawb ag oedd yn dal y naill, yn dal y llall; a phawb ag oedd yn gwadu y naill, yn gwadu y llall hefyd. Ac yn wir y mae y ddau mor agos gysylltiedig â'u gilydd, fel y mae y rhesymau sydd yn profi y naill yn cadarnhau y llall. Nid oes dim mwy anhawsder yn dylyn yr addefiad o'r naill, nag sydd yn dylyn yr addefiad o'r llall; na dim mwy anhawsder yn dylyn addef y ddau, nag sydd yn dylyn gwadu y ddau; ond yn hollol i'r gwrthwyneb. A chan fod yr euogrwydd a'r halogrwydd â'u gafael yn mhob dyn o'r foment gyntaf o'i hanfodiad, ni welaf ddim anmhriodoldeb i gymeryd y ddau i mewn dan yr enw *pechod gwreiddiol.*

*Gwran.* Gadewch i mi eich deall ar y pen hwn cyn myned ddim pellach. Yr ydych yn golygu, dybygwn i, fod yr hen dduwinyddion, er dyddiau Awstin, yn barnu fod dyn yn halogedig yn dyfod i'r byd, ac mai yr halogrwydd hwnw a alwent yn bechod gwreiddiol; ond mai rhai diweddar sydd wedi chwanegu y pwynt o gyfrifiad pechod Adda, a'i gysylltu â'r pwnc o halogrwydd naturiol dyn, dan yr enw *pechod gwreiddiol.*

*Preg.* Y mae yn ddrwg genyf os nad wyf yn gallu dyweyd yn ddigon eglur i chwi fy neall.

Er mai halogrwydd y natur oedd yr hyn a alwai yr hen dduwinyddion yn bechod gwreiddiol, eto yr oeddynt yn dal y pwnc o gyfrifiad pechod Adda i'w hiliogaeth, mor

gadarn ag y mae neb yn y dyddiau hyn yn ei ddal. Yr wyf yn meddwl fod yn hawdd profi mai newyddbeth yn mhlith Cristionogion, yw fod rhai yn dal halogrwydd gwreiddiol y natur ddynol, ac yn gwadu cyfrifiad pechod Adda i'w hiliogaeth.

*Gwran.* Byddai yn dda genyf pe baech yn enwi, mewn modd byr ac eglur, y gwahanol olygiadau sydd yn y byd ar bechod gwreiddiol.

*Preg.* 1. Un golygiad yw, ein bod yn euog a halogedig yn dyfod i'r byd. Dyma y golygiad a elwir yn Galfinistaidd: dyma olygiad cyfansoddwyr Erthyglau a Homiliau Eglwys Loegr: dyma olygiad Cymanfaoedd Dort a Westminster: a dyma olygiad y Methodistiaid Calfinaidd, yn ol Erthyglau eu Cyffes Ffydd. 2. Golygiad arall yw, fod pob dyn yn dyfod i'r byd yn lân oddiwrth euogrwydd a halogrwydd pechod, fod cymeriad pob dyn yn cael ei ffurfio yn hollol gan amgylchiadau, ac nad yw pechodau dynion yn cael eu hachosi gan ddim ag sydd yn nglŷn â'u natur yn dyfod i'r byd. Dyma yw golygiad yr Ariaid, y Sociniaid, y Morganiaid, a llawer o Arminiaid, ar y peth. Nid wyf yn deall fod dim ond y ddau olygiad hyn ar y mater yn mhlith Cristionogion hyd yn ddiweddar. 3. Ond y mae llawer, yn y dyddiau hyn, yn addef halogrwydd gwreiddiol y natur ddynol, ond yn gwadu cyfrifiad o bechod Adda i'w hiliogaeth. Dyma farn y rhai a elwir yn Hopkinsaniaid yn America, ac yn Ffwleriaid yn Lloegr a Chymru.

*Gwran.* Yr wyf yn credu fod dyn yn halogedig o'r bru. Yn wir, yr wyf yn meddwl y dylai sylwadau y *President Edwards*, yn nechread ei Draethawd ar Bechod Gwreiddiol, fod yn benderfyniad ar y ddadl o berthynas i halogrwydd y natur ddynol. Ond eto, yn fy myw ni chytunwn i â'r farn Galfinistaidd, sef fod dyn yn cael ei fod dan gondemniad am drosedd a gyflawnwyd filoedd o flynyddoedd cyn ei fod, ac felly o groth ei fam yn rhwym i gosp. Yr wyf o hyd yn methu gweled pa fodd y cydsaif y fath beth â daioni ac uniondeb anfeidrol y Creawdwr.

*Preg.* Yr wyf yn ystyried yr hyn a ddywedais wrth ymddyddan â chwi y tro diweddaf yn ddigon i brofi y peth i bob meddwl diduedd.† Yn awr, os yw y peth yn

† Gwel Ymddyddan v.

bod, rhaid ei fod yn berffaith gyson â daioni ac uniondeb Duw, er fe allai na allwn ni amgyffred pa fodd.

Ond cyn taflu y golygiad Calfinistaidd heibio oblegid yr anhawsdra a enwasoch, dymunaf arnoch ystyried ai nid ydyw y Morganiaid a'r Ffwleriaid yn cyfarfod â'r un fath anhawsdra? Dywed y Calfinist wrthyf, fy mod wedi dyfod i'r byd yn euog, hyny yw, yn rhwym i gosp dragwyddol. Ond dyma y Ffwleriad yn ceisio fy nghysuro gan ddywedyd mai camgymeryd yr oedd y Calfinist, nad oeddwn i ddim yn euog yn dyfod i'r byd; ond fy mod mor llygredig fel nad oedd bosibl i mi beidio â bod yn euog mewn byr iawn o amser. Cysur gwan iawn yn wir! Cais Morgan drachefn fy nghysuro, gan ddywedyd, fod y ddau gyntaf wedi camgymeryd yn ddirfawr; nad oeddwn i nac euog na llygredig pan y'm ganwyd, eithr fy mod y pryd hyny megys papyr gwŷn; ond fod fy Nghreawdwr daionus wedi fy rhoddi mewn lle mor llawn o demtasiynau a maglau, fel yn wir nad oedd obaith i mi ddianc heb ddyfod yn fuan i afael llygredigaeth ac euogrwydd. Onid priodol fyddai dywedyd wrth y ddau, "Cysurwyr gofidus ydych chwi oll?" Dywed y Calfinist, Y mae eich clefyd yr un oed a chwithau. Nac ydyw, medd y Ffwleriad, ond y mae hadau y clefyd yn eich cyfansoddiad, fel yr oedd yn rhaid i'r clefyd ei hun ymaflyd ynoch pan yn ieuanc iawn. *Nonsense* i gyd, medd Morgan, yr ydych wedi eich geni mewn perffaith iechyd, a chyfansoddiad glân oddiwrth bob hadau drwg; ond y mae yn wir eich bod wedi eich rhoddi yn y fath le heintus, nad oes neb a ddel iddo yn dianc heb gael yr haint yn fuan iawn. Ow, ow, meddaf finau, os yw fy nghlefyd i farwolaeth, ba waeth pa un ai ei fod yr un oed a minau, neu ei fod yn tarddu o ryw ddiffyg yn fy nghyfansoddiad; neu, ynte, fy mod wedi ei gael trwy heintusrwydd y lle y'm gosodwyd ynddo? Nid yw ddim haws i mi weled daioni fy Nghreawdwr yn y ddau olygiad olaf nag yn y cyntaf. Felly chwi a ellwch weled nad ydyw yr anhawsdra ddim llai ar ffordd Morganiaid a Ffwleriaid nag ydyw ar ffordd y Calfinistiaid.

Nid fy nyben, wrth ymresymu fel yna, oedd profi dim o blaid y farn Galfinistaidd am bechod gwreiddiol, ond yn hytrach i ddangos fod y golygiadau Morganaidd a Ffwleraidd yn hollol mor agored i'ch gwrthddadl chwi ag ydyw y golygiad Calfinistaidd. Er prawf o wirionedd yr

athrawiaeth, ystyriwch y pethau a ddywedais yn ein hymddyddan diweddaf.

---

**RHAN II.**

SAIL Y CYFRIFIAD, &c.

*Gwran.* Wel, y mae yn ymddangos, yn ol eich golygiadau chwi, fod pechod Adda yn eiddo i'w holl hiliogaeth, oblegid y cyfrifiad. Neu, mai gwaith Duw yn cyfrif pechod Adda i ni, sydd yn gwneyd y peth yn eiddom ni.

*Preg.* Dyna hi yn union o chwith eto. Nid y cyfrifiad yw yr achos o fod pechod Adda yn eiddom ni; ond oblegid ei fod yn eiddom ni mor wirioneddol a phe buasem ni wedi ei gyflawni yn ein personau ein hunain, am hyny y mae yn cael ei gyfrif i ni gan Dduw. Rhoddi annghyfiawnder yn erbyn Duw fyddai dywedyd ei fod yn cyfrif pechod lle nid yw.

*Gwran.* Yn enw pob synwyr a rheswm, gan nad oeddym ni yn ein personau ein hunain yn cyflawni y pechod hwnw, os nad y cyfrifiad sydd yn ein gwneyd yn euog, pa beth sydd?

*Preg.* Yr undeb sydd rhyngom ni ac Adda, yn ol cyfansoddiad y cyfammod gweithredoedd.

*Gwran.* Wel, onid y Creawdwr a gyfansoddodd yr undeb hwnw? Ac os felly, onid yw dywedyd mai yr undeb hwnw sydd yn ein gwneyd ni yn euog, neu yn gyfranogion o bechod Adda, yn ei wneyd Ef yn awdwr o'n heuogrwydd ni, neu, mewn gair arall, yn awdwr pechod?

*Preg.* Pa beth, attolwg, sydd yn cyfansoddi, neu yn gwneyd, holl ddynolryw yn llygredig?

*Gwran.* Y mae rhai yn dywedyd mai ein perthynas â'n rhieni naturiol, ac ereill mai amgylchiadau yn unig sydd yn ffurfio nodweddiad moesol dyn. Ac yn wir, yr oeddwn yn tybied y naill a'r llall yn llawer mwy rhesymol na'r rhai sydd yn dywedyd ein bod yn derbyn y peth yn uniongyrchol trwy ein perthynas âg Adda.

*Preg.* Ond pwy yw cyfansoddwr ein perthynas naturiol â'n rhieni? A phwy sydd yn trefnu lleoedd ein preswylfod a'n hamgylchiadau?

*Gwran.* Ein Creawdwr, bid siwr?

*Preg.* Yrŵan, deliwch sylw. Yr wyf yn meddwl fod yn anmhosibl dylyn eich ymresymiad a'ch golygiad chwi, heb ei wneyd ef yn awdwr pechod. Os nad wyf yn camgymer-

yd, y mae'ch ymresymiad yn dyfod i ryw beth tebyg i hyn.

Pwy bynag a ddywedo fod peth a gyfansoddodd y Creawdwr yn gwneyd dyn yn euog, y mae yn gwneyd y Creawdwr yn awdwr o'r euogrwydd hwnw.

Ond y mae fy nghyfaill yn dyweyd fod peth a gyfansoddodd ein Creawdwr (sef yr undeb cyfammodol rhyngom ni ac Adda) yn ein gwneyd ni yn euog.

Gan hyny, y mae fy nghyfaill yn ei wneyd Ef yn awdwr o'n heuogrwydd ni.

*Gwran.* Yn union fel yna yr oeddwn i yn meddwl.

*Preg.* Wel, beth fyddai i ni gymhwyso yr un dull o ymresymu at eich golygiad chwi ar lygredigaeth y natur ddynol? Fel hyn,

Pwy bynag a ddywedo fod peth a gyfansoddodd y Creawdwr yn gwneyd dyn yn llygredig, y mae yn gwneyd y Creawdwr yn awdwr o'r llygredigaeth hwnw.

Ond y mae fy nghyfaill yn dyweyd mai peth a gyfansoddodd ein Creawdwr, (sef ein perthynas naturiol â'n rhieni, neu yr amgylchiadau yn mha rai yr ydym yn cael ein bod,) sydd yn ein gwneyd yn llygredig.

Gan hyny, y mae fy nghyfaill yn ei wneyd Ef yn awdwr o'n llygredigaeth ni.

*Gwran.* Ni feddyliais i erioed o'r blaen am hyna. Y mae yn ymddangos i mi yrŵan fod Calfinistiaid, Ffwleriaid, a Morganiaid, yn dyfod i'r un dyryswch yn mherthynas i darddiad pechod. I'r dyben i ochel y dyryswch hwn, ai tybied yr ydych chwi, na fyddai yn well dyfeisio rhyw *system* newydd eto.

*Preg.* Ymbwyllwch, fy nghyfaill. Fy mwriad wrth droi yr ymddyddan fel yna oedd, nid amddiffyn y naill olygiad na gwrthwynebu y llall, ond yn unig dangos i chwi fod yn haws gofyn nag ateb cwestiynau; a bod yn beth hollol annhêg mewn dadl, fod un yn codi gwrthddadleuon yn erbyn golygiadau ei wrthwynebwr, pan y mae yn amlwg fod ei olygiadau ef ei hun yn agored i'r un gwrthddadleuon, neu rai o'r un natur.

*Gwran.* Wel, at y mater ynte. Os ydyw y sawl sydd yn dywedyd fod yr Arglwydd yn awdwr o beth ag sydd yn achlysuro i ddyn fod yn euog neu yn llygredig, yn ei wneyd Ef yn awdwr o'r euogrwydd neu y llygredigaeth hwnw; ac os ydym ninau yn dywedyd felly, onid ydym yn ei wneyd ef yn awdwr o'n heuogrwydd a'n llygredigaeth ni?

*Preg.* Yr wyf yn gwadu eich prif-osodiad (*major*). Nid yw fod un yn awdwr o beth ag sydd yn achlysuro drwg, yn gwneyd y cyfryw yn awdwr o'r drwg hwnw, oddieithr fod tueddrwydd yn natur y peth a wnaeth at ddrwg yn fwy nag at ddaioni. Felly, er mai yr undeb sydd rhyngom ni ac Adda sydd yn achlysuro neu yn gwneyd i ni fod yn euog o'i bechod ef; ac er mai yr Arglwydd yw cyfansoddwr yr undeb hwn, eto nid yw efe, ar un cyfrif, yn awdwr o'n heuogrwydd ni, oblegid fod yr undeb y fath yn ei gyfansoddiad ag y gallesid yn rhesymol ddysgwyl y daioni mwyaf o hono, ac nid oedd dim ynddo yn tueddu at ddrwg.

*Gwran.* Da genyf os gellwch egluro tipyn rhagor ar y mater yna.

*Preg.* Y mae yn amlwg mai gorchymyn Duw i Adda o berthynas i bren gwybodaeth, oedd yn gwneyd fod yn bechod i Adda fwyta o hono; ond byddai mor groes i reswm cyffredin ddyweyd fod Duw yn awdwr o'i bechod am hyny, ag a fyddai dyweyd mai chwi yw awdwr anufydddod eich gwas, am mai eich gorchymyn chwi a droseddwyd ganddo. Felly y mae yn amlwg y dichon un fod yn awdwr y peth sydd yn gwneyd neu yn achlysuro fod peth arall yn bechod, ac eto heb fod yn awdwr o'r pechod ei hun. Pan ydych chwi yn rhoi gorchymyn i'ch plentyn, ac yntau yn anufyddhau iddo, yr ydych yn awdwr o beth ag sydd yn ei wneyd ef yn euog (sef eich gorchymyn); ond eto ynfyd fyddai dywedyd eich bod chwi yn awdwr o'i euogrwydd ef. Felly, pan roddes Duw orchymyn i Adda, ac yntau yn ei dori, yr oedd y Creawdwr yn awdwr o beth a wnaeth, neu a achlysurodd, fod y dyn yn euog; ond nid oedd, ar un cyfrif, yn awdwr o euogrwydd y dyn.

*Gwran.* 'Rhoswch chwi. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng yr amgylchiadau. Nid oedd y gorchymyn yn rhwymo Adda i droseddu; ond, yn ol eich geiriau chwi, y mae yr undeb âg Adda yn ein rhwymo ni dan euogrwydd.

*Preg.* Y mae yn wir, pan y mae y cyfammod wedi ei dori, fod yr undeb sydd rhyngom ac Adda yn ein rhwymo i gosp. Ond nid oedd cyfansoddiad yr undeb hwnw yn gosod dim rhwymau arnom i gosp, mwy nag yr oedd gorchymyn Duw i Adda yn gosod rhwymau arno ef i bechu. Felly, er mai Duw a gyfansoddodd yr undeb ag sydd yn gwneyd ein bod ni yn euog o bechod Adda, yn

gystal a'r ddeddf ag oedd yn gwneyd fod yn bechod i Adda fwyta o ffrwyth y pren; eto ni all Efe fod yn awdwr o'n heuogrwydd ni, mwy nag yr oedd yn awdwr o bechod Adda.

*Gwran.* Ond mewn difrif calon, a ydych yn meddwl fod bwyta o ffrwyth y pren yn cael ei gyfrif i ni yn yr un ystyr ag y cyfrifid ef i Adda?

*Preg.* Yr wyf yn meddwl fod y weithred o dori cyfammod Duw trwy fwyta o ffrwyth y pren yn cael ei chyfrif i ni mor wirioneddol ag i Adda, ïe, fod y pechod yn eiddo mor briodol i ni ag oedd i Adda; oblegid gan fod y gosp, sef marwolaeth, yn eiddo mor wirioneddol i bob dyn ag oedd i Adda, rhaid, dybygwn i, fod y trosedd yn eiddo mor briodol i bob dyn, ag oedd iddo yntau. "Felly yr aeth marwolaeth ar bob dyn, yn gymaint a phechu o bawb."

Ond fel y mae gwahanol sefyllfaoedd yn gwneyd yr un pechodau yn fwy ysgeler i rai nag ereill, felly, er fod yr un pechod yn cael ei gyfrif i ni ag a gyfrifid i Adda, eto yr wyf fi yn meddwl fod gwahanol sefyllfaoedd Adda a ninau yn y cyfammod gweithredoedd, yn gwneyd y pechod yn fwy ysgeler yn ei berthynas âg Adda nag ydyw yn ei berthynas â ni. Pen-cyfammodwr oedd Adda, ond deiliaid cyfammod ydym ni: pechod pen-cyfammodwr oedd y pechod yn ei berthynas âg Adda, ond pechod deiliaid cyfammod ydyw yn ei berthynas â ni. Mae pob dyn wedi dinystrio ei hun yn Adda; ond fe ddinystriodd Adda ei hun a'i holl hiliogaeth. Felly er fod camwedd Eden yn eiddo i ni mor wirioneddol ag i Adda, eto yr oedd yr euogrwydd yn gorwedd yn drymach ar Adda o gymaint a'i fod ef yn ben, a ninau ond deiliaid yn y cyfammod a dorwyd.

Yn gyson â'r golygiad hwn ar Adda a'i hâd, yr wyf yn meddwl y gellir dyweyd am yr Ail Adda a'i hâd. Er fod yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd yn cael ei gyfrif iddynt hwy mor wirioneddol a phe buasent wedi mawrhau, a gwneyd y gyfraith yn anrhydeddus, yn eu personau eu hunain; eto nid wyf yn meddwl fod cyfiawnder y Cyfryngwr, a gyfrifir i'r saint, yn gosod yr un teilyngdod arnynt hwy ag a osodai ar y Cyfryngwr ei hun. Y mae pob un o'r saint, trwy undeb â Christ a chyfrifiad o'i gyfiawnder, yn cael ei ystyried yn deilwng o faddeuant pechodau, a bywyd tragwyddol. "A hwy a rodiant gyda mi

mewn dillad gwŷnion, oblegid teilwng ydynt,'' Dat. iii. 4. Ond nid oes ganddynt ddim o'r teilyngdod hwnw i'w gyfranu i neb arall; eithr y mae Crist, trwy yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd, wedi teilyngu, nid yn unig y dyrchafiad sydd iddo ef ei hunan fel Cyfryngwr, ond hefyd pob daioni i'w holl brynedigion. *Rhagor ar hyn ryw dro eto.**

*Gwran.* Dylwn edifarhau am fy holl bechodau; ond ni allaf, ac ni ddylwn, goeliaf fi, edifarhau am bechod Adda; gan hyny, nid yw pechod Adda yn eiddo priodol i mi.

*Preg.* Pa beth, attolwg, ydych yn ei feddwl wrth edifarhau am bechod?

*Gwran.* Gofidio, cywilyddio, ymffieiddio, a beio fy hun o'i herwydd.

*Preg.* Yna, yr wyf yn gwadu eich îs-osodiad (*minor*). Nid oes dim yn fwy rhesymol, ac ysgrythyrol, nag i ddynion ofidio a chywilyddio am bechodau eu tadau, yn enwedig pan y byddont hwy eu hunain wedi dangos cydsyniad â'u tadau yn y cyfryw bechodau. Ac os oedd yn rhesymol i Ezra, Nehemia, a Daniel, ofidio a chywilyddio am bechodau eu tadau, onid yw yn ddigon rhesymol i ninau ofidio a chywilyddio am bechod ein tad Adda?

*Gwran.* Ond y mae yn anmhosibl, dybygwn i, i feio arnom ein hunain am bechod na feddem un llaw yn y cyflawniad o hono.

*Preg.* Yr ydych yn awr yn *begio'r cwestiwn.* Os nad ydych yn ystyried y pechod hwnw yn eiddo priodol i chwi, y mae yn wir na ellwch feio arnoch eich hun o'i herwydd. Ond y pwynt mewn dadl yw, pa un a ydyw y pechod hwnw yn eiddo priodol i ni, ai nad yw. Os ydyw y pethau a ddywedais (fel yr wyf yn hyderu eu bod) yn ddigon i brofi fod pechod Adda yn eiddo priodol i ni, nid oes dim mwy o afresymoldeb i ni feio arnom ein hunain o'u herwydd, nag a oedd i Daniel a'i gyfeillion feio arnynt eu hunain am bechodau a gyflawnesid ugeiniau neu gannoedd o flyneddau cyn eu geni.

*Gwran.* Dywedwch chwi a fynoch, yr wy'n methu dirnad pa fodd y gallaf edifarhau am beth na all'swn ei ochelyd.

*Preg.* Nid wyf finau yn meddwl y gall ein hedifeirwch weithredu yn hollol yn yr un modd tuag at bechod Adda, ag y mae tuag at y pechodau a wnaethom ni yn ein per-

---

* Gwel Ymddyddan xiii.

sonau ein hunain. Nid yw y pechodau a gyflawnais i, yn fy mherson fy hunan, yn eiddo i neb ond i mi fy hunan; o ganlyniad, y mae rhyw neillduolrwydd cyfatebol i hyny yn fy ngalar am y pechodau hyn, rhagor fy ngalar am y pechod gwreiddiol. Ac hefyd, pan y mae dyn yn edifarhau am bechod a gyflawnwyd ganddo ef ei hun yn bersonol, y mae yn profi gorbicrwydd cydwybod *(remorse of conscience)* am y bai, sef bod ei gydwybod yn ei gondemnio am y trosedd fel peth ag y gallasai ei ochelyd: ond nis gallwn deimlo felly tuag at bechod Eden, oblegid y mae hwnw, i ni, yn anocheladwy.

*Gwran.* Wel, gan na allaf ymofidio am drosedd Adda fel peth ag y gallaswn ei ochelyd, nis gwn pa fodd y gellir ei gyfrif yn fai i mi, na pha fodd y gallaf finau feio na ffieiddio fy hun o'i herwydd.

*Preg.* Y mae yn amlwg y byddai'r duwiolion gynt yn gofidio ac yn ffieiddio eu hunain am y pechod gwreiddiol. "Wele, mewn anwiredd y'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf," meddai Dafydd, yn ei Psalm edifeiriol, Ps. li. 5. Yn awr, os gallai Dafydd gyfaddef y pechod gwreiddiol fel bai, a ffieiddio ei hun o'i blegid, pam na allwn ninau wneyd yr un peth?

*Gwran.* At bechod ei rieni, medd rhai, y cyfeiria y Psalmydd yn yr adnod yna; a'r farn gyffredin yn mhlith Calfinistiaid, dybygaf, ydyw, mai halogrwydd ei natur, ac nid pechod Adda, y mae yn ei feddwl.

*Preg.* Pa un bynag ai pechod ei rieni, ai llwgr ei natur ei hun, ai ynte trosedd Eden yw yr hyn y cyfeiria ato, y mae yn amlwg ei fod yn destyn galar a hunan-ffieiddiad gan y gŵr duwiol hwnw; ac y mae mor amlwg a hyny nas gallasai ei ochelyd, am fod y peth mewn bod cyn iddo ef gael ei eni. Yrŵan, os nad ydyw anocheladwyaeth y peth yn cau allan alar a hunan-ffieiddiad am bechodau ein rhieni, neu am halogrwydd ein natur ein hunain, nis gall gau allan alar a hunan-ffieiddiad am bechod Adda chwaith. Ac os nad ydyw'r anmhosibilrwydd i mi deimlo gorbicrwydd cydwybod am y peth, yn profi nad fy mhechod i yw llwgr gwreiddiol fy natur, nis gall brofi chwaith nad ydyw pechod Adda yn eiddo i mi.

*Gwran.* Wel, gadewch fod y pethau a enwasoch yn perthyn i gyfansoddiad Eden; eto, os nad ydwyf fi, a llawer heblaw myfi, yn camgymeryd, y mae y cyfansodd-

iad hwnw wedi darfod, a dynolryw wedi eu gosod drachefn mewn sefyllfa o brawf.

*Preg.* Dyna hi yn taro deuddeg o'r gloch. Y mae yn rhaid i ni roddi i fyny am y tro hwn. "*Sefyllfa Prawf*" y tro nesâf.

---

## YMDDYDDAN VII.

---

### CYFRIFIAD PECHOD ADDA I'W HILIOGAETH, A SEFYLLFA PRAWF.

Wedi cyfarch eu gilydd fel arferol, ebai'r

*Gwrandawr.* A ydych chwi yn cofio ymddyddan a fu rhyngom, ryw dro, o berthynas i'r gwahanol olygiadau ar Rhuf. v. 14, lle y sonir am "y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda?"

*Pregethwr.* Ydw'n burion.

*Gwran.* Os na chamgymerais, yr oeddych yn dywedyd mai y farn Galfinistaidd yw, mai babanod yw y rhai ni phechasant yn ol cyffelybiaeth camwedd Adda: ond erbyn chwilio, yr wyf yn gweled nad ydoedd Calfin ei hun yn cytuno â'r golygiad a elwch chwi yn Galfinistaidd.

*Preg.* Yr wyf yn meddwl i mi grybwyll, un o'r troion cyntaf y buom yn ymddyddan â'n gilydd am y pethau hyn, nad oeddwn, wrth yr enwad Calfinistiaid, yn golygu y rhai sydd o'r un farn a Chalfin o Geneva am bob pwnc, ond yn hytrach y rhai y mae y cyffredin yn eu galw felly; sef y sawl sydd yn dal yr egwyddorion a elwid yn Galfinistiaeth yn âc wedi Cymanfaoedd Dort a Westminster. Felly, wrth son am y golygiad Calfinistaidd, nid oeddwn yn meddwl dim amgen na golygiad y cyffredin o'r rhai a elwir yn Galfinistiaid.

*Gwran.* Gofyn eich pardwn. Y mae fy nghof i mor ddrwg, fel yr oeddwn i wedi llwyr annghofio i chwi erioed wneyd y fath grybwylliad. Bellach, os gwelwch yn dda, gadewch i ni fyned yn mlaen at y peth y soniasom am dano wrth ymadael y tro diweddaf.

Yr wyf yn meddwl fod y Ffwleriaid, yn gyffredin, yn credu fod trosedd Adda, yn ol natur cyfansoddiad Eden, yn rhwymo holl ddynolryw dan felldith. Ond y mae llawer o honynt, os nad ydynt i gyd, yn dal fod y cyfan-

soddiad hwnw wedi ei hollol ddiddymu, a bod holl ddynolryw, byth wedi y cyhoeddiad o Hâd y Wraig, yn cael ymddwyn tuag atynt, nid fel deiliaid o gyfansoddiad Eden, ond fel deiliaid o'r cyfansoddiad cyfryngol, yn gymaint a'u bod eilwaith wedi eu gosod mewn sefyllfa o brawf.

*Preg.* Yr wyf finau yn meddwl mai dyna eu barn. Ond a ydyw yn dêg, dybygech chwi, iddynt wrthwynebu yr athrawiaeth o gyfrifiad pechod Adda i ni, trwy haeru y byddai yn afresymol ac annghyfiawn i ni gael ein cospi am bechod a gyflawnwyd cyn ein geni; a hwythau eu hunain yn addef egwyddor y peth, gystal a ninau? Os nad oedd annghyfiawnder mewn gwneyd cyfansoddiad ag a barai fod dedwyddwch pawb yn dibynu ar ufydd-dod un, pa annghyfiawnder a all fod mewn ymddwyn tuag at bawb yn ol y cyfansoddiad hwnw? Yr wyf yn meddwl fod y Ffwleriaid, yn gyffredin, yn addef fod Duw wedi myned i gyfammod âg Adda, a bod, yn ol y cyfammod hwnw, ufydd-dod neu anufydd-dod Adda i gael ei gyfrif i holl ddynolryw: yr wyf yn sicr fod y diweddar *Barch. J. Roberts*, o Lanbrynmair,† (yr hwn oedd brif amddiffynwr y gyfundraith hon yn Nghymru,) yn addef hyn. Yn awr gofynaf, os oedd yn gyfiawn i Dduw wneyd y fath gyfammod, pa annghyfiawnder ydyw iddo ymddwyn tuag at ddynion yn ol y cyfammod hwnw? Yn wir, y mae mor ofynol iddynt hwy, ag ydyw i ninau, ddangos y cyfiawnder a'r rhesymoldeb o gyfrif pechod Adda i'w hiliogaeth, oddieithr iddynt wadu fod un berthynas wedi ei chyfansoddi erioed rhwng Adda a'i hâd, heblaw y berthynas naturiol.

*Gwran.* Ond golygiad Mr. R. a'i frodyr ydyw, fel y canodd yr enwog brydydd *Williams, o Bant y Celyn,*—

"Na buasai'n uffern dywyll, yn poeni, ond dau ddyn,
Na chawsai'r nefoedd oleu i drigo ynddi'r un,
-------------------- - oni buasai y cyfammod gras.

---

† Wrth i mi son am y gwr hwn, (J. R.) na thybied neb fod genyf ddim anmharch i'w goffadwriaeth. Ond i'r gwrthwyneb, gallaf ddywedyd, oddiar flyneddau o gydnabyddiaeth bersonol âg ef, fod ei fuchedd fel Cristion, ei lafur fel gweinidog, ei ffyddlondeb fel cyfaill, a'i gymwynasgarwch fel cymydog, y fath, fel na ddymunwn i fy nghenedl yn amgen na bod ganddi lawer o'i gyffelyb. Er hyny, go-ddefer i mi ddywedyd, mai go bell ydwyf oddiwrth ei olygiadau ar des[illegible]u yr ymddyddanion hyn.

Felly pe na buasai cyfammod gras, buasai yr amgylchiad o farwolaeth Adda ac Efa, y dydd y troseddasant, yn eu hattal i epilio; ac, o ganlyniad, yn gwneyd yn anmhosibl i doriad y cyfammod hwnw fod o niwaid i neb ond iddynt hwy eu hunain. Ond yr ydys yn golygu mai o herwydd y cyfammod gras y mae yr holl hiliogaeth yn cael eu bod; ac mai fel deiliaid o hwnw y mae Duw yn ymddwyn tuag at ddynion, ac nid fel deiliaid o gyfammod toredig Eden. Yn ol y golygiad hwn, ni allasai dim drwg ddyfod i neb, mewn gwirionedd, trwy y cyfammod hwnw, ond i Adda ac Efa, pa un bynag a fuasai cyfammod gras i fod ai peidio.

*Preg.* Ni all amgylchiad neu amgylchiadau byth wneyd annghyfiawnder yn gyfiawnder, na gwneyd cyfiawnder yn annghyfiawnder. Os oedd sefydlu cyfammod Eden yn beth cyfiawn ynddo ei hun, ni allasai yr amgylchiad o ddwyn holl hiliogaeth Adda i fod, dan y cyfammod hwnw, byth ei wneyd yn annghyfiawn. Ac o'r tu arall, pe buasai annghyfiawnder yn sefydliad y cyfammod hwnw, (ond na ato Duw i ni feddwl fod,) ni allasai yr amgylchiad o ddamnio ein rhieni cyntaf, cyn iddynt gael amser i epilio, neu symud yr holl hiliogaeth i fod yn ddeiliaid o gyfammod arall, byth wneyd y sefydliad hwnw yn beth cyfiawn.

*Gwran.* Ond, fy anwyl Syr, rhai i chwi gofio fod yr holl amgylchiadau dan ystyriaeth y Bôd anfeidrol, pan yn gwneyd y cyfammod âg Adda. Bwriwch, yrŵan, y byddai meistr yn gorchymyn i'w was fyned i ryw sefyllfa o berygl, ac heb ddarparu dim ar gyfer y gwaethaf; prin yr ystyriech ymddygiad y meistr yn gyfiawn: ond os byddai y gŵr, wrth ofyn i'w was fyned i'r fath sefyllfa, yn bwriadu, os troai pethau allan i'r ochr waethaf, roddi mantais fwy iddo na'r golled; ni wn i pa annghyfiawnder, ar y cyfan, a allech ei weled yn y meistr. Felly, pan y mae Duw yn myned i gyfammod âg Adda, ac yn ei osod ef yn gynrychiolwr holl ddynolryw, y mae yn anhawdd gweled cyfiawnder y peth ynddo ei hun; ond pan ystyriom fod yr Arglwydd, wrth weled y gwaethaf, wedi darparu y cyfammod gras, yr hwn sydd yn dwyn mwy o fantais i ddynion na dim a allasent golli trwy y cyfammod gweithredoedd; y mae y cwbl, fel un gyfundraith, yn ymddangos yn gyfiawn ac yn ogoneddus iawn.

*Preg.* Wel, wel, yn ol y gyfundraith yna, rhaid i ni benderfynu, naill ai fod y cyfammod gras yn rhan angen-

rheidiol o'r cyfammod gweithredoedd, neu ei fod wedi ei ddarparu fel math o iawn i ddynion am gam a wnaed â hwynt yn ngwneuthuriad y cyfammod gweithredoedd. Gobeithio, fy nghyfaill, mai rhywbeth heb ei ragfeddwl oedd y siarad yna, ac nad dyna eich barn. Ond y mae arnaf flys gofyn i chwi gwestiwn cyn myned ddim yn mhellach, Pa un ai daioni ai drwg, ennill ai colled, o ran y peth ynddo ei hun, ydyw i un gael ei ddwyn i fod?

*Gwran.* Daioni neu ennill yn ddiamau: a cholled, mewn ystyr nacaol, a fuasai i ni beidio â chael bod.

*Preg.* Purion. Yn ol eich cyfundraith chwi eich hun, yr oedd cyfansoddiad cyfammod Eden yn peri fod gwaith Adda yn tori yr ammod, yn tynu y golled nacaol o beidio â chael eu dwyn i fod, ar ei holl hiliogaeth; yn gystal ag y buasai iddo gadw yr ammod, yn tynu arnynt y daioni o gael eu dwyn i fod.

*Gwran.* Prin yr wyf yn eich deall. Dywedwch dipyn yn arafach, ac yn eglurach, os gellwch.

*Preg.* Wel, yn ol eich *system* chwi, buasai gwaith Adda yn ufyddhau i'r gorchymyn, yn gwneyd ei hiliogaeth yn ennillwyr o fod a dedwyddwch; ac felly yr oedd ei waith yn anufyddhau, yn gwneyd ei hiliogaeth yn golledwyr o fod a dedwyddwch.

*Gwran.* Ie, pe na buasai cyfammod gras.

*Preg.* Ond, fel y dywedais o'r blaen, na all na chyfammod gras, na dim arall, newid egwyddor yr hen gyfammod; yr wyf yn dywedyd eto, os oedd yr hen gyfammod yn gyfiawn o ran ei egwyddor, ni allasai byth fod yn annghyfiawn, pe na buasai cyfammod gras. Felly y mae pleidwyr y *system* Ffwleraidd yn addef fod drwg neu ddaioni yn dyfod i holl ddynolryw am ufydd-dod neu anufydd-dod Adda, yn ol natur cyfammod Eden. Gan hyny, byddai mor resymol i ni ofyn iddynt hwy, ag ydyw iddynt hwythau ofyn i ninau, ateb yr hen gwestiwn Morganaidd, "Pa fodd y mae yn gyfiawn ein cospi ni am bechod Adda?" oblegid y maent hwy, yn gystal a ninau, yn addef fod cyfammod Eden yn cynwys yr egwyddor hon: ond y gwahaniaeth yw, ein bod ni yn dywedyd, a hwythau yn gwadu, fod awdwr y cyfansoddiad hwnw yn ymddwyn tuag at ddynion yn ol yr egwyddor hon.

*Gwran.* Pa fodd, yn ol eich barn chwi, y buasai pethau, pe na buasai cyfammod gras? A ydych yn meddwl y buasai dynion yn cael eu goddef ar y ddaear i epilio, &c.

ai, ynte, y buasai Adda ac Efa yn cael eu dymchwelyd i uffern y dydd y pechasant?

*Preg.* Yn wir ni wn i ddim beth a fuasai. Ond gan fod fy nghyfaill yn ymddangos mor hoff o'r dull tybosodiadol (*hypothetical*) o ymresymu, efallai na byddai flin genych i minau ofyn un cwestiwn i chwithau, yn y dull hwnw. Beth pe buasai Adda yn dad i ddeg o blant pan dorodd y gorchymyn, a'r rhei'ny heb fod yn agos ato ar y pryd, nac yn gwybod dim am y peth; ai ni buasai ei blant ac yntau yn dyfod o dan yr un farnedigaeth?

*Gwran.* Y mae yn ddiamau genyf fi y buasent, oblegid y mae yn anmhosibl gwadu hyny, heb wadu y cyfammod gweithredoedd.

*Preg.* A ydych yn meddwl y buasai hyny yn gyfiawn a rhesymol?

*Gwran.* Rhaid y buasai.

*Preg.* Yn awr, os buasai yn gyfiawn a rhesymol i'r rhei'ny, y mae yn gyfiawn a rhesymol i ninau, fod dan yr un farnedigaeth ag Adda, gan ei fod yn cynrychioli ei holl hiliogaeth yn ddiwahaniaeth; oblegid nid yw amser yn newid dim ar egwyddor y peth. Os yw yn gyfiawn i bechod Adda gael ei gyfrif i'w hiliogaeth, nid yw yn gwneyd un gwahaniaeth yn yr egwyddor, fod yr hiliogaeth heb eu geni, mwy na phe buasent oll wedi eu geni, ar yr amser y cyflawnwyd y trosedd.

Ond er fod Mr. R. y'nghyda'r Ffwleriaid yn gyffredin, yn ymddangos yn anfoddlawn i'r dywediad, fod dynion i gael eu cospi am bechod Adda; eto y mae ef ei hun yn awgrymu y bydd poenau y damnedigion, mewn rhyw îs-olygiad, yn gosp am y pechod hwnw, oblegid y mae eilwaith ac eilwaith yn dywedyd, nad yw Duw yn damnio neb, *yn benaf*, am y trosedd yn Eden. ‡ Yrŵan, os yw yn gyfiawn i ddynion gael eu cospi am bechod Adda, mewn rhyw îs-olygiad, pa annghyfiawnder a fuasai cospi dynion am y pechod hwnw, pe na buasai ganddynt yr un arall i'w cospi o'i herwydd?

Ond deallwch chwi, nad fy nyben yn arfer y dull yma o ymresymu, yw profi dim o blaid Calfinistiaeth; ond yn hytrach dangos fod gwrthddadleuon y Ffwleriaid o berthynas i resymoldeb a chyfiawnder ein cospi ni am bechod

‡ Gwel "Galwad Difrifol," a Llythyrau Mr. R. yn y "Dysgedydd," am 1826—7.

Adda, &c., yn dychwelyd yn eu herbyn hwy eu hunain gyda'r un grym ag y maent hwy yn eu bwriadu yn erbyn y Calfinistiaid. 1. Pan ddanghosont hwy pa fodd yr oedd egwyddor y cyfammod gweithredoedd (neu gyfansoddiad Eden, os gwell ganddynt ei alw felly) yn gyfiawn; bydd yn hawdd dangos pa fodd y mae yn gyfiawn i Dduw ymddwyn tuag at ddynolryw yn ol yr egwyddor hòno. 2. Pan ddanghosont hwy pa fodd y buasai yn gyfiawn peidio â rhoddi bod i rai a gawsent fod oni bai trosedd Adda; bydd yn hawdd dangos pa fodd y mae yn gyfiawn peidio â rhoddi dedwyddwch i rai a gawsent ddedwyddwch oni bai trosedd Adda. 3. Pan ddanghosont hwy pa fodd y buasai yn gyfiawn i hiliogaeth Adda fod o dan yr un farnedigaeth ag ef ei hun, pe buasent wedi eu geni cyn iddo ef droseddu; bydd yn hawdd dangos pa fodd y mae yn gyfiawn eu bod o dan yr un farnedigaeth, er eu geni ar ol iddo droseddu; canys nid yw amser yn newid dim ar egwyddor y peth. 4. Pan ddanghosont hwy pa fodd y mae yn gyfiawn i ddynion gael eu cospi, mewn rhyw *îs-olygiad*, am bechod Adda; bydd yn hawdd dangos pa fodd y mae'n gyfiawn i'r sawl na feddant bechodau mwy, gael eu cospi yn benaf am y pechod hwnw; ac i'r sawl na feddant yr un pechod arall, gael eu cospi *yn unig* am y pechod hwnw.

*Gwran.* Dywedwch chwi faint a fynoch chwi, ni choeliwn i yn fy myw, na bo gwrandawyr efengyl wedi eu rhyddhau o tan gyfansoddiad Eden; ac nad yw eu sefyllfa mewn byd arall yn dibynu yn hollol ar eu hymddygiad tuag at yr efengyl; ac nad yn ol hyny, yn unig, yr ymddygir tuag atynt yn y dydd diweddaf.

Bwriwch fod nifer o wrthryfelwyr Canada wedi eu dyfarnu i alltudiaeth, a'u bod yn Liverpool, ar eu ffordd i'r lle penodol. Wel, cyn iddynt ymadael â Lloegr, dyma ein tirion frenhines yn cynyg *reprieve* iddynt. Onid yw hyn yn eu symud odditan ddedfryd Canada, ac yn eu gosod drachefn mewn sefyllfa prawf, fel y mae eu tynged bellach yn dibynu yn gwbl ar eu hymddygiad tuag at gynygiad ei mawrhydi? os derbyniant ef, y maent yn rhyddion; ond os ei wrthod a wnant, dyna bellach yw yr unig achos o'u *transportation*. Felly, dybygwn i, fod yr efengyl wedi rhyddhau dynion odditan ddedfryd Eden, nes bod eu tynged dragwyddol yn dibynu ar eu hymddygiadau tuag ati hi, ac nid ar eu perthynas âg Adda.

*Preg.* Goddefwch i mi fanylu ychydig ar eich cymhariaeth. Dyma ddeg-ar-hugain o wrthryfelwyr, a ddyfarnwyd yn Canada i alltudiaeth am eu hoes, yn Liverpool, ar eu taith i'r Swan River. Bwriwch fod ei mawrhydi yn cynyg *reprieve* i ugain o honynt, a deg o'r ugain yn gwrthod ei charedigrwydd, gan haeru nad oes dim a wnelont hwy â brenhines Prydain, ac na wnant hwy ddim cymaint o ymostyngiad i'w llywodraeth a derbyn ei *reprieve;* ond y deg ereill, yn derbyn y peth yn ddiolchgar, ac yn cael eu rhyddhau. Yn awr, dyma ugain yn cael eu gyru i gospedigaeth, deg heb gael cynyg, a deg wedi gwrthod, rhyddhad: oni edrychir ar y deg a wrthodasant eu rhyddhad fel rhai mwy cyndyn yn y gwrthryfel na'r lleill? ac os bydd rhyw gosp drymach i rai o honynt na'r lleill, ar ben y daith, onid ystyrir y deg hyn yn deilwng o honi? Bellach, edrychwn ar yr ugain yn gweithio mewn heiyrn, a gofynwn, Beth a ddygodd y rhai'n i'r fath gyflwr?

Ateb. Yr hen wrthryfel yn Canada.

Gof. Oni chynygiwyd maddeuant, ac oni ryddhawyd llawer o'r gwrthryfelwyr trwy hyny?

At. Gwir, ac y mae yma ddeg o rai na buasent yma, oni bai gwrthod y maddeuant.

Gof. Pam y mae y deg draw a'u heiyrn yn drymach, a'u gwaith yn galetach, na'r deg yma?

At. Yr un peth yn wreiddiol yw trosedd y naill a'r llall; ond y deg draw yw y rhai a weithredasant act newydd o wrthryfel, trwy ddiystyru cynygiad ei mawrhydi, ac am hyny y mae eu cospedigaeth yn fwy. Ni bu y deg hyn byth yn rhydd oddiwrth ddedfryd Canada, er, yn wir, eu bod mewn sefyllfa o obaith tra y parhaodd y maddeuant i gael ei gynyg iddynt.

Ond i gymhwyso y peth. Bwriwch y caem olwg ar gyflwr y rhai sydd yn yr heiyrn tragwyddol, wedi eu *transportio* tudraw i'r gagendor mawr, Dacw rai na chlywsant efengyl erioed, ereill wedi myned yno dan ei diystyru. Pa beth a ddygodd y dorf druenus hon i'r fath le?

At. Yr hen wrthryfel yn Eden. Y ddedfryd, "Gan farw ti a fyddi farw," sydd yn cael ei chyflawni arnynt.

Gof. Oni chynygiwyd maddeuant iddynt? ac onid oes llawer wedi eu rhyddhau?

At. Gwir, ac y mae yma fyrddiynau na ddaethent yma, oni bai iddynt ddiystyru yr efengyl hòno.

Gof. Pam y mae y rhai o Gymru a Lloegr, a'u cosp yn drymach na'r rhai o China a Japan?

At. Yr un, yn wreiddiol, yw trosedd y naill a'r llall, ond fod rhai wedi gweithredu act newydd o wrthryfel, trwy ddiystyru efengyl gras Duw, ac, am hyny, y mae eu cosp yn drymach. Felly ni bu y rhai a aethant i'r *transportation* tragwyddol, o Gymru a Lloegr, erioed yn rhydd oddiwrth ddedfryd Eden, mwy nag ereill, er eu bod mewn sefyllfa o obaith tra buont yn swn yr efengyl.

*Gwran.* Sylwch ar yr adnodau hyny yn y bennod gyntaf o'r Diarhebion, "Yn gymaint ag i mi eich gwahodd, ac i chwithau wrthod: i mi estyn fy llaw, a neb heb ystyried; ond diystyrasoch fy holl gynghor i, ac ni fynech ddim o'm cerydd: minau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi," &c. Onid yw yn amlwg, wrth yr adnodau hyn, mai gwrthod y gwahoddiad, a diystyru y cynghor, yw achos y gosp, ac nid y pechod gwreiddiol?

*Preg.* Nid wyf fi yn deall fod yr adnodau yna yn dangos fod y pethau a enwasoch yn wreiddiol achos o'r dialedd, ond yn hytrach eu bod yn rhoddi mwyhad ar, neu chwanegiad at, y dialedd. Nid "yn gymaint ag i mi wahodd, ac i chwithau wrthod, *y bydd dialedd arnoch,*" a ddywedir: ond "yn gymaint ag i mi wahodd, ac i chwithau wrthod, *minau a chwarddaf* yn eich dialedd chwi." Yr oeddych wrth naturiaeth yn rhwym i gosp; ond tra yr oeddid yn eich gwahodd ac yn eich galw, yr oeddych mewn sefyllfa o obaith am ryddhad; ond, yn gymaint ag i chwi wrthod, bydd eich dialedd yn annhraethol drymach, oblegid y bydd y gŵr a fu yn gwahodd ac yn galw, yn chwerthin ac yn gwawdio yn eich adfyd.

*Gwran.* Y mae gen' i un adnod eto ag sydd yn ddigon, dybygwn i, o foddlonrwydd i bob meddwl diduedd, mai gwrthod efengyl, ac nid pechod Adda, sydd yn damnio dynion, Ioan iii. 19: "A hon yw y ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni."

*Preg.* Pe bae rhyw haint angeuol yn dyfod i ddinas, a meddyginiaeth anffaeledig wedi ei chael allan, a rhyw nifer yn gwrthod y feddyginiaeth, er ei chynyg iddynt yn rhad, ac, o ganlyniad, yn marw o'r haint; pe gofynid, Pa beth a fu yn achos o angau i'r rhei'ny, ragor y rhai a iachäwyd? atebid, Gwrthod y feddyginiaeth. Er hyny, nid oes neb mor ynfyd a dyweyd nad o'r hen haint y buont

feirw oll; na neb a ddywedai fod dyfodiad y feddyginiaeth i'r dref, yn eu rhyddhau oddiwrth yr haint, pa un bynag a wnaent ai ei defnyddio ai peidio. Gellir dywedyd ein bod ni oll yn ngafael haint Eden, ond y mae yr efengyl yn cynyg meddyginiaeth anffaeledig yn rhad; ond os gwrthodwn hi, ein marwolaeth dragwyddol a fydd hyny. Eto, afresymol, i'm tyb i, fyddai dywedyd nad o glefyd Eden yr ydym yn meirw. Yn yr amgylchiad cyntaf, er mai o'r haint y bu feirw y dynion, eto hyn oedd eu marwolaeth, ddyfod meddyginiaeth i'r ddinas, a charu o ddynion yr haint yn fwy na'r feddyginiaeth. Felly, er mai "trwy gamwedd un y daeth barn ar bob dyn i gondemniad;" eto "hon yw y ddamnedigaeth (i drigolion gwlad efengyl), ddyfod goleuni i'r byd, a charu o honynt y tywyllwch yn fwy na'r goleuni."

Ond os ydyw yr adnod yna yn profi dim yn y ffordd yr ydych am ei hesbonio, y mae yn profi gormod i'ch pwrpas chwi. Yr unig beth, yn ol eich esboniad chwi, ag y bydd dynion o wlad efengyl yn cael eu cospi am dano, yw gwrthod ei derbyn. Beth pe bai dynion yn euog o ladd, lladrata, &c., cyn clywed efengyl erioed, a gwrthod yr efengyl wedi ei chlywed, ai tybied yr ydych na bydd y lladdiadau, a'r lladradau, &c., yn cael eu rhoddi yn eu herbyn yn y farn, yn gystal a gwrthod efengyl? Ond os nad yw yr adnod a enwasoch yn profi na chospir dynion a glywsant efengyl, am bechodau a wnaethant cyn clywed efengyl, nid ydyw chwaith yn profi na chospir hwynt am y pechod gwreiddiol.

*Gwran.* Y mae yn ymddangos i mi eich bod am wneyd pechod Adda yn rhyw fynydd o beth, ac nad yw annghredu yr efengyl ond peth bychan yn eich golwg.

*Preg.* Yr wyf fi yn meddwl fod y Calfinistiaid yn rhoi golwg erchyllach o lawer ar y pechod o annghrediniaeth, na'r Ffwleriaid: canys tra y mae yr olaf yn dal mai annghrediniaeth yw yr unig bechod ag y cospir dynion o'i herwydd, y mae y cyntaf yn dal mai annghrediniaeth yw y prif bechod, nid yn unig am ei fod yn bechod damniol ynddo ei hun, ond hefyd am ei fod yn sicrhau dynion dan euogrwydd eu holl bechodau ereill, yn gystal gwreiddiol a gweithredol.

*Gwran.* Yn mhlith yr holl bethau y gwneir crybwylliad am danynt yn y farn, nid yw y beibl yn dyweyd y bydd son am bechod Adda.

*Preg.* Bydd dyben y farn ddiweddaf yn wahanol iawn i ddyben llysoedd barn yn mhlith dynion. Y mae dynion yn cynal eu brawdleoedd i'r dyben o chwilio allan yn mha le y mae y drwg, ac o benderfynu y gospedigaeth ddyledus am dano. Ond y mae y Barnwr mawr yn gwybod yn berffaith pa beth ydym, ac a fyddwn ni byth. Byddwn ninau cyn dydd y farn yn gwybod pa beth a fyddwn ni i dragwyddoldeb, canys bydd yr enaid yn myned i'w le ei hun y foment yr ymadawo â'r corff. Nid yn y dydd diweddaf yn unig y bydd cyfiawn farn Duw yn cael ei rhoddi mewn gweithrediad, y mae hyny yn cael ei wneyd o hyd; ond "datguddiad cyfiawn farn Duw" fydd y dydd hwnw.

Bydd angelion, *foreu* y farn, yn adnabod yr efre oddiwrth y gwenith; bydd y defaid a'r geifr yn cael eu didoli oddiwrth eu gilydd; a bydd *Deuwch* y naill, ac *Ewch* y llall, yn cael eu cyhoeddi *cyn* son am eu gweithredoedd. Gwneir datguddiad cyhoeddus o gyflyrau dynion yno, nid trwy enwi anufydd-dod yr Adda cyntaf, yr hyn yw gwreiddyn condemniad y rhai a fyddant ar y llaw aswy, na chwaith trwy enwi ufydd-dod yr ail Adda, yr hyn yw sail cyfiawnhad y rhai a fyddant ar y ddeheulaw, ond trwy gyhoeddi y pethau sydd yn eu *profi* yn dda neu yn ddrwg: nid trwy enwi y gwreiddyn, ond trwy ddangos y ffrwyth. Felly hefyd y bydd dirgelion dynion yn cael eu barnu neu eu datguddio, nid trwy enwi santeiddrwydd neu ansanteiddrwydd eu meddyliau, ond trwy gyhoeddi y pethau sy'n profi stât y meddwl, sef geiriau a gweithredoedd; oblegid dyma y pethau a ddywedant, yn y modd mwyaf teimladwy, ar bob cydwybod, nes llwyr argyhoeddi pawb o gyfiawnder barn Duw.

Ond swm fy atebiad i'ch gwrthddadl ddiweddaf chwi yw hyn: Nid ydyw fod y beibl yn ddystaw am anufydd-dod Adda, fel peth i'w grybwyll yn y farn, brawf yn y byd nad hyny yw gwreiddyn condemniad y rhai a ddemnir; mwy nag y mae dystawrwydd y beibl am ufydd-dod Crist fel peth i'w grybwyll yn y farn, yn profi nad hyny yw sail cyfiawnhad y rhai a gedwir.

## YMDDYDDAN VIII.

### SEFYLLFA PRAWF.

*Pregethwr.* Dydd da'wch, fy nghyfaill, y mae yn dda iawn genyf eich gweled; canys wrth eich gwaith yn ym-

adael, y tro diweddaf, heb gymaint a dywedyd, Nos da, mi a ofnais y gallaswn fod wedi eich tramgwyddo; ond yr wyf yn sicrhau i chwi mai pell oeddwn oddiwrth fwriadu eich briwo mewn dim.

*Gwrandawr.* Y mae yn dda genyf allael sicrhau i chwi, nad oedd dim o'r natur hyny yn bod: ond y gwirionedd yw, yr oedd fy meddwl wedi ei gymeryd gan y peth yr oeddym yn siared am dano, i'r fath raddau, fel yr annghofiais, ar y pryd, wneyd y seremoni arferol: ac, yn wir, nid oes un diwrnod wedi myned heibio, o hyny hyd yn awr, heb i mi feddwl cryn lawer am y peth; a byddai yn dda iawn genyf gael rhagor o ymddyddan â chwi ar yr un mater, os gellwch hebgor cymaint a hyny o amser.

*Preg.* 'Rhoswch chwi, *sefyllfa prawf*, onidê, oedd y mater yr oeddym yn siared am dano y pryd hwnw? Wele, gadewch i ni ddechreu ynte. Efallai fod rhyw gwestiwn ar eich meddwl chwi i'w ofyn.

*Gwran.* Pa beth sydd genych i'w ddywedyd yn erbyn y golygiad fod holl ddynolryw wedi eu symud o fod yn ddeiliaid o gyfansoddiad Eden, i fod yn ddeiliaid o'r cyfansoddiad cyfryngol; neu, os mynwch chwi, o fod yn ddeiliaid o'r cyfammod gweithredoedd, i fod yn ddeiliaid o'r cyfammod gras?

*Preg.* Yn 1 Cor. xv. 45, 47, y mae Adda a Christ yn cael eu galw, "Y dyn cyntaf, a'r ail ddyn;" "Y dyn cyntaf Adda, a'r Adda diweddaf;" yr hyn, dybygwn i, sydd yn cynwys eu bod yn ddau ddyn na bu, ac na bydd byth, eu cyffelyb, sef fel y maent yn gynrychiolwyr mewn gwahanol gyfammodau, yn cynwys ynddynt eu hunain bawb o ddynolryw: Adda yn cynwys holl ddeiliaid cyfammod Eden, a Christ yn cynwys holl ddeiliaid y cyfammod gras, ac———

*Gwran.* Peidiwch chwi â chwmpasu fel yna. Y mae y Ffwleriaid yn addef y pethau yna gystal a chwithau. Ond y pwynt mewn dadl yw, Pa un a ydyw dynolryw yn awr yn cael eu hystyried yn ddeiliaid o'r cyfansoddiad neu y cyfammod ag y mae Crist yn ben ynddo, ai ynte fod yr holl annuwiolion yn cael eu hystyried o hyd yn ddeiliaid o'r cyfansoddiad neu y cyfammod ag yr oedd Adda yn ben ynddo.

*Preg.* Peidied fy nghyfaill â siared ar draws dyn fel yna. Yr wyf fi wedi annghofio yn awr pa beth oeddwn yn myned i'w ddywedyd. Ho, ïe, dyma fo, Y mae yn rhaid

fod pob dyn naill ai yn Adda, neu yn Nghrist, neu mewn rhyw gyflwr canol, heb fod yn un o'r ddau. Yn awr gofynaf, Pwy, yn ol y beibl, yw y rhai sydd yn Nghrist? Ateb. "Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd. Nid oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Gan hyny, nid yw y rhai sydd yn ngafael damnedigaeth, neu y sawl nad ydynt greaduriaid newydd, ddim yn Nghrist; o ganlyniad, rhaid eu bod yn Adda, oddieithr fod rhyw gyflwr canol fel y soniais, yr hyn, dybygid, sydd ry afresymol ac anysgrythyrol i'n cyfeillion Ffwleraidd ei bleidio. A pha beth, attolwg, yw bod yn Adda, os nad bod yn ddeiliaid o'r cyfammod ag yr oedd Adda yn ben ynddo? neu, pa beth yw bod yn Nghrist, os nad bod yn ddeiliaid o'r cyfammod ag y mae Crist yn ben ynddo?

*Gwran.* Yn wir, yr wyf fi yn meddwl fod yr annuwiol yn cyfranogi o bethau y cyfammod gras, ac hefyd y bydd effeithiau cyfammod Eden yn dylyn y duwiol hyd y boreu mawr. Oblegid pa beth ond bendith y cyfammod gras yw galwad yr efengyl? a pha beth ond melldith cyfammod Eden yw marwolaeth y corff?

*Preg.* Ond rhaid ystyried nad oes dim bendith hyd yn nod ar alwad yr efengyl i'r annuwiol, tra yn annuwiol; ac er mai effeithiau toriad cyfammod Eden yw gofidiau ac angeu, eto, nid oes dim melldith yn yr un o honynt i'r duwiol. Felly, er bod effeithiau daionus y cyfammod gras yn dyfod megys i gyfarfod yr annuwiol, ac effeithiau gofidus toriad yr hen gyfammod yn dylyn y duwiol tra yn y byd, eto, nid ydyw yr annuwiol ar dir bendigedig y cyfammod gras, na'r duwiol ddim ar dir melldigedig y cyfammod gweithredoedd; y mae y cyntaf yn rhwym dan gondemniad, ond y mae'r olaf yn rhydd.

*Gwran.* Y mae yn wir fod Adda wedi taflu ei hun a'i hiliogaeth i sefyllfa o anobaith o'u rhan eu hunain. Ond, mi feddyliwn i, fod yr amlygiad a wnaeth Duw i Adda o'i fwriad grasol tuag at ddynion, trwy yr addewid o Hâd y Wraig, wedi adferu yr holl ddynoliaeth drachefn i sefyllfa o brawf.

*Preg.* Pa beth, attolwg, ydych yn ei feddwl wrth *sefyllfa prawf?*

*Gwran.* Fy meddwl yw, fod ffordd einioes a ffordd angeu yn cael eu gosod o flaen dyn yn yr efengyl, yr un modd ag yr oedd einioes ac angeu yn cael eu gosod o

flaen Adda yn Eden; fod bywyd neu farwolaeth dyn yn awr yn dibynu ar ei waith yn credu neu yn annghredu, fel yr oedd bywyd neu farwolaeth Adda yn dibynu ar ei waith yn ufyddhau neu yn anufyddhau. Mewn gair, yr wyf yn meddwl "nad oedd Adda cyn y cwymp, gyda golwg arno ei hun, ddim mwy mewn sefyllfa o brawf nag yw dynion yn bresenol dan yr efengyl." §

*Preg.* Yr wyf yn cydsynio â chwi, fod ffordd einioes a ffordd angeu yn cael eu gosod o flaen dynion yn yr efengyl: ond fod dyn mewn sefyllfa o brawf, yr un fath ag yr oedd Adda cyn ei gwymp, ni allaf ei ganfod yn olygiad ysgrythyrol a rhesymol; canys yr oedd gan Adda allu naturiol a moesol i wybod a barnu y daioni o gadw y gorchymyn, a'r drwg o'i dori; a diamau y gallasai Adda sefyll, er mai syrthio a wnaeth. "Eithr y dyn anianol (medd y beibl) nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef; *ac nis gall eu gwybod,* oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Er fod gogoniant annhraethadwy yn ffordd y bywyd, a rhyw ddrwg anfeidrol yn ffordd angeu; eto, y mae yn anmhosibl i ddyn ganfod daioni y naill na drwg y llall, na barnu yn iawn rhyngddynt, heb i ryw "nerthol weithrediad" goruwchnaturiol gael ei ddwyn yn mlaen yn ei enaid. Os yw y golygiad yna yn gywir, y mae yn anmhosibl i'r opiniwn "nad oedd Adda cyn ei gwymp, gyda golwg arno ei hun, ddim mwy mewn sefyllfa prawf nag yw dynion dan yr efengyl," sefyll.

*Gwran.* [Rhyw hen *system* yw hòna eto, ac y mae yn bryd iddi fyned o'r golwg bellach rhag cywilydd. Yr ydys wedi cael allan yn y dyddiau hyn, mai cyfeiliornad, ac nad gwirionedd, yw fod yr Ysbryd Glân i'w gael i rai personau mwy nag ereill, ac ar ryw amserau mwy na'u gilydd. Yn enw dyn, a glywsoch chwi ddim am y darganfyddiad? A welsoch chwi mo bregeth brawd Mr. Henry Rees? ¶

---

§ Galw. Dif. tudal 23.

¶ Clywais fod awdwr y Bregeth ar 'Yr Ysbryd a'r Briodasferch,' wedi cael ei gyhoeddi amryw weithiau dan yr enw 'brawd Mr. Henry Rees.' Tebyg mai dyben hyny oedd gwneyd y gwr yn fwy poblogaidd, a mawr dda iddo ef, o ran hyny, ar y fantais: ond wedi iddo gael ei gario i sylw y wlad, megys wrth ysgîl gwr o gorff arall o grefyddwyr, y mae braidd yn rhy ddrwg, dybygaf fi, fod yr enwau, 'Dynion siolwag--Crwydriaid a gwibiaid ar hyd a thraws y ddaear--

*Preg.* Do, do, ac mi feddyliwn mai y dyben mewn golwg yw cael coes arall dan *system* newydd y sefyllfa prawf, oblegid heb hyn rhaid addef ei bod megys ar ei hun-troed. Ac, yn wir, yr wyf yn meddwl, os prawf y dynion hyn eu pwnc, y gwnant wasanaeth anmhrisiadwy i'r *system* Ffwleraidd, oblegid mi feddyliwn na ddaeth y peth erioed i feddwl Fuller ei hun, na'r Dr. Williams, na Mr. Roberts, o Lanbrynmair.] *Rhagor ar hyn ryw dro eto.*

*Gwran.* Wel, y mae credu yn ammod bywyd yn y cyfammod gras, fel yr oedd ufyddhau yn y cyfammod gweithredoedd; ac felly, ni welwn i yn fy myw pa fodd y mae yn anaddas i ddyweyd fod dynion mewn sefyllfa prawf, dan yr efengyl, yn hollol yr un fel ag yr oedd Adda yn Eden.

*Preg.* Nid wyf yn cofio am un ysgrythyr ag sydd yn gosod ein credu ni yn gyferbyniol âg ufydd-dod Adda: yr hyn a gyferbyna y beibl âg ufydd-dod, neu, yn hytrach, âg ufydd-dod Adda, yw ufydd-dod Crist; a'r hyn a gyferbynir â chamwedd Adda yw cyfiawnder Crist. Felly, nid oes neb, dybygwn i, ond Crist mewn sefyllfa debyg, yn y cyfammod gras, i'r un yr oedd Adda ynddi yn y cyfammod gweithredoedd.

Yr wyf fi yn meddwl, fel chwithau, mai llwybr yr efengyl i ddyn ddyfod i feddiant o iachawdwriaeth yw credu. Ond y mae dywedyd fod credu yn ammod iachawdwriaeth yn anysgrythyrol; oblegid nid yw y beibl yn cydnabod dim fel ammod iachawdwriaeth i ddynion, ond yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist trostynt.

*Gwran.* Pa wahaniaeth sydd rhwng ammod o beth, a'r moddion i ddyfod i feddiant o hono? Os arferaf y moddion priodol i ddyfod i feddiant o'r iachawdwriaeth,

---

Pedleriaid mewn nwyfau chwedlog--Ninefeaid mewn gwybodaeth--*Cleps,*' &c. yn cael eu harferyd, yn ei lyfryn, mewn cyfeiriad at bregethwyr neu aelodau y corff hwnw.

Y mae yn wir mai gwr arall a ysgrifenodd y 'Rhagdraith' ag sydd yn cynwys yr enwau uchod; ond eto nid ydyw Mr. W. Rees i'w esgusodi, yn gymaint ag iddo roddi lle iddynt ar ddalenau ei lyfryn, a'u cymeradwyo fel rhagymadrodd i'w bregeth.

Os na allesid cyhoeddi y bregeth heb y fath ystwff, oni buasai yn well ei roddi yn y diwedd nag yn y dechreu? canys y mae yn amlwg fod tuedd ynddo i lanw meddwl pob darllenydd moesgar â rhagfarn yn erbyn yr holl lyfr: a gwyr Mr. Rees, gystal a neb, nad ydyw rhagfarn ond cymhwysder tlawd i barotoi y meddwl dynol i dderbyn addysg.

sef credu, cadwedig fyddaf; ac os nad arferaf y moddion hyny, nid oes ond colledigaeth yn fy aros, a pha beth mwy na hyn sydd mewn ammod?

*Preg.* Bwriwch y byddai i chwi brynu etifeddiaeth i chwi eich hun ac i'ch plant ar eich ol: ammod yr etifeddiaeth ydyw i chwi dalu arian y prynedigaeth; ond y moddion i'r plant ei mwynhau ar ol eich marwolaeth chwi fyddai eu gwaith yn cymeryd meddiant o honi. Felly, unig ammod bywyd pechadur yw y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu; ond nid ydyw gwaith dyn yn credu ddim amgen na chymeryd meddiant o'r etifeddiaeth; ac os gelwch chwi hyny yn ammod, rhaid dyweyd mai ammodau yw holl weithredoedd dynion, oblegid y mae pob gweithred yn foddion i ddwyn rhyw ganlyniadau o amgylch.

*Gwran.* Wel, gadewch iddo fod felly; ond eto ni wn i pa niwed yw galw credu yn ammod iachawdwriaeth.

*Preg.* Y mae y gair *ammod* yn trosglwyddo y meddylddrych o deilyngdod, ac felly yn arwain i dybiaeth fod rhyw glod yn perthyn i'r sawl a wnelo'r peth. Ond y mae y beibl yn cau allan oddiwrth ddyn bob teilyngdod a chlod yn nhrefn cadwedigaeth pechadur, ac yn rhoddi y cwbl i Dduw.

*Gwran.* A ydych yn meddwl y buasai rhyw glod yn perthyn i Adda, pe buasai yn cyflawni, yn lle tori, ammod cyfammod Eden?

*Preg.* I Dduw, yn ddiau, y buasai y gogoniant yn yr eithaf am yr holl ddaioni, pe buasai Adda yn ufyddhau, oblegid mai o'i ewyllys da yn unig y gwnaeth efe y fath gyfammod manteisiol â'r dyn: ond eto y mae yn ddiamau genyf fi y buasai gan ddynion barch byth i Adda, fel un wedi cyflawni ammod eu bywyd, a chlod hefyd, cyn belled ag y mae yn addas i'r naill greadur roddi clod i un arall.

*Gwran.* Nid ydyw yr ateb yna ddim yn hollol i'r pwynt. Y mater yw, a oedd, ai nid oedd, Adda yn fwy mewn sefyllfa o brawf, *gyda golwg arno ei hun*, nag ydyw dynion yn bresenol dan yr efengyl? Yr oedd bywyd Adda ei hun, heb son am ei hiliogaeth, yn dibynu ar ei waith yn ufyddhau, fel y mae ein bywyd ninau yn dibynu ar ein gwaith yn credu. A ydych yn meddwl, pe buasai Adda yn sefyll, y buasai ganddo ryw le i ymffrostio neu i ym-

ogoneddu yn ei waith ei hun, mwy nag y sydd gan y credadyn dan yr efengyl?

*Preg.* Yr wyf yn meddwl y buasai: ond nid gerbron Duw, am fod yn anmhosibl i greadur haeddu dim daioni oddiar law ei Greawdwr. "Canys os Abraham a gyfiawnhawyd trwy weithredoedd, y mae iddo orfoledd," (neu "*y mae ganddo beth i ymogoneddu ynddo,*" neu, "fe allasai ymffrostio."—*Macknight.*) "Ond nid gerbron Duw," Rhuf. iv. 2. Gallaf finau ddyweyd, Pe buasai Adda yn cael ei gyfiawnhau trwy weithredoedd, sef trwy ufyddhau, buasai ganddo beth i ymogoneddu, neu i ymffrostio ynddo, er nad gerbron Duw. Ond yn nhrefn cyfiawnhad pechadur, "Pa le (medd yr apostol) y mae gorfoledd" (neu ymffrost neu ymogoneddiad)? "Efe a gauwyd allan. Trwy ba ddeddf? Ai deddf gweithredoedd? Nage: (ni buasai hòno, dybygid, yn ei gau allan, os cawsai ei chadw) eithr trwy ddeddf ffydd," Rhuf. iii. 27.

Pe cyflawnasai Adda ammod y cyfammod, gallasai edrych arno ei hun fel un wedi ennill bywyd tragwyddol trwy ei waith ei hun, mor wirioneddol ag y mae yn bosibl i ddyn ennill unrhyw beth trwy unrhyw lafur, er mai i Dduw y buasai'r clod, am ei osod mewn sefyllfa i allu gwneyd hyny: ond ni all y credadyn edrych arno ei hun, ar y goreu, ond fel un wedi cymeryd gafael ar y bywyd tragwyddol a ennillwyd iddo trwy lafur a marwolaeth un arall? ac ni ddichon wneyd hyny o hono ei hun, heb ryw ddylanwad grasol o eiddo Duw. "Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd: *a hyny nid o honoch eich hunain:* rhodd Duw ydyw," Eph. ii. 8.

Ond gadewch i ni dybied, heb ganiatâu, fod credu yn ammod iachawdwriaeth dan yr efengyl; eto, gan fod yn anmhosibl i ddyn gyflawni yr ammod hòno heb ryw ddylanwad goruwchnaturiol, sef "gweithrediad nerth ei gadernid Ef, yr hon a weithredodd efe yn Nghrist pan y cyfododd ef o feirw," Eph. i. 19, 20; a bod Adda yn meddu gallu i gyflawni yr ammod yn Eden; anysgrythyrol ac afresymol, i'm tyb i, ydyw dweyd fod dynion, dan yr efengyl, yn gymaint mewn sefyllfa o brawf ag oedd Adda, gyda golwg arno ei hun, cyn ei gwymp.

*Gwran.* Onid ydych chwithau yn ystyried fod pob dyn ar y ddaear mewn sefyllfa o obaith?

*Preg.* Sefyllfa y rhan luosocaf o drigolion y ddaear

heddyw, sef yr holl baganiaid ydyw, "heb obaith ganddynt, ac heb Dduw yn y byd."

*Gwran.* Ond y mae yn ddigon i'r pwrpas presenol, os ydych yn addef fod holl wrandawyr efengyl mewn cyflwr o obaith.

*Preg.* Y mae yn sicr fod gobaith yn cael ei osod yn yr efengyl o flaen ei holl wrandawyr, ac mai marwolaeth y Cyfryngwr sydd wedi dwyn y gobaith hwnw i mewn.

*Gwran.* Pa wahaniaeth sydd rhwng dywedyd fod dynion mewn sefyllfa o obaith, a dywedyd eu bod mewn sefyllfa o brawf?

*Preg.* Gwell genyf, hyd y gallwyf, gadw at eiriau y beibl wrth son am sefyllfa dynion rhyngddynt a Duw, fel am bob peth arall; eto, nid ymrysonwn i ddim rhyw lawer y'nghylch y gair *sefyllfa prawf*, pe gwyddwn i nad ydys yn meddwl dim rhagor wrth ei arferyd, na sefyllfa y marw mewn lle ag y mae gobaith am iddo gael ei fywhau; neu sefyllfa y carcharor, tra mae gobaith am ei ryddhad. Ond y mae yn rhaid eich bod chwi yn golygu rhywbeth llawer pellach na hyn, pan ydych yn haeru "nad oedd Adda cyn ei gwymp, gyda golwg arno ei hun, ddim mwy mewn sefyllfa prawf nag y mae dynion yn bresenol dan yr efengyl." 'Feddyliwn i, y rhaid eich bod yn tybied, nad oedd gan Adda allu i gydweddu â thelerau cyfammod Eden, neu fod gan ddyn yn bresenol ddigon o allu i gydweddu â thelerau yr efengyl, yr hyn sydd hollol wrthwyneb i dystiolaeth y beibl.

*Gwran.* Wel, sefyllfa o obaith ynte. Pa fodd y mae gobaith i ddynion, mwy na chythreuliaid, os na bu Crist farw trostynt?

*Preg.* Fod gobaith yn cael ei osod o flaen holl wrandawyr yr efengyl, ac mai yr Arglwydd Iesu Grist yw ein gobaith, sydd sicr genyf. Y mae yn sicr genyf hefyd mai tros ei eglwys, ac nid tros neb arall, y rhoddes efe ei hun; mai dros y defaid, ac nid tros y geifr, y rhoddes y Bugail da ei einioes. Y mae yn wirionedd amlwg hefyd yn y beibl, nad oes un llwybr i bechadur fod yn gadwedig ond trwy angeu Crist. Ond *pa fodd* y mae y rhai na bu Crist farw trostynt yn garcharorion gobeithiol, yn wir ni wn i ddim.

*Gwran.* Prin y buaswn yn dysgwyl y fath ateb genych chwi, *a chwithau yn bregethwr.* Naill ai danghoswch gysondeb eich cyfundraith yn dêg, ai rhoddwch hi i fyny,

a chyfaddefwch mai y Ffwleriaid sydd yn eu lle, a'ch bod chwithau a'ch brodyr wedi camgymeryd. Ac, yn wir, ni fyddai raid i chwi ddim cywilyddio wrth newid eich *system:* canys y mae y dynion mwyaf yn newid eu barn; a phan y mae dyn yn cael ei argyhoeddi o'i gamsyniad, peth boneddigaidd ydyw iddo addef hyny y'ngŵydd y byd.

*Preg.* 'Rhoswch, peidiwch â myned yn mlaen y ffordd yna yn rhy ffest, rhag mai "â pha fesur y mesuroch," &c. Os oedd gwaith Duw yn cau'r Iuddewon mewn anufydddod fel y trugarhäai wrth bawb, yn ddyfnder na oddefai sobrwydd yr apostol Paul iddo broffesu gallu ei blymio; ai mawr yw i ryw bryfedach, fel nyni, gyfaddef ein hanwybodaeth yn mhethau mawrion Duw?

Yr wyf fi, fel chwithau, yn meddwl, pan y mae pregethwr yn cael ei argyhoeddi o ryw gyfeiliornad a daenwyd ganddo, y byddai nid yn unig yn foneddigaidd, ond hefyd yn ddyledswydd arno, ei alw yn ol, a byddai yn bechod iddo beidio â gwneyd hyny.

Ond chwareu têg i'r pregethwr hefyd. Cyn ymwrthod âg un gyfundraith, oblegid unrhyw anhawsdra, fe ddylai, o leiaf, gael ei argyhoeddi fod y gyfundraith newydd yn glir oddiwrth yr un fath anhawsdra, onidê ni bydd ond man a man yn y diwedd. Yn awr, gofynaf, Ai nid ydych chwi yn golygu fod etholedigaeth mor anhebgorol angenrheidiol i iachawdwriaeth, fel nas gall y bydd neb yn gadwedig, ond a etholwyd cyn dechreu y byd?

*Gwran.* Wel, ydw! Ac y mae Mr. R. yn dywedyd, "fod yn anmhosibl i Dduw achub un pechadur, ond yn ol ei arfaeth dragwyddol."*

*Preg.* Yrŵan, dyma'r pwynt. Gan nad yw bosibl, yn ol eich *system* chwi eich hun, yr achubir neb ond a etholwyd, *pa fodd* y mae y rhai ni etholwyd mewn sefyllfa o obaith, mwy na'r anetholedig angelion?

*Gwran.* Y mae yr iawn yn golygu y rhwystr o du Duw, neu, yn hytrach, o du y llywodraeth foesol; ond y mae yr etholedigaeth yn golygu y rhwystr o du y pechadur. Gan hyny, os oes iawn wedi ei roddi tros bob dyn yn ddiwahaniaeth, y mae y rhwystr o du Duw, neu o du y llywodraeth foesol, wedi ei dynu oddiar ffordd pob dyn i gael ei achub: ac er na byddo dyn wedi ei ethol, ac na all fod

---

* Galw. Dif. tudal. 32.

yn gadwedig heb ei ethol, eto y mae yn hollol ddiesgus, oblegid mai ei fai ef ei hun yw yr unig rwystr.

*Preg.* Y mae y ddwy blaid yn cytuno, y bydd dyn byth yn ddiesgus gerbron Duw, ac y buasai ef felly pe na buasai iachawdwriaeth yn bod. Y cwestiwn presenol yw, nid pa fodd y mae dynion yn *ddiesgus*, ond pa fodd y mae dynion mewn *sefyllfa o obaith?* Os oes rhwystr anorfod, pa un bynag ai o du y llywodraeth foesol, ai o ryw du arall, os oes rhwystr anorfod, meddaf, i'r carcharor ddyfod yn rhydd, pa fodd y gellwch ei alw yn garcharor gobeithiol?

*Gwran.* Wel, a ydyw gwrandawyr efengyl ddim yn garcharorion gobeithiol ynte?

*Preg.* Os gwelwch yn dda gadw at y pwynt. Yr ydym ein dau yn addef fod holl wrandawyr efengyl mewn sefyllfa o obaith: ond, o herwydd i chwi awgrymu y dylwn i ddangos pa fodd y mae hyny yn gyson â'r rhan arall o'm credo, neu ei roddi heibio a dewis yr eiddoch chwi, yr wyf finau, yn fy nhwrn, yn dychwelyd y *compliment*.

Ond i ddyfod yn nes eto. Y mae Mr. R. wrth ddangos y gwahaniaeth rhwng ei farn ef a'r eiddo yr Arminiaid, yn dywedyd fel hyn, "Nis gallaf amau fod Iesu wrth farw yn edrych ar yr etholedigion fel rhan neillduol o wobr ei lafur; ac mai gyda golwg ar hyn y dywedir iddo roddi ei einioes dros y *defaid*, ac iddo brynu ei *eglwys* â'i briod waed."† Yn agos i'r un pwrpas y dywed Mr. Williams, o'r Wern, (gŵr ag y mae genyf lawer o barch iddo ar amryw gyfrifon) yn ei sylwadau ar iawn Crist. "Yr oedd gan Grist, yn ei holl ddyoddefiadau, olwg neillduol ar yr etholedigion. Ac yn yr ystyr yma, yn ol amcan arfaethol Duw, (ond nid felly yn ol ei amcan llywyddol,) yr oedd marwolaeth Iesu yn neillduol dros *ei eglwys*, dros *ei ddefaid*, dros *y rhai a roddwyd iddo gan y Tad*." ‡ Meddyliwn na wnawn gam â'r awdwyr hyn wrth ddywedyd eu bod yn golygu fod Crist wedi marw *mewn rhyw ystyr neillduol* dros ei eglwys, neu ei ddefaid. Yrŵan, er fod Crist (yn ol y *system* Ffwleraidd) wedi marw trosof fi, cyn belled ag i mi gael fy nwyn i fod,—cyn belled ag i mi gael ychydig o flyneddoedd i fyw ar y ddaear,—cyn belled ag i mi gael pregethu yr efengyl yn fy nghlywedigaeth,—a chyn belled ag i mi gael fy ngosod mewn sefyllfa o brawf; eto, os nad ydych yn dyweyd ei fod wedi marw trosof fi

† Galw. Dif. tudal. 30, 31. ‡ Eto, tudal. 81.

*yn yr ystyr* ag y bu farw tros ei eglwys, pa obaith am iachawdwriaeth yr ydych yn ei osod o'm blaen, mwy na phe dywedech na bu farw trosof mewn un ystyr?

*Gwran.* Och fi, ni ddywedwn i ddim wrth neb, na bu Crist farw trosto yn yr ystyr ag y bu farw tros ei eglwys?

*Preg.* Na wnaech, mi wn; ac ni ddywedwn inau, ar un cyfrif, wrth neb, nad yw wedi ei ethol yn, a'i brynu gan Grist; a phe gwnawn, byddwn yn euog o ruthro dyweyd peth na wyddwn, yr hyn ni fyddai well na dywedyd celwydd, tan rith bod yn genad tros Grist. Ac y mae yn ymddangos i mi mor gyson i'r Calfinistiaid, ag ydyw i'r Ffwleriaid, wahodd pawb i ddyfod at Grist am iachawdwriaeth. Os dywed yr olaf fod digon yn Nghrist i bechadur, ac na wrthodir mo'r hwn a ddel; felly y dywed y cyntaf: ac os dywed y cyntaf na bu farw dros y rhai a ddemnir byth, dywed yr olaf na bu farw drostynt *yn yr ystyr* ag y bu farw tros ei eglwys.

Yn awr, gan eich bod yn pwyso cymaint ar y *pa fodd* am bob peth, gofynaf pa fodd y mae yr anetholedig mewn sefyllfa o obaith am y pethau sydd yn dyfod yn unig i'r eglwys trwy farwolaeth Crist, ac yntau heb farw trostynt hwy yn yr ystyr ag y bu farw tros yr eglwys? Drachefn, pa fodd y mae yn gyson i chwi ddywedyd nad oes un rhwystr o du y llywodraeth foesol i'r anetholedig gael ei gadw, a chwithau yn addef na chafodd hi erioed iawn trostynt yn yr ystyr ag y cafodd iawn tros y rhai a gedwir? Pan ateboch y cwestiynau hyn i foddlonrwydd, efallai y gallwn inau ateb y cwestiwn "Pa fodd y mae gobaith i'r rhai na bu Crist farw trostynt, mwy nag i'r cythreuliaid?"

*Gwran.* Braidd na feddyliwn i mai'r Arminiaid sydd yn ymdaro oreu yn wyneb yr anhawsdra yma, canys y maent hwy yn gwadu pob neillduolrwydd yn yr iawn, ac yn gwadu etholedigaeth hefyd.

*Preg.* Y cwbl y mae yr Arminiaid yn ei ennill ar y pen hwn, wedi myned ar draws tystiolaethau amlwg y beibl am etholedigaeth, &c., yw taflu yr anhawsdra dipyn yn mhellach; ac er nad yn yr un man, eto, gyda llawn cymaint, os nad mwy o rym, y mae y peth yn eu cyfarfod hwy, ag y mae yn ein cyfarfod ninau. Y mae yr Arminiaid yn gyffredin yn dal fod Duw yn hollwybodol, a chan hyny ei fod yn gwybod y diwedd o'r dechreuad, ac felly yn gwybod erioed pwy a fyddant gadwedig; o ganlyniad rhaid fod, y cedwid y rhai a fyddant gadwedig, yn beth

sicr er tragwyddoldeb. Nid wyf yn dywedyd mai rhagwybodaeth sydd yn sicrhau dygiad unrhyw beth i fod, ond y mae gwybodaeth o beth, pa un bynag a fyddai ai rhagwybodaeth, presenol wybodaeth, neu ol wybodaeth, yn rhagdybied fod y peth a wybyddir yn sicr o fod, amgen nid *gwybodaeth* a fyddai, ond *tybiaeth*. Felly, er nad rhagwybodaeth sydd yn gwneyd y bydd y rhai a ragwybuwyd yn gadwedig, eto, y mae rhagwybodaeth yn profi fod achubiaeth y gwrthddrychau hyn yn beth hollol sicr.

*Gwran*. Prin iawn yr wyf yn gallael eich dylyn. Pe gallech gael rhyw lwybr i ddywedyd yn eglurach, byddai dda genyf.

*Preg*. Yr oedd y proffwydi, trwy ysbrydoliaeth Duw, yn rhagwybod dyfodiad y Messia; gan hyny, rhaid fod dyfodiad y Messia yn beth sicr o gymeryd lle; pe amgen, tyb neu opiniwn, ac nid gwybodaeth, a fuasai gan y proffwydi am dano. Felly, os addefir fod nifer a phersonau y rhai a gedwir wedi eu rhagwybod erioed, y mae yn rhaid ei fod yn beth sicr erioed pwy a gedwid, onidê rhaid newid y gair *rhagwybodaeth*, a chymeryd y gair *rhagdybiaeth* yn ei le. Yn awr, er nad oedd rhagwybodaeth y proffwydi yn achos o sicrwydd dyfodiad y Messia, eto, yr oedd yn brawf o'r peth: felly, er nad ydyw rhagwybodaeth Duw yn achos, eto, y mae yn brawf o sicrwydd cadwedigaeth y rhai a gedwir; ac felly, rhaid i'r Arminiaid naill ai gwadu fod Duw yn hollwybodol, ai addef fod yn sicr erioed y cedwid y rhai a fyddant cadwedig: pa beth a ddywedant sydd yn sicrhau hyny, nis gwn, gan eu bod yn gwadu rhagluniad ac etholedigaeth: ond y mae yn llawn mor anhawdd iddynt hwy ateb y cwestiwn—Pa fodd y mae neb mewn sefyllfa o obaith, ond "y rhai a ragwybu efe?" ag ydyw i ninau ateb y cwestiwn, Pa fodd y mae neb mewn sefyllfa o obaith, ond y rhai a etholodd ac a brynodd efe?

Bellach rhaid i mi roddi heibio am y tro hwn eto. Chwi a gofiwch mai swm yr hyn a geisiais ei ddywedyd yn ein hymddyddan presenol, yw hyn—

1af. Yr wyf yn credu fod y rhai oll a gedwir, a hwy yn unig, wedi eu hethol yn Nghrist cyn dechreu'r byd, a'u prynu ganddo â'i werthfawr waed.

2il. Yr wyf yn coelio fod holl wrandawyr efengyl mewn sefyllfa o obaith; gelwir hwy "Carcharorion gobeithiol." Gosodir o'u blaen ffordd einioes a ffordd angeu: ac y mae

dyn yn weithredydd hollol rydd wrth ddewis y naill neu y llall; nid oes dim trais yn cael ei arfer tuag ato mewn un modd: ac felly pwy bynag a wrthodo iachawdwriaeth, bydd y bai yn gorwedd wrth ei ddrws ef ei hun yn dragywydd.

3ydd. Y mae yn sicr genyf fod y pethau hyn, fel y mae holl ganghenau athrawiaeth y beibl, yn berffaith gyson â'u gilydd.

4ydd. Ond *pa fodd* y maent yn gyson, yr wyf yn cyfaddef fy mod yn rhy fychan o ysgolhaig yn mhethau mawrion Duw, i allu ateb y cwestiwn. Ac er fod Arminiaid a Ffwleriaid yn llafurio yn galed, a hyny, i'm tyb i, ar gost llawer o ysgrythyrau pendant, i fod yn glir oddiwrth y fath anhawsdra, nid yw eu holl lafur yn y diwedd ond siomedigaeth.

*Gwran.* Pe buasai amser, buasai yn dda genyf gael ymddyddan â chwi am *natur yr iawn;* ond y mae y prydnawn wedi darfod y'mron heb yn wybod i mi, am hyny y mae yn rhaid oedi yr ymddyddan tan gaffom weled ein gilydd eto. Nos da'wch.

*Preg.* Nos da'wch.

---

## YMDDYDDAN IX.

---

### NATUR YR IAWN.—PA BETH NID YW.

*Pregethwr.* Ho, fy hen ffrynd, y mae yn dda iawn genyf eich gweled: yr oeddwn yn arofyn d'od i edrych am danoch, canys ofnwn eich bod yn sâl, am na welswn chwi er's wythnosau.

*Gwrandawr.* Yr wyf fi, o drugaredd, yn cael iechyd go dda, diolch i chwi am eich gofal ar yr un pryd; ond, yn wir, ni fûm i nemawr o'r tŷ i weled neb er pan welais chwi o'r blaen, canys daeth i'm llaw draethawd rhagorol Mr. Jenkyn, gynt o Groesoswallt, ar "Natur a Helaethrwydd Iawn Crist," a phenderfynais ddefnyddio pob hamdden a allwn gael, i'w ddarllen, nes myned trwyddo; ac nid yw edifar genyf; canys ni welais ddim o'r fath yn dangos yr iawn, i'm tyb i, mor ogoneddus: y mae yn dda gan fy nghalon i ei fod yn cael ei gyfieithu i'r Gymraeg. A welsoch chwi erioed mo'r llyfr?

*Preg.* Do, mi gwelais ef, ac a'i darllenais ef trwyddo; ac y mae yn ddrwg genyf na allaswn gyduno â chwi yn y ganmoliaeth a roddwch iddo; ond ni fyddai genyf finau nemawr o wrthwynebiad iddo gael ei gyfieithu i'r Gymraeg, pe cyfieithid gydag ef yr adolygiad rhagorol arno, a ymddanghosodd yn y *Presbyterian Review*, am Ionawr diweddaf,§ i'w gyhoeddi yn un llyfr.

*Gwran.* Yn enw dyn, pa beth a all fod genych yn erbyn gwaith mor ardderchog?

*Preg.* Y mae Mr. Jenkyn, i'm tyb i, yn adeiladu ei holl gyfundraith ar sylfaen ddrwg, hyny yw, y mae ei ddarnodiad o iawn yn annghywir; ac yr wyf yn meddwl fod hyn yn ei arwain i gamsyniadau aneirif.

*Gwran.* Dyna gyhuddiad pwysig yn wir; ond ei brofi yw'r peth, ac nid ei haeru.

*Preg.* "Iawn (medd Mr. J.) ydyw dyfais (*expedient*) a osodir yn lle cyflawniad llythyrenol y gosp, fel ag i roddi i'r llywodraeth seiliau cyfiawn a da i gyfranu ffafrau i'r troseddwr." A thrachefn, "Y mae iawn, yn ngweinyddiad llywodraeth, yn arwyddo unrhyw beth a all gyfiawnhau ymddwyn yn hynaws a thrugarog, heb lacâu rhwymau awdurdod gyfiawn," tudal. 3.

Yn awr, os dichon i beth gyfateb i'r darnodiad hwn o iawn, ac eto heb fod yn iawn, rhaid fod y darnodiad yn annghywir. Gadewch i ni chwilio'r peth: y mae yn hen arferiad, pan droseddo llawer o filwyr yn erbyn y llywodraeth, i ddewis un o bob deg o honynt, wrth goelbren, i gael eu cospi, ac arbed y gweddill, yr hyn a elwir *Decimation*. Y mae hyn yn *expedient* a osodir yn lle cyflawniad llythyrenol y gosp ar yr holl droseddwyr, fel ag i roddi i'r llywodraeth seiliau cyfiawn a da i arbed y gweddill; ond pwy a feddyliodd erioed am alw hyny yn iawn am fywyd y gweddill? Tybiwch drachefn, y byddai rhyw ran o ddeiliaid ei mawrhydi yn codi yn wrthryfelwyr; ac, wedi eu profi yn euog, y byddai y frenhines yn gweled yn dda bardynu y cwbl, oddieithr ychydig o flaenoriaid y gwrthryfel, pa rai a grogir er esiampl i ereill: y mae hyn yn rhyw beth i gyfiawnhau ymddwyn yn drugarog at y cyffredin o'r troseddwyr, heb lacâu rhwymau awdurdod gyfiawn; ond cosp eto am eu bai eu hunain yw crogi yr ychydig, ac nid iawn am drosedd y llawer.

§ Sef y rhifyn am Ion. 1839.

Pan oedd Æschylus wedi ei gondemnio, yn senedd Athen, i'w labyddio am gabledd, daeth ei frawd Amyntas, yr hwn a gollasai ei law wrth ymladd yn mhlaid ei wlad, yn mrwydr Salamis, ac a gododd i fyny ei fraich anafus yn y senedd, yr hyn a wnaeth y fath argraff ar feddyliau y barnwr, fel y rhyddhawyd y troseddwr yn y fan. Yr oedd yma ryw beth i gyfiawnhau bod yn drugarog wrth y troseddwr, heb lacâu rhwymau awdurdod gyfiawn, sef y gwasanaeth mawr a wnaethai ei frawd i'r wladwriaeth, a hyny ar gost ei aelod ei hun; ond nid oes neb mor ffol a dyweyd mai gwneyd iawn tros fywyd ei frawd yr oedd Amyntas, pan gollodd ei law yn y frwydr.

Y mae yr holl bethau sydd yn ol darnodiad Mr. J. yn hanfodol i iawn, i'w canfod yn mhob un o'r tri amgylchiad a enwais; ond eto, nid oes, mewn gwirionedd, ddim iawn yn yr un o honynt; gan hyny, rhaid fod darnodiad Mr. J. yn annghywir. Tybygwn fod hyn wedi dyrysu yr awdwr i'r fath raddau, fel y mae yn dychymygu gweled iawn lle nad yw, ac yn methu â'i ganfod lle y mae.

1af. Y mae yn dychymygu gweled iawn lle nad yw. Pan oedd Zaleucus, brenin y Locriaid, wedi sefydlu cyfraith i bob godinebwr golli ei ddau lygad, a chael ei fab ef ei hun yn gyntaf yn y trosedd; i'r dyben i anrhydeddu ei gyfraith, ac i gadw ei fab rhag hollol ddallineb, penderfynodd y brenin fod y mab i golli un llygad, ac yntau ei hun i golli y llall. "Yr argraff ar feddwl y cyffredin, (medd Mr. J. wrth ddefnyddio yr esiampl hon i osod allan natur iawn Crist,) yr argraff ar feddyliau y cyffredin a fyddai, fod yr *expedient* hyn o eiddo y tad yn iawn am drosedd y mab, ac yn sail gyfiawn ac anrhydeddus i faddeu iddo;" ond ni welwn i yn fy myw fod yma iawn yn cael ei roddi gan y naill, na maddeuant ychwaith yn cael ei weinyddu i'r llall. Disynwyr y gwelaf fi ddyweyd fod y llywodraeth yn derbyn iawn gan y dirprwywr, ac yn maddeu i'r troseddwr, a hithau yn cymeryd llygad yr olaf allan o'i ben.

*Gwran* Wel, yr oedd y peth yn iawn mewn rhan, er nad yn gyflawn.

*Preg.* Y mae y gair iawn mewn ymddyddan cyffredin, yn gystal ag yn yr ysgrythyrau, yn cario y meddylddrych o berffeithrwydd, hyny yw, fod y peth a roddir ac a dderbynir dan yr enw iawn, yn ateb y dyben yn berffaith yn lle yr hyn a ofynir yn wreiddiol: os gwna hyn, y mae yn

iawn cyflawn; os na wna, nid yw yn iawn oll. Nid oes dim lle canol i fod rhwng perffaith, a dim, iawn. Ond gadewch i ni dybied, heb ganiatau, y gall y fath beth fod a iawn mewn rhan, a bod gwaith Zaleucus yn ymadael â'i lygad yn raddau o iawn am drosedd ei fab; y canlyniad ydyw, mai i'r graddau yr oedd dyoddefaint y tad yn iawn, yr oedd arbediad y mab yn sicr: gan iddo ef ymadael âg un o'i lygaid, yr oedd arbediad un o lygaid y mab yn sicr; a phe buasai ef yn ymadael â'i ddau lygad, buasai y peth yn iawn cyflawn, a buasai yn sicrhau arbediad dau lygad y mab. Yn ol yr egwyddor hon, pe buasai dyoddefaint Crist ond iawn *mewn rhan* dros y troseddwyr, buasai yn sicrhau i'r personau hyny faddeuant *mewn rhan*, a graddau o arbediad oddiwrth y gosp; ond gan iddo roddi iawn *perffaith* trwy ddyoddef y gospedigaeth *yn gyflawn* yn lle troseddwyr, y mae y troseddwyr hyny yn sicr o faddeuant ac arbediad *cyflawn*. Pe caniatâi Mr. J. hyn (ac yn wir nis gwn pa fodd y gall yn rhesymol beidio â'i ganiatau, pan y mae yn dal fod trososodiad Crist yn lle pechaduriaid yn debyg i drososodiad person a dyoddefaint Zaleucus, yn lle hollol ddalliad ei fab.) Pe caniatâi Mr. J. hyn, meddaf, er na allwn gydweled âg ef yn ei ddarnodiad o'r gair iawn, eto, yr wyf yn meddwl y byddai y ddadl o berthynas i wrthddrychau yr iawn yn agos ar ben.

2il. Mae Mr. J. yn methu canfod iawn lle y mae. "Pe cawsai Darius (medd ein hawdwr) ryw un a fuasai yn foddlawn i gymeryd ei daflu i ffau y llewod yn lle Daniel, ac i ddyoddef y gosp fygythiedig yn llythyrenol, ni allasai byth olygu hyny yn iawn i gyfreithiau y Mediaid a'r Persiaid." Ond yr wyf fi yn methu dirnad pa fodd y mae'r awdwr yn gallu dyfod i'r fath benderfyniad, oddieithr ei fod yn ystyried fod cyfraith y Mediaid a'r Persiaid yn fwy annghyfnewidiol na chyfraith Duw ei hun. Drachefn, pan oedd Damon y philosophydd wedi ei gondemnio i farw gan Dionysius y gormesdeyrn, cafodd ganiatad i fyned adref i drefnu ei dŷ, trwy i Pythias, ei gyfaill, ymrwymo i farw yn ei le, os na ddychwelai erbyn yr amser penodol. Ond dychwelodd Damon yn gymhwys erbyn yr awr. Boddlonwyd Dionysius gan y fath arwydd o gyfeillgarwch, yn gymaint fel y rhyddhaodd y ddau, ac y dymunodd o hyny allan gael bod yn un o'u cyfeillion. Wrth son am yr esiampl hon, dywed Mr. J., "Nid yw yr amgylchiad hwn yn gymharol â thrososodedigaeth Crist yn lle pechaduriaid,

ond yn unig yn yr egwyddor o drososodedigaeth," dal. 35. Ni bu un amgylchiad erioed yn gymharol yn mhob peth â gwaith Crist yn rhoddi ei einioes dros ei gyfeillion: ond yr wyf yn synu fod Mr. J. yn methu â gweled dim cymharoldeb rhwng yr amgylchiad dan sylw, ond yn unig yn yr egwyddor o drososodedigaeth. Pa beth! ai nid marwolaeth oedd y gosp ag yr oedd y troseddwr yn rhwym iddi yn y ddau amgylchiad? Ai nid cariad at y condemniedig a barai i'w gyfaill roddi ei hun yn ei le yn y naill amgylchiad a'r llall? A phe buasai Pythias farw, oni buasai ef yn iawn dros drosedd ei gyfaill? ac onid "Efe (Iesu Grist) yw'r iawn dros ein pechodau ni?" A ydyw y ddau amgylchiad, attolwg, ddim yn gymharol â'u gilydd yn y pethau hyn? "Oblegid braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn, oblegid dros y da ysgatfydd fe feiddiai un farw hefyd." (Os nad oedd yr apostol yn meddwl yn bendant am Damon a Pythias wrth lefaru y geiriau hyn, y mae yn rhaid ei fod yn golygu rhyw amgylchiad cyffelyb.) "Eithr y mae Duw yn canmol ei gariad tuag atom, oblegid â nyni eto yn bechaduriaid, i Grist farw drosom ni," Rhuf. v. 7, 8. Ni fedrai Paul gael un gymhariaeth gymhwysach i osod allan waith Crist yn marw trosom ni, na gwaith y naill gyfaill yn beiddio marw tros y llall; ond y mae Mr. J. dybygid, wedi dyfod o hyd i gymhariaeth well, sef gwaith Zaleucus yn ymadael âg un o'i lygaid i'r dyben i arbed un o lygaid ei fab! Nid wyf yn meddwl i un Calfinistiad erioed, wrth ddefnyddio y gymhariaeth hon, olygu fod dim tebygolrwydd rhwng Duw a'i ddeddf a Dionysius a'i gyfraith, nac y buasai cospi Pythias yn lle Damon yn peri dim parch yn Damon at Dionysius a'i gyfraith, fel y mae iawn Crist yn peri parch yn y sawl y bu farw trostynt at Dduw a'i gyfraith; canys edrychodd Duw iddo ei hun am un yn lle y troseddwr, yr hyn nis gwnaeth Dionysius. Ond eto, cyn belled a bod bywyd yn cael ei ofyn—cyn belled a bod un yn beiddio rhoi ei hun yn iawn trwy farw tros arall—a chyn belled a bod hyn yn cael ei wneyd oddiar gariad, y mae y ddau amgylchiad yn gymharol â'u gilydd.

*Gwran.* Rhaid i ni gofio mai fel llywodraethwr yn ymwneyd â'i ddeiliaid y mae Duw yn gosod ac yn derbyn iawn—yn cospi ac yn maddeu; ac nid fel gŵr yn ymwneyd âg arall am ddyled arianol.

*Preg.* Y mae Mr. J. wedi rhoddi y rhan fwyaf o'i

draethawd hirfaith i drin a throi—i gondemnio a llabyddio yr hyn a eilw yn iawn masgnachol; ond y mae yn ymddangos i mi, wedi ei holl drafferth, nad ydyw y peth ond delw o gerfiad dychymyg y gŵr ei hun, canys nid wyf yn meddwl i neb o'i wrthwynebwyr erioed alw iawn Crist yn iawn masgnachol. Ond os ydyw gwaith dynion yn prynu gan, yn mechnïo tros, ac yn talu neu'n maddeu i'w gilydd, yn ddiffygiol i osod allan yr iawn a'i berthynasau, onid yw pob llywodraeth ddynol yr un mor ddiffygiol? A thra mae Mr. J. mor hyf i gyhuddo ei wrthwynebwyr o osod yr iawn allan fel peth masgnachol, onid yw ef ei hun yn ei ddarnodi fel peth gwladyddol? Ac onid yw y naill mor ddynol a'r llall? Yn wir yr wyf yn meddwl yr arferir y dull cyntaf o lefaru am dano yn y beibl yn amlach na'r olaf.

*Gwran.* Yr wyf fi yn ystyried mai'r un yw egwyddor pob llywodraeth dda yn mhlith dynion a llywodraeth Duw ei hun; neu, mai llywodraeth Duw mewn mânddarlun (*miniature*) yw pob llywodraeth dda yn mhlith dynion.

*Preg.* Y mae rhagor rhwng llywodraeth Duw, a'r llywodraeth oreu yn mhlith dynion, yn ei dyben; ac y mae y rhagoriaeth hyn yn cario trwy holl weinyddiad y llywodraeth i gyd.

1af. Dyben eithaf llywodraeth wladol yw daioni y wladwriaeth. Dyma *standard* sydd i fod mewn golwg wrth ffurfio ac wrth weinyddu cyfreithiau. Wrth ystyried hyn, y mae pob llywodraeth dda yn gweled weithiau mai gwell cospi heb arbed, am y byddai arbed yn peryglu daioni y genedl—weithiau ystyrir mai gwell cospi rhai, ac arbed y lleill a gaffer mewn gwrthryfel, am y byddai cospi y cwbl, yn ol llythyren y gyfraith, neu arbed y cwbl, yn tueddu at niweidio y wladwriaeth; ac weithiau gwelir mai gwell maddeu heb na iawn nac arall, oblegid yr ystyrir fod hyny yn tueddu at ddaioni y genedl, yn hytrach na chospi, yn yr amgylchiad hwnw. Pa bryd bynag y gwelir fod llythyren y gyfraith, a'r daioni cyffredin, yn myned yn erbyn eu gilydd, rhaid i'r cyntaf ildio, ac onidê bydd yr hen ddiareb, "Eithaf cyfraith, eithaf camwedd," yn cael ei gwirio.

2il. Ond y dyben eithaf yn llywodraeth Duw ydyw gogoniant y Llywodraethwr. Ni byddai i holl ddeiliaid llywodraeth Duw i gyd gael eu taflu i'w diddymdra dechreol, ond peth bychan, mewn cymhariaeth iddo ef fod yn ol o'i ogoniant. Pan mae dynion yn llacio, neu yn diddymu dedfryd cyfraith, rhaid naill ai eu bod hwy yn gwneyd yn

annghyfiawn, neu fod anmherffeithrwydd yn nghyfansoddiad y gyfraith: os yw daioni y genedl yn galw am y fath beth, y maent yn gwneuthur yn dda beidio â dylyn llythyren y ddeddf; ond y mae yr amgylchiad yn profi anmherffeithrwydd y ddeddf; ac y mae anmherffeithrwydd yn mhob deddf ddynol, oblegid na all un deddfroddwr yn mysg dynion ragweled pob amgylchiad ag y gall y deiliaid fod ynddo. Felly hefyd, pe bai dedfryd deddf Duw yn cael ei llacio neu ei diddymu mewn un amgylchiad, parai hyny gwmwl naill ai ar ei uniondeb fel gweinyddwr, neu ar ei gyfiawnder a'i ddoethineb fel gwneuthurwr deddf. Yn awr, gan fod gogoniant priodoliaethau Duw yn nglŷn wrth ei ddeddf, yn mherffeithrwydd ei chyfansoddiad yn gystal ag yn uniondeb ei gweinyddiad, "y mae yn haws i'r nef a'r ddaear fyned heibio, nag i un iot, nac i un tipyn o'r gyfraith ballu." ¶

*Gwran.* Wel, y mae llywodraeth wladol yn ymgais at weinyddu cyfiawnder, a chospi y troseddwr yn ol haeddiant ei fai: pa beth yn rhagor sydd yn llywodraeth y Nef?

*Preg.* Darllenais yn ddiweddar am farnwr, wrth gyhoeddi dedfryd alltudiaeth ar leidr, yn dywedyd ei fod yn ei ddyfarnu i alltudiaeth, nid am ladrata, ond, yn hytrach, fel na ladretid; fod ganddo lys uwch i ateb ynddo, ac i dderbyn ei dâl o hono am ei weithredoedd; ond fod cyfraith ei wlad yn galw am alltudiaeth er esiampl, fel na ladretid eiddo'r trigolion. Yr wyf fi yn cydweled â'r barnwr hwnw, nad mewn ffordd o ddial ar y troseddwr am y drwg a wnaeth, ond, yn hytrach, mewn ffordd o'i wneyd yn esiampl, a'i rwystro i wneyd drwg rhagllaw, y mae y llywodraeth wladol yn cospi. Ni pherthyn i ddynion dalu dial i'w gilydd am feiau, oblegid y mae Duw yn hòni hawl i hyn fel peth sydd yn perthyn iddo ef yn unig: "I mi y mae dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd." Y rheswm mawr sydd yn cael ei roddi am y cospau trymion yn neddf Moses yw, nid fel y talech i'r troseddwr yr hyn a haeddai ei drosedd, ond, "fel y tynech y drwg o'th fysg." Ond y mae yn perthyn i Dduw, Barnwr pawb, nid yn unig osod y troseddwr yn esiampl er rhybydd i ereill, ond hefyd dalu i bob un yn ol ei weithred. "I mi y perthyn dial a thalu'r pwyth," &c., Deut. xxxii. 35—41. "Er mwyn

---

¶ Gwel tudal. 113, &c.

ei gyfiawnder, efe a fawrha'r gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus,'' Esay xli. 21.

*Gwran.* Ai nid rhyw beth a ddyfeisiwyd, fel sail i Dduw ar dir cyfiawn a diogel drugarhau wrth y neb y myno, yw yr iawn?

*Preg.* Pe dyben marwolaeth Crist (medd y Dr. Owen yn ei Draethawd ar Farwolaeth Crist), pe dyben marwolaeth Crist a fuasai ennill hawl i'w Dad, fel, er ei gyfiawnder, y gallai achub pechaduriaid, yna buasai farw i bwrcasu rhyddid i Dduw, yn hytrach na rhyddid oddiwrth ddrwg i ni; fel y byddai i'w Dad allu ymryddhau o'r sefyllfa yn mha un yr oedd yn anmhosibl iddo wneyd yr hyn a ewyllysiai, a'r hyn yr oedd ei natur yn ei dueddu i'w wneuthur, ac nid fel y byddai i ni gael ein rhyddhau,'' &c. Ni welaf un rheswm, yn ol eich golygiad chwi, i ddywedyd iddo ddyfod i brynu ei bobl oddiwrth eu pechodau, ond yn hytrach i bwrcasu rhyddid i'w Dad. Yn awr, yn mha le yn yr ysgrythyr y mae y fath haeriad? Dywedir iddo fyned i mewn i'r cysegr trwy ei waed ei hun, "gan gael *i ni* (nid *i Dduw*) dragwyddol ryddhad.''

*Gwran.* Ond gwrandewch chwi ar ymresymiad Mr. J. wrth ddangos yr iawn fel mesur yn ngweinyddiad llywodraeth. "Nid yw penog gwladwriaeth, neu brif weinydd llywodraeth, yn berson ar ei ben ei hun, ond swyddog cyhoeddus. Fel person neillduol, gallai fod yn dueddol i wneyd llawer peth ag y byddai anrhydedd ei swydd gyhoeddus yn gwahardd iddo ei wneyd. Gan hyny, er cymodi gweithrediad ei duedd bersonol â'i swyddogaeth gyhoeddus, rhaid cael rhyw ddyfais i ddiogelu anrhydedd y llywodraeth wrth ddangos ffafr i'r troseddwr. Y mae'r egwyddor hon yn cael ei chymeryd i fyny yn ymarferol bob dydd yn nysgyblaeth plant mewn teulu,'' &c. tudal. 3.

*Preg.* Pa fodd y mae egwyddor yr iawn yn cael ei chymeryd i fyny yn ymarferol yn nysgyblaeth plant mewn teulu?

*Gwran.* Tybiwch amgylchiad fel hyn: Pan oeddych wedi gorchymyn i'r plant beidio dringo'r pren afalau dan boen cospedigaeth, daeth Thomas atoch, dan gyfaddef yn edifeiriol ei fod ef wedi troseddu, nes bod eich ymysgaroedd tadol yn gwresogi tuag ato. Ond y pwnc ydyw, pa fodd i beidio cospi'r troseddwr heb beryglu eich llywodraeth chwi fel penteulu? Ond dyma Joseph, eich mab hynaf, (yr hwn sydd bellach yn ddyn,) yn cymeryd arno

ei hun ymddangosiad o gospedigaeth megys yn lle Thomas. Yn awr, y mae hyn yn gwneyd cystal argraff o ddrwg y bai, ac o'ch awdurdod chwithau ar feddyliau y plant, a phe buasech yn cospi y troseddwr; ac ar y sail hon yr ydych yn maddeu iddo.

*Preg.* Y mae hyny yn ateb y dyben tra parhao y brodyr ieuangaf i feddwl mai y gosp mewn gwirionedd a ddyoddefodd y brawd hynaf; ond y fynyd y deallont mai rhywbeth yn lle cosp a roddwyd arno, y mae'r amcan wedi ei ddyrysu. Bwriwch y byddai Jenkyn yn dyweyd wrth y plant ereill fel hyn, "Nid oedd y peth a gafodd Joseph ddim yn gosp, nid oedd ddim ond rhywbeth i'n dychrynu ni. A phe buasai nhad ei hun, a neb arall, yn gweled Thomas yn dringo'r pren, ac yn sicr ganddo na buasai Thomas byth yn dyweyd wrth neb, fel y buasai'r peth yn cael ei gadw rhyngddynt hwy ill dau, nid wyf yn meddwl na buasai yn maddeu iddo yn y fan ar ei gyffes o edifeirwch, heb na chosp nac iawn. Nid yw nhad gymaint yn erbyn dringo'r pren, o ran y peth ynddo ei hun, ond ei fod am ddangos mai efe yw y meistr, i'n cadw ni wrth reol." Bellach, dyma'r plant yn deall y ddyfais, ac y mae hyny yn dyrysu holl amcan y peth.

Pe rhyw ddyoddefiadau llai na'r gosp haeddiannol am bechod a fuasai iawn y groes, i ateb dyben cosp, trwy roddi argraff moesol ar feddyliau dynion ac angelion o ddrwg pechod; yna y mae gwaith Mr. J. yn datguddio'r ddyfais, cyn belled ag y mae'n myned, yn dyrysu amcan y peth: oblegid pan y mae yn ein perswadio fod dyoddefiadau y meichai yn llai o ddyoddef nag a fuasai cosp y troseddwr, y mae yn gwneyd yr argraff o ddrwg y trosedd gymaint a hyny yn llai ar ein meddyliau, na phan oeddym yn ystyried y meichai wedi dyoddef eithaf y gosp. Felly, chwi a welwch fod dull Mr. J. o osod allan natur yr iawn, yn niweidiol pe byddai wir, ond yn waeth na hyny os ydyw yn gyfeiliornus.

*Gwran.* Byddai dda genyf pe gallech ddyweyd yn eglurach.

*Preg.* Golygiadau Mr. J. ar yr iawn (os nad wyf yn ei gamgymeryd) yw, fod Duw, fel Llywydd moesol, wedi bygwth cospi am bechod; a bod dynion wedi myned yn bechaduriaid, ac felly, yn ol llythyren y gyfraith, yn rhwym i gosp: ond fod Duw, o'i gariad at ddynion, wedi rhoddi ei ddoethineb ar waith i gael llwybr i'w harbed, heb beryglu

y llywodraeth foesol; a'r llwybr hwnw ydyw, i Fab Duw ddyfod i ganol y troseddwyr, a dyoddef peth mor debyg, o ran ymddangosiad allanol, i'r gospedigaeth a fygythiwyd yn erbyn y troseddwyr, fel ag i roddi argraff o ddrwg pechod ar feddwl y byd moesol, fel y gellid maddeu i'r troseddwyr heb beryglu'r llywodraeth. Wel, gellir dysgwyl i'r ddyfais ateb y dyben i wneyd yn ddrwg rhwng dynion a phechod, tra na welont yn mhellach nag ymddangosiad allanol y peth, hyny yw, tra parhaont i edrych ar ddyoddefiadau y Cyfryngwr fel cospedigaeth wirioneddol am bechod, ac felly i edrych ar gosp pechod yn beth o angenrheidrwydd. Ond yr aflwydd yw, fod Mr. J. wedi chwilio i mewn i'r ddyfais, a chael allan nad "cospedigaeth—oedd arno ef," er mai hyny oedd ymddangosiad allanol y peth, a bod y beibl yn ei alw felly; ond mai rhyw ddyfais oedd y cwbl i ddychrynu deiliaid y llywodraeth foesol oddiwrth eu pechodau. Ac y mae yn cyhoeddi i'r byd nad ydyw cosp yn angenrheidiol gysylltiedig â phechod—nad y gospedigaeth a ddyoddefodd y meichai—ac na ddyoddefodd gymaint ag a fuasai raid i'r troseddwr ei ddyoddef—ac yn wir y gallasai Crist wneyd iawn heb ddyoddef cymaint ag a ddyoddefodd. O ganlyniad, y mae'r argraff o ddrwg pechod yn lleihau ar feddyliau dynion i'r graddau ag y mae Mr. J. yn eu hargyhoeddi o wirionedd ei gyfundraith. Os nad oes perygl i ni feddwl yn rhy ddrwg am bechod, tybygid y buasai yn well i'r awdwr adael llonydd i ni feddwl ei fod yn beth a raid ei gospi, na cheisio ein darbwyllo fod llai na dyoddef y gosp yn ateb y dyben.

Pe gwir fyddai mai rhyw beth yn lle cospedigaeth pechod yw'r iawn, tebyg i'r hyn a weinydda tad ar ryw drydydd person, yn lle ceryddu plentyn anufydd, neu debyg i ymddangosiad o gosp a roddai llywodraethwr gwladol ar ddirprwywr, yn lle cospi y troseddwr, er gweithio yr un argraff ar feddyliau y deiliaid, o ddrwg y trosedd, a phe buasai y gosp ei hun yn cael ei rhoddi,—byddai *celiad* yn angenrheidiol i'r plan er dwyn y dyben o amgylch: ond y mae Mr. J. yn cyhoeddi y peth a ddylasai gael ei gelu; ac felly yn gwneyd cymaint a allo efe i ddyrysu yr holl blan i gyd.*

* Darllenais mewn newyddiadur, er's amryw fisoedd yn ol, fod gwr o'r enw F--- yn fyw, er ei fod wedi ei grogi er's llawer blwyddyn am *forgery*. Dywedid fod y swyddwyr gwladol ar y pryd yn mawr ddymuno arbed F---, ac i'r dyben i wneyd hyny heb beryglu'r llyw-

*Gwran.* Yr ydych yn ystyried, ynte, fod golygiad Mr. J. yn gywir, ond mai cyhoeddi y peth yw y drwg.

*Preg.* Na ato Duw i mi gynwys y fath olygiad am iawn ei Fab. Y mae yn rhoddi bychandra ar bechod, yn taflu diystyrwch ar yr iawn, ac yn cyhuddo y Gwirionedd ei hun o ragrith a thwyll. Yn wir y mae y golygiad yn rhy isel i deilyngu gwrthwynebiad, oni bai fod archwaeth dynion wedi llygru, fel nad yw llawer yn edrych pa beth a wrandawont, na pha fodd y clywont. Ond ar y dybiaeth fod golygiad Mr. J. yn gywir, yr wyf yn dywedyd fod y cyhoeddiad o natur a dyben yr iawn yn dyrysu yr amcan a briodola y gŵr ei hun i'r iawn—fod athrawiaeth y peth yn myned yn erbyn ymarferiad y peth—fod gwybodaeth o hono yn rhwystro teimladau priodol iddo; wrth ennill y pen, yr ydys yn colli y galon—wrth ennill y deall, yr ydys yn colli y serchiadau: gan hyny, yr wyf yn gwrthod y golygiad fel un twyllodrus ac annheilwng o Dduw'r gwirionedd.

Clywais fod y Doctor Channing (yr hwn sydd yn cael ei ystyried yn *champion* yn mhlith y Sociniaid) yn darlunio y golygiad Trinitaraidd ar yr iawn, fel rhyw grogbren mawr wedi ei godi yn nghanol y greadigaeth, i ddychrynu dynion ac angelion at eu dyledswydd. Ni allaf edrych ar y darluniad yn amgen na cheisio brathu dagr i galon Cristionogaeth; ond y mae yn ddrwg genyf fod cablwyr a gwadwyr yr iawn yn cael cymaint o achlysur oddiwrth waith Mr. J. a'i bleidwyr yn cymeryd arnynt ei amddiffyn.

*Gwran.* Mae Mr. J. yn rhoi ambell hergwd i'r Sociniaid.

*Preg.* Ydyw, ond nid gyda'r un chwerwder ag y mae

---

odraeth, iddynt roddi cyfarwyddyd i ddodi rhyw amddiffyn o amgylch gwddf y troseddwr, a'i grogi felly tros yr amser arferol, ac yna ei anfon mewn modd dirgelaidd o'r wlad. Nis gwn ai gwir ai anwir yw y chwedl yna: ond pa un bynag, gall ateb dyben fel eglurhad ar yr hyn a drinir uchod.

Y pwnc mewn golwg oedd arbed F. y *forger*, a pheri argraff priodol o ddrwg *forgery* ar feddwl y cyffredin, a bernid nad oedd un argraff yn deilwng tu yma i grediniaeth fod y trosedd hwnw yn sicrhau y gosp o ddienyddiad.

Yn awr dyma *expedient* yn cael ei dyfeisio i arbed bywyd F., ac ar yr un pryd i beri i bawb feddwl y rhaid cospi *forgery* â marwolaeth.

Wel, y mae'r *expedient*, gan nad pa mor blentynaidd ydyw, yn debyg o ateb y dyben, tra ei celir, sef tra bo'r cyffredin yn meddwl fod F. wedi ei grogi: ond y foment y mae'r peth yn cael ei gyhoeddi a'i gredu, y mae'r dyben wedi ei ddyrysu, canys y mae'r argraff a

yn ceisio cilgwthio'r Calfinistiaid chwaith. Yn wir, yr wyf fi yn ofni fod y gŵr yn nes at y Sociniaid, o ran ei farn am yr iawn, nag y dychymygaswn i ei fod cyn darllen ei draethawd, oblegid——

*Gwran.* Nid haeru pethau, ond eu profi sydd yn ateb dyben. Pa beth, attolwg, yw sail eich ofnau am y gŵr?

*Preg.* Yr oeddwn yn myned i ddywedyd i chwi fod Mr. J. a'r Sociniaid yn dal—Yn 1. Nad oes dim yn natur Duw yn ei luddias i faddeu pechod, fel y mae yn ei erbyn ef ei hun, yn ei gymeriad personol, (*private character*,) heb iawn. 2. Nad ydyw cosp ddim yn angenrheidiol gysylltiedig â phechod, ond y gall pechod ddianc heb ei gospi oll. 3. Mai yr unig beth angenrheidiol er maddeuant, ydyw rhyw beth a roddo argraff moesol ar feddwl deiliaid y llywodraeth o ddrwg pechod; ond fod Mr. J. yn dal mai dyoddefiadau Crist sydd yn gwneyd hyny, a'r Sociniaid yn hòni fod edifeirwch y troseddwr yn ddigon. 4. Mai dyben yr iawn oedd gwneyd rhyw argraffiadau iachusol ar feddyliau creaduriaid rhesymol; ond fod y naill yn dal ei fod yn gwneyd hyny trwy ddangos ei sel dros y gwirionedd fel merthyr; a'r llall yn dal ei fod yn gwneyd y peth trwy gymeryd arno ryw beth tebyg i gosp yn lle cospedigaeth troseddwyr. 5. Y mae y ddau yn dal nad oedd dyoddefiadau Mab Duw ddim yn angenrheidiol i wneyd iawn. Dywed Mr. J. nad yw yn ystyried dwysder dyoddefiadau yn hanfodol angenrheidiol i'r iawn, fel iawn; ac yn wir y mae ei ymresymiad yn ein harwain i feddwl, nad ydyw yn ystyried fod dim dyoddefaint yn angenrheidiol fel un o elfenau yr iawn. Os nad oedd y dyoddefiadau a ddyoddefodd Mab Duw yn angenrheid-

---

fwriedid ei roddi o ddrwg y trosedd, wedi darfod. Yr oedd celiad yn un o ranau hanfodol y ddyfais; a phan y mae'r peth yn cael ei gyhoeddi, y mae'r holl ddyfais wedi ei dyrysu, fel na buasai waeth, bellach, fod F. wedi ei ollwng yn rhydd heb un seremoni, na'i fod wedi cael dianc yn y modd y cafodd.

Felly, pe rhyw ymddangosiad o gosp a fuasai iawn y Cyfryngwr, i beri i ddynion feddwl mor ddrwg am bechod a'i fod yn sicrhau cosp, y mae celiad yn anhebgorol angenrheidiol i'r ddyfais; oblegid y foment y credir mai rhyw beth llai na'r gosp a ddyoddefodd Crist, y mae'r argraff fod pechod mor ddrwg ag y rhaid ei gospi, yn cael ei ddileu. Pe bai darnodiad Mr. J. a'i frodyr o drefn yr iawn yn gywir, y maent hwy, wrth gyhoeddi yr hyn a ddylasai gael ei gelu, yn dinystrio'r holl drefn; hyny yw, cyn belled ag y mae eu dylanwad hwy yn myned.

iol iddo fel iawn, nis gwn fel pa beth y mynai Mr. J. eu bod yn angenrheidiol, oddieithr iddo ddywedyd, fel y Sociniaid, eu bod yn angenrheidiol iddo yn unig fel merthyr.

*Gwran.* Nid wyf yn deall fod Mr. J. yn golygu nad fel iawn y dyoddefodd Crist y cwbl a ddyoddefodd: ond mai mater o benarglwyddiaeth oedd *gradd*, yn gystal ag *amser* a *thymhor* y dyoddefiadau; fel megys y gallasai Crist fod yn iawn yn gynt neu yn ddiweddarach, felly y gallasai fod yn iawn pe buasai yn dyoddef llai, neu pe buasai yn dyoddef mwy; ond nad ydyw *gradd*, mwy nag *amser*, y dyoddefiadau, yn un o elfenau hanfodol yr iawn.

*Preg.* Y mae yr awdwr, i'm tyb i, yn y dosbarth hwn o'r traethawd (pen. 2, dosb. 6,) yn ymresymu yn hynod o aneglur; ai o'i fodd, ai o'i anfodd, nis gwn. Nid yw yn dyweyd yn bendant nad oedd dyoddefiadau yn hanfodol i'r iawn, ond nad oedd *dwysder* neu *radd* y poenau yn hanfodol iddo fel y cyfryw: tybygid wrth y dull yma o lefaru ei fod yn golygu fod *rhyw* fesur o ddyoddefiadau yn angenrheidiol, ond mai peth o benarglwyddiaeth oedd penderfynu pa fesur a fyddai hwnw. Ond pan y mae gwed'yn yn dyweyd fod elfenau hanfodol yr iawn yn hollol anmhosibl i'w cynyddu na'u lleihau, ac nad oedd y dyoddefiadau ddim felly, ni allwn lai na meddwl ei fod yn ystyried nad oedd dyoddef ddim oll yn un o elfenau'r iawn. Ond y mae y beibl yn son am y dyoddefiadau fel un o brif elfenau, neu fel un o'r pethau mwyaf angenrheidiol i gyfansoddiad yr iawn: "*Rhaid* dyrchafu Mab y dyn;" "Onid oedd *raid* i Grist ddyoddef," &c. Onid rhywbeth agos at gabledd yw dyweyd fod y Tad yn rhoi mwy o ddyoddefiadau ar ei Fab, pan y buasai llai yn ateb y dyben, yn enwedig os nad oedd dim yn angenrheidiol?

Ond nid wyf yn meddwl, er hyny, fod yr holl Ffwleriaid mor agos i dir y Sociniaid, yn eu golygiadau ar yr iawn, ag ydyw Mr. J. Yr wyf yn meddwl y dychrynai amrywiol o honynt rhag dywedyd pethau y mae y gŵr hwn yn eu dywedyd gyda rhyw hyfdra mawr. Ond y mae yntau yn cyfaddef fod ei law yn crynu (a pha ryfedd?) wrth ysgrifenu nad oedd dwysder anfeidrol yn mhoenau y Gwaredwr, ac y gallai fod dyoddefiadau merthyron yn fwy, o ran poenau, na'r eiddo ef.

*Gwran.* Wel, *pa beth ydyw yr iawn*, meddwch chwi?

*Preg.* Rhaid i'r cwestiwn yna fod yn destyn ein hymddyddan y tro nesaf, a gobeithiaf y cawn ein cyfarwyddo,

fel y byddo ein hymddyddanion er adeiladaeth, ac nid er dyryswch i'n gilydd. Ond cofiwch mai swm y pethau a geisiais eu dangos y tro presenol ydyw, 1. Fod darnodiad (*definition*) Mr. J. o'r hyn a elwir iawn, yn annghywir; ac o ganlyniad fod yn anmhosibl i'w gyfundraith sefyll, mwy na thŷ ar sylfaen ddrwg. 2. Tra y mae Mr. J. yn condemnio y syniad masgnachol am yr iawn, fel golygiad isel a chyfyng, fod ei olygiad ef ei hun arno, fel mesur gwladyddol, yn annheilwng o gyfiawnder a doethineb Duw fel Gwneuthurwr, ac o'i uniondeb fel Gweinyddwr, ei gyfraith. 3. Fy mod yn gwrthod y golygiad fod yr iawn yn debyg i ryw ymddangosiad o gospedigaeth, a gymerai trydydd person arno, i arbed plentyn anufydd mewn teulu; oblegid ei fod yn gwneyd yr iawn yn rhyw fesur twyllodrus, ei fod am hyny yn niweidiol ei gyhoeddi pe byddai wir, ond yn ddinystriol os ydyw (fel yr wyf fi'n meddwl) yn gyfeiliornad. 4. Er fod Mr. J., i'm tyb i, yn rhoi gormod o achlysur i'r Socin gablu athrawiaeth yr iawn, eto ei fod yn nes at yr annghrist hwnw yn ei farn ar amryw bethau perthynol i'r iawn, nag y buaswn yn meddwl cyn darllen ei draethawd. Ond, yn 5. Fy mod yn gobeithio (dichon fy mod yn camgymeryd; ond yr wyf yn gobeithio) nad ydyw pawb a elwir yn Ffwleriaid ddim wedi myned mor agos i dir y Sociniaid ag ydyw Mr. Jenkyn. Ond wrth ymadael, y mae arnaf flys canu yr hen bennill yma, ar yr hen dôn hefyd:—

"Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria,
Aeth i'r lladdfa yn ein lle,
Swm ein dyled mawr fe'i talodd,
Ac a groesodd filiau'r Ne:
Trwy ei waed, ini caed,
Fythol heddwch a rhyddhad."

---

## YMDDYDDAN X.

### NATUR YR IAWN.—PA BETH YDYW?

*Gwrandawr*. Pan oeddwn yn ymadael â chwi y tro diweddaf, yr oeddwn y'mron a chael fy argyhoeddi na thalai *system* Mr. Jenkyn ddim: ond mi a gofiais fod yn haws i ddyn gyfodi gwrthddadleuon yn erbyn cyfundraith

rhyw un arall, nag amddiffyn yr eiddo ei hun. Yn awr, gan obeithio y maddeuwch fy hyfder, yr wyf yn defnyddio yr adeg bresenol i ofyn, Pa beth, yn ol eich barn chwi, ydyw iawn?

*Pregethwr*. Y mae darnodiad y Dr. Dwight o'r gair iawn, yn gywir, cyn belled ag yr wyf fi yn deall, er fy mod yn methu cydweled âg ef am ddybenion a gwrth-ddrychau iawn y Cyfryngwr. *Y mae y gair iawn* (medd y Doctor) *yn ei ystyr gwreiddiol, bob amser, yn arwyddo rhyw gydnabyddiaeth, neu foddlonrwydd, am esgeulusdra o ryw ddyledswydd, neu gyflawniad o ryw fai; sef y fath gydnabyddiaeth, pan y cyflawner, ag y dylai y person a gafodd gam, yn rhesymol foddloni iddo, a pheidio gofyn dim rhagor i'r troseddwr ar gyfrif ei fai.—Dwight's Theo. Ser.* 55. Ond er mwyn eglurder, gallem eirio y peth yn fyrach fel hyn,—*Iawn ydyw unrhyw berson neu beth a gynygier, ac a gymeradwyer yn lle y person neu y peth a ofyner yn wreiddiol.* Pan mae yr Arglwydd yn gorchymyn peidio cymeryd iawn am einioes llofrudd, y meddwl ydyw, peidio cymeryd dim yn lle yr hyn y mae y gyfraith yn ei ofyn iddo, sef ei fywyd. Pan ddywedir na wneid iawn am anwiredd tŷ Eli, yr ystyr yw, na dderbynid dim *yn lle* y gosp a fygythiwyd arno. "Gochel (medd Elihu wrth Job) rhag iddo dy gymeryd di ymaith â'i ddyrnod, yna ni'th wared iawn mawr:" hyny yw, pe bai genyt ryw beth mawr i'w gynyg, *yn lle* bod tan ddyrnod digofaint, byddai yn annerbyniol, a'th gyflwr dithau, o ganlyniad, yn anadferadwy. Drachefn, "Gollwng ef yn rhydd rhag disgyn o hono i'r clawdd, myfi a gefais iawn," sef yr hyn sydd yn fy moddloni *yn lle* rhoddi arno ef yr hyn a haeddai. Pan mae'r Arglwydd trwy'r proffwyd Amos yn cwyno fod y bobl "yn blino'r cyfiawn, yn cymeryd iawn," &c., Amos v. 12, y meddwl ydyw, eu bod yn derbyn gwobr *yn lle* yr hyn yr oedd cyfiawnder yn ei ofyn. Dywed y beirniaid fod y gair Hebreig *copher*, ag sydd yn cael ei gyfieithu weithiau, cymod, ac weithiau iawn, yn arwyddo gorchudd; ac y mae yn gyffredin yn y manau lle y cyfieithir ef cymod neu iawn, yn arwyddo rhyw beth a dderbynir yn lle i'r troseddwr ddyoddef y gosp; sef fod y troseddwr megys yn cael ei orchuddio â'r peth hwnw rhag cospedigaeth. Nid ydyw y gair *iawn* yn cael ei arferyd yn y Testament Newydd ond am Grist yn unig; a phan y mae ef yn cael ei alw felly, yr ystyr ydyw,

ei fod wedi "ei roddi ei hun yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd," tros neu yn lle ei bobl, Eph. v. 2. Felly, chwi a welwch fod y gair *iawn*, yn yr Hen Destament a'r Newydd, yn cario yr un meddylddrych, sef, *fod rhyw beth yn cael ei gynyg a'i gymeradwyo, yn lle'r peth a ofynir yn wreiddiol.*

Yn wir, yr un ystyr sydd i'r gair yn ein hymddyddanion cyffredin. Pe bai gwas, wedi gwastraffu dwy awr o amser ei feistr, yn gweithio dwy awr o'i amser ei hun i'w feistr yn lle yr amser a wastraffwyd, iawn a fyddai hyny. Ond pe bai gan y meistr hawl i holl amser y gwas, byddai yn anmhosibl iddo ef wneyd iawn trosto ei hun; ond dichon fod ganddo gyfaill yn ŵr rhydd, ac yn ewyllysgar i weithio dwy awr er mwyn heddychu rhwng y meistr a'r gwas, a'r peth yn cael ei gymeradwyo gan y meistr; dywedwn fod yma iawn yn cael ei wneyd dros gamwedd y gwas. Ond, deliwch sylw, yn y cyntaf o'r amgylchiadau hyn, nid mor briodol yw dywedyd mai *gwaith* y gwas ydyw yr iawn, oblegid y mae y meistr yn cael y *gwaith* a ofynai, ond yr *amser* sydd yn iawn yn lle yr *amser* a wastraffwyd; nid *gwaith* y cyfaill chwaith, yn yr olaf, sydd yn iawn am yr eiddo y gwas, canys y mae y meistr yma hefyd yn cael y *gwaith* a ofynai; ond *person* y cyfaill sydd yn iawn, am ei fod yn cael ei gynyg a'i gymeradwyo dros neu yn lle *person* y gwas.

Pe bai dyn, wedi troseddu cyfraith ei wlad, a chael ei ddyfarnu i alltudiaeth, yn cynyg swm o arian i'r llywodraeth, a'r rhai hyny yn cael eu cymeradwyo er ei ryddhad, iawn fyddai hyny. Neu, pe bai ganddo gyfaill yn ewyllysgar, ac yn cael ei gymeradwyo i fyned yn ei le, iawn y galwn i hwnw: yn y cyntaf, nid y *person* yw yr iawn, ond yr *arian*, oblegid fod y gyfraith yn cael y person a ofynai yn wreiddiol: yn yr olaf, nid *dyoddefiadau* y cyfaill yw yr iawn, oblegid ei fod yn dyoddef yr un peth ag a ofynid i'r dyn ei hun ei ddyoddef; ond ei *berson* ydyw yr iawn, am mai hwnw sydd yn lle *person* y troseddwr.†

† Wrth ddyweyd fel hyn, nid ydys yn golygu y buasai y cyfaill yn iawn dros y troseddwr, heb gymeryd ei alltudio yn ei le: ond fod yn fwy priodol i ddywedyd mai *efe* yn, ac o herwydd ei alltudiaeth sydd yn iawn, na dyweyd mai yr alltudiaeth ei hun sydd felly; oblegid nad *peth yn lle* alltudiaeth, ond alltudiaeth ei hun, ydyw'r hyn y mae yn ei gymeryd arno: eithr ei *berson* ef, yn, ac oblegid, ei waith yn ymroddi i ddyoddef yr hyn oedd ofynol i'r troseddwr, sydd yn iawn yn lle *person* y troseddwr.

Pe bai dedfryd dyn a gollfarnwyd yn cael ei newid i alltudiad, nid anmhriodol fyddai galw ei alltudiad yn iawn am ei fywyd; ond pe byddai arall yn marw tros y condemniedig, anmhriodol, i'm tyb i, fyddai dywedyd fod marwolaeth hwnw yn iawn yn lle cospedigaeth yr euog; canys y mae y gyfraith yn cael y *peth* y mae yn ei ofyn, sef bywyd: ond *person* y naill sy'n iawn yn lle *person* y llall.

*Gwran.* Ond fe ddywedir yn fynych, yn enwedig gan y Saeson, fod dyn, wrth gael ei ddienyddio, yn gwneyd iawn am ei drosedd.

*Preg.* Gwir, ond y mae hyny yn eithriad i ystyr cyffredin y gair; neu, yn hytrach, yn gamgymeriad o natur y peth. Wrth ddywedyd fod dyn yn gwneyd iawn am ei drosedd trwy ddyoddef y gosp, yr ydys yn tybied mai yr unig beth a ofyn y gyfraith yw ufydd-dod; a phan ballo dyn roddi ufydd-dod iddi, fod ei gospedigaeth yn iawn yn lle hyny. Ond y gwirionedd ydyw, mai yr unig beth ag y mae y gyfraith yn ei ofyn i droseddwr *fel troseddwr*, yw dyoddef y gosp; a phan y mae yn gwneyd hyny, y mae y gyfraith yn cael (yn llythyrenol) ei gofyn, ac nid iawn yn ei le. Nid hollol briodol, dybygwn i, yw dywedyd fod y ddeddf yn gofyn iawn.

*Gwran.* Ow, ow, pa beth a wnewch chwi i'r pennill melus hwnw—

> "*Dacw'r ddeddf yn gofyn iawn,*
> Hyd yr eitha;
> Dacw iddi daliad llawn,
> Haleluia."

*Preg.* Nid wyf yn meddwl ein bod, wrth ganu y geiriau yna, yn golygu dim amgen na bod y ddeddf yn gofyn y person a roddodd ei hun yn iawn, i ddyoddef y gosp hyd yr eithaf: ac, yn wir, ni ddymunwn i ar un cyfrif daflu yr hen bennill heibio, oblegid mi a gefais bleser mawr lawer gwaith wrth ei ganu; er y gallasai dull gwahanol o eirio fod yn fwy hapus.

Y cwbl ag y mae cyfraith yn ei ofyn yw, i'r dyn sydd tani fod mewn ufydd-dod, neu dan gosp am anufydd-dod; ond pe bai gan droseddwr gyfaill mor urddasol ag ef ei hun, yn barod i ymddirprwyo yn ei le, gellid cymeryd y dirprwywr yn iawn dros y troseddwr; ond ni byddai dim iawn yn bod tros neu yn lle cospedigaeth, canys byddai y gosp ei hun yn cael ei dyoddef gan y dirprwywr.

Fel y dywedais o'r blaen, yr wyf eto yn beiddio dywedyd, fod yn anmhosibl ysgaru trosedd o unrhyw gyfraith oddiwrth y gosp, heb roddi sarhad ar, neu wneyd cydnabyddiaeth o anmherffeithrwydd y gyfraith trwy hyny.

Pan oedd y *Dr. Dodd* wedi ei gollfarnu am *forgery*, yr oedd deisebau aneirif yn cael eu danfon at y brenin am ei arbediad; a phe buasai arian yn gwneyd y tro, diau y buasent yn dyfod yn filoedd o bob parth o'r deyrnas: neu, pe buasai rhyw *valuable consideration* yn gallu ateb y dyben, megys fod i un o arglwyddi penaf y deyrnas fyned ar ei liniau gerbron ei fawrhydi i erfyn am fywyd y troseddwr, gallesid cael amryw yn barod i wneyd hyny, ïe, a mwy pethau na hyny. Ond, ebe un o Arglwyddi y Cynghor, "*Rhaid dienyddio Dodd, neu ddienyddio y gyfraith.*" Y mae yr egwyddor hon yn cael ei dangos gan y bardd *Miltwn*, wrth osod allan yr ymddyddan rhwng y personau dwyfol am gwymp ac adferiad dyn:

> "*Die he or justice must; unless for him*
> *Some other able and as willing pay*
> *The rigid satisfaction, death for death.*"

> "————————Efe marw rhaid neu
> Gyfiawnder; os nas tala trosto ef
> Ryw un o all a myn, yr iawn mor dyn
> Tros farw marw————————"
>
> COLL GWYNFA.

*Gwran.* Yr wyf fi yn meddwl fod dienyddio Dodd yn fwy o warth nag o anrhydedd i Loegr: pan fyddaf yn darllen hanes fy ngwlad, byddaf yn ystyried yr ymddygiadau tuag at y dyn anffodus hwnw, fel rhyw gwmwl annileadwy ar ei nodweddiad.

*Preg.* Ond yr oedd y llywodraeth i'w beio (os oedd i'w beio hefyd) am wneyd cyfraith i gysylltu y fath gospedigaeth wrth y fath fai, yn hytrach nag am bleidio y gyfraith yn erbyn y troseddwr, pwy bynag a fyddai.

*Gwran.* Ond beth meddwch chwi am waith yr Atheniaid yn rhyddhau Æschylus ar gyfrif yr hyn a wnaethai Amyntas? Yr oedd yno droseddwr yn myned yn rhydd heb gospi neb.

*Preg.* Y mae yr hanes yn ddigon difyrus i'w darllen; ond eto, nid yw ond un anghraifft o lawer ag sydd yn dangos fod yr Atheniaid yn cymeryd eu llywodraethu gan eu nwydau, yn hytrach na chan eu cyfreithiau: gan hyny, gwrthodwn eu cymeryd yn esiampl o uniondeb mewn

gweinyddiad cyfraith. Ond tybiwn fod eu gwaith yn rhyddhau y troseddwr ar gyfrif gwasanaeth ei frawd, yn ganmoladwy; eto yr oeddynt, wrth wneyd hyny, gystal a chydnabod anmherffeithrwydd y gyfraith: ond y mae yn anmhosibl i Dduw wneyd dim ag a fyddo yn cynwys y fath gydnabyddiaeth, am fod ei gyfraith ef yn berffaith fel ef ei hun. Rhaid i chwi addef perffeithrwydd y ddeddf wladol a roddodd yr Arglwydd i Israel; ond yn mha le y mae genym hanes am ryw *valuable consideration* yn cael ei gyfreithloni gan Dduw yn ngweinyddiad y ddeddf hôno, yn lle i'r troseddwr ddyoddef y gosp, yn ol llythyren y gyfraith? A rhaid ystyried fod y ddeddf foesol i'w hanrhydeddu, nid yn unig yn fwy na holl deddfau dynion, ond hefyd yn fwy nag un ddeddf arall a osododd Duw yn mhlith ei greaduriaid, fel y mae yn haws i "ordeiniadau y nefoedd" ddyrysu, nag i un tipyn o'r ddeddf hon ballu.

Efallai y bydd y sylwadau yna ar natur deddfau dynion yn eu perthynas â throseddwyr, y'nghyda'r gwahaniaeth sydd rhyngddynt a deddf Duw, yn fwy o help nag o rwystr i ganfod sefyllfa pechadur, a natur iawn y Cyfryngwr.

Yr ydym ni yn droseddwyr o ddeddf Duw; a'r unig beth a ofynir i ni *fel y cyfryw* ydyw dyoddef y gospedigaeth. Nid ydyw y ddeddf yn gofyn iawn, nac yn rhwymo y llywodraeth i dderbyn iawn, gan nad pa mor werthfawr y byddo. Nid mesur cyfreithiol yw trefn yr iawn, ond mesur uwchlaw cyfraith, eto yn cyfarfod â holl ofynion y gyfraith, yn gymaint a bod yr hwn a osodwyd yn iawn yn myned o dan y gosp ddyledus i'r troseddwr.

*Gwran.* Beth! ai nid peth cyfreithlawn yw yr iawn?

*Preg.* Gwrandewch chwi yn fanylach. Ni all dim fod yn fwy *cyfreithlawn* na threfn yr iawn. Ond yr wyf yn dywedyd eto, nad mesur *cyfreithiol* ydyw; hyny yw, nid yw y ddeddf yn gofyn i'r pechadur ddarparu, nac yn addaw y bydd i'r llywodraeth dderbyn iawn. Moddion i achub troseddwr ydyw iawn; ond nid yw y ddeddf yn gofyn i droseddwr gael ei achub; o ganlyniad, ni all fod y ddeddf yn gofyn am i ddim moddion gael ei ddarparu tuag at ei achub. Mesur o rad a phenarglwyddol ras y Deddfroddwr ei hunan ydyw yr iawn; eto, gan ei fod i achub rhai ag yr oedd gan y ddeddf afael condemniol arnynt, yr oedd yn rhaid iddo gyfarfod â'i holl ofynion,

neu iddi hi fod dan gwmwl tragwyddol yn yr achos. Felly, er mai peth uwchlaw cyfraith, yn y darpariad a'r derbyniad o hono, ydyw yr iawn; eto, gwelwch nad ydyw yn groes i'r gyfraith, canys y mae ei gofynion yn cael eu hateb, ei chosp yn cael ei dyoddef.

*Gwran.* Os na ellir yn ol egwyddor cyfiawnder gilio oddiwrth lythyren y ddeddf, trwy gymeryd rhyw beth yn lle cosp; pa fodd y mae yn gyfiawn cilio oddiwrthi trwy gymeryd person arall yn lle person y troseddwr?

*Preg.* Pe na bawn yn gallu dangos y rheswm paham nad yw cosp yn annattodol rwym wrth y person a becho, yn gystal ag wrth y pechod ei hun, y mae yn ddigon i'r pwrpas presenol, ddangos trwy yr ysgrythyrau, na ellir gwahanu pechod oddiwrth gosp, ac y gall y naill berson ddyoddef y gosp yn lle'r llall. Y mae natur Duw (ei natur meddaf, ac nid "ei sefyllfa fel *organ* y llywodraeth foesol") yn cael ei dangos yn y beibl y fath, fel nas gall beidio â chospi pechod. "Ydwyt lanach dy lygad nag y gelli edrych ar anwiredd." Hab. i. 13. "Duw eiddigus yn ymweled âg anwiredd." Ex. xx. 5; Jos. xxiv. 29. Mor anmhosibl ydyw iddo ddyoddef pechod heb ei gospi, ag ydyw i ŵr oddef anniweirdeb yn ei wraig, heb ddangos ei anfodd-lonrwydd. Hefyd y mae pechod a'i gosp, sef marwolaeth, yn cael eu dangos yn y beibl fel pethau anwahanol oddi-wrth eu gilydd. "Cyflog pechod yw marwolaeth." "Pechod a esgor ar farwolaeth." Rhuf. vi. 23; Iago i. 15. Os nad yw cyfiawnder yn câniatâu i wasanaeth fod heb ei gyflog, ni chaniatâ chwaith i bechod basio heb ei gospi. Er fod Duw yn ei hirymaros yn fynych megys yn oedi; eto nid wyf yn deall fod y beibl yn son am ddim a all ateb y dyben yn lle cospedigaeth yn y pen draw. Ond y mae bod y naill yn dwyn cospedigaeth am bechod y llall, yn beth rhy amlwg yn y beibl i'w wadu. "Ymwelir âg anwiredd y tadau ar y plant." Bu yr Arglwydd yn fodd-lawn i Manasse, ac eto dinystriwyd Jerusalem yn mhen llawer o flyneddoedd wedi ei farwolaeth am ei bechod ef. Ni fynai yr Arglwydd faddeu i'r pechod, er fod yn debyg iddo faddeu i'r pechadur. 2 Bren. xxiv. 34. Yn awr, os ydyw gyfiawn ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant, ac os oedd yn gyfiawn cospi pechod Manasse ar y genedl, a maddeu iddo ef ei hun, pam na allai cospi pechod yr eglwys ar ei Mechnïydd fod yn gyfiawn hefyd?

[Y mae llawer o bethau yn cael eu cymeradwyo neu eu

hannghymeradwyo, eu hystyried yn dda neu'n ddrwg, yn gyfiawn neu'n annghyfiawn, ag nas gellir egluro mewn geiriau paham eu hystyrir felly, ond eto y rhaid i ddyn gael ei ail gyfansoddi cyn y gallo eu hystyried yn amgen.

Pe gofynid paham yr ydym yn cymeradwyo rhinwedd, ac yn condemnio bai, dichon mai prin y medrem ateb, heblaw dyweyd nas gallem beidio, heb i'r holl deimlad moesol sydd ynom gael ei newid.

Felly os gofynir paham nad yw cilio oddiwrth lythyren y ddeddf trwy gymeryd person yn iawn yn lle'r person a ofynir yn wreiddiol, yn gystal sarhad arni a phe cilid oddiwrth ei llythyren drwy gymeryd rhyw benyd yn iawn yn lle'r gosp a ofynir yn wreiddiol? efallai fod yn anhawdd rhoddi ateb uniongyrchol i'r cwestiwn: er hyny cyn y gallwn weled y byddai y ddeddf yn cael ei sarhau yn y cyntaf, ac na byddai yn cael ei sarhau yn yr olaf, nid yn unig rhaid i ni annghredu'r ysgrythyrau a ddyfynir uchod, y'nghyda llawer ereill a allesid eu dyfynu; ond hefyd rhaid i'n holl gyfansoddiad moesol gael ei newid—i'n cydwybodau gael eu hail wneyd.

Y mae bod y naill ddyn yn sefyll yn neddfle, neu, yn ol y dull cyffredin o siared, "yn esgidiau" un arall, yn beth arferol er sefydliad cyntaf deddfau yn mhlith dynion. Yn awr, pan elo dyn yn ewyllysgar felly i le troseddwr, er nad yw y peth yn ei wneyd ef yn droseddwr mewn gwirionedd, eto y mae'r ddeddf megys yn edrych ar, neu yn *identifio*, y troseddwr yn ei berson ef; a phan y mae'r gosp gysylltiedig â throsedd y troseddwr yn cael ei gweinyddu arno ef, er ein bod yn gweled yr oruchwyliaeth yn llem, ac o bosibl yn tosturio wrth y dyn, eto rhaid i'n cydwybodau gael eu hadgyfansoddi, cyn y gallom farnu fod y dyn yn cael cam, na bod y ddeddf yn cael sarhad. Drachefn, pan gaffo dyn ei brofi yn dêg yn droseddwr, ac heb ganddo ddim i'w esgusodi, pe gweinyddid arno ef, neu ar ryw un arall yn ei le, ryw benyd yn lle'r gosp gysylltiedig, yn ol y gyfraith, ar y cyfryw drosedd, gallai hyny fod yn foddhaol i deimladau o dosturi at y dyn; ond rhaid i ni gael cydwybodau gwahanol i'r rhai sydd genym, cyn y gallom lai na barnu fod y gyfraith yn cael cam.

Pan gafwyd mab Zaleucus yn euog o odineb, a chyfraith y wlad hòno yn gofyn i'r godinebwr golli ei ddau lygad, pe rhoisid arno ryw ychydig o garchariad yn lle tynu ei lygaid, buasai hyny yn ddymunol i deimladau cyfeillion y

y gŵr ifanc; ond ni allasai un gydwybod lai na barnu'r peth yn ddianrhydedd ar y gyfraith. Ond pe buasai cariad ei dad yn peri iddo ymroddi yn ewyllysgar i golli ei ddau lygad yn lle ei fab, er y buasai pawb yn cydymdeimlo âg ef, ac yn dyweyd mai gresyn iddo fod yn ddall am drosedd un arall; eto, ni allai cydwybod dyn lai na barnu fod y ddeddf yn cael perffaith anrhydedd yn y tro.

Y mae yn ddiamau y buasai yn ddymunol gan laweroedd pe cawsai Dodd rywbeth llai na'i ddienyddio am ei *forgery:* ond yr oedd y dymuniad hwnw yn tarddu mewn rhan oddiar dosturi ato ef, ac mewn rhan oddiar annghymeradwyaeth i'r ddeddf a ofynai einioes am *forgery*, ac nid oddiar fod neb ystyriol yn barnu yn gydwybodol y gellid cymeryd llai na dyoddef cosp y gyfraith gan droseddwr, heb sarhau y gyfraith hòno.

Felly y mae'r anmhosibilrwydd i ganiatâu unrhyw *expedient* neu iawn yn lle cosp, a'r posibilrwydd i ganiatâu *substitute* neu iawn yn lle person y troseddwr, sef yw hyny, heb ddianrhydeddu'r ddeddf, neu wneyd cydnabyddiaeth o'i hanmherffeithrwydd, (gan nad pa mor anhawdd a fyddai dangos mewn geiriau pa fodd y cydsaif y ddau â'u gilydd, eto y maent) yn bethau nas gellir gwadu y naill na'r llall o honynt, heb ymwadu nid yn unig â'r beibl, ond hefyd â'n cydwybodau, sef â'r teimlad moesol trwy ba un yr ydys yn gwahaniaethu rhwng uniondeb a cham.]

*Gwran.* "Yr enaid a becho, hwnw (medd y beibl) a fydd marw." Ezec. xviii. 4.

*Preg.* Lleferir y geiriau yna mewn atebiad i waith y genedl yn arfer y ddiareb—"Y tadau a fwytasant rawnwin surion, ac ar ddannedd y plant y mae dincod." Mynasent hwy ddadlu nad am eu pechodau eu hunain, ond am bechodau eu tadau yn unig yr oeddynt yn dyoddef. Ond y mae Duw, dybygid, yn y geiriau a enwasoch chwi, yn dangos nad oedd neb yn marw am anwiredd eu tadau, ond y sawl oedd yn pechu fel eu tadau. Yr oedd y rhai hyny yn cymeradwyo gweithredoedd eu tadau; ac felly mewn ystyr yn gwneyd pechodau eu tadau yn eiddo iddynt eu hunain. Ond y mae mor wir ag mai "yr enaid a becho, hwnw a fydd marw," "fod Duw yn ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth *o'r rhai a'i casânt.*" Nid wyf finau yn deall y byddai yn gyfiawn i'r naill ddyoddef am bechod y llall, heb i'r

pechod, trwy ryw lwybr neu gilydd, gael ei wneyd yn eiddo mor wirioneddol i'r dyoddefydd, a phe buasai efe ei hun wedi ei gyflawni. Yr oedd y genedl a gaethgludwyd i Babilon wedi gwneyd pechodau eu tadau yn eiddynt eu hunain, trwy ddylyn esiamplau eu tadau, ac felly eu cymeradwyo. Cymerodd Crist bechodau ei bobl i fod yn eiddo iddo ei hun, nid trwy eu dylyn na'u cymeradwyo, ond trwy eu cymeryd yn gyfrifedig arno, yn ol trefn y cyfammod. Y mae yn eu galw "Fy mhechodau." "Fy mhechodau a'm daliasant, fel na allwn edrych i fyny." Psalm xl. 12.

Ond os ydyw y golygiad Calfinistaidd, ar farwolaeth Crist, yn anhawdd ei gysoni â'r adnod a enwasoch chwi, y mae y golygiad Ffwleraidd yn anhaws fyth: oblegid os "yr enaid a becho, hwnw a fydd marw;" pa fodd y gallai Crist farw, a phechod heb gael ei gyfrif iddo mewn un modd?

*Gwran.* Yr wyf fi yn gweled purion rheswm yn yr hyn y mae Mr. J. yn ei ddywedyd, sef, na allai y gyfraith gyraedd person Crist â'i chospedigaeth, am ei fod wedi ei chadw yn berffaith; ac na allai llythyren y ddeddf chwaith gyfarfod âg ef fel Mechnïydd, am fod y cyfryw Fechnïydd uwchlaw iddi: tudal. 40.

*Preg.* Yr wyf yn rhyfeddu fod yr awdwr yn gallu cymysgu â'u gilydd bethau ag y mae gwahaniaeth mor amlwg rhyngddynt. Addefwn fod Crist, o ran ei berson, yn wreiddiol uwchlaw pob deddf; a bod gwaith y Tad yn ei osod yn Fechnïydd, yn fesur uwchlaw cyfraith; ond eto, *fel Mechnïydd*, cafodd ei wneuthur "*dan* y ddeddf;" ac felly yr oedd ganddi afael arno fel un wedi ymrwymo dros ereill. "Ni orfoda y gyfraith (medd Mr. J., tudal. 44,) neb i ymrwymo am ymddygiad da dyn arall; eto, os tery dyn ei law yn ewyllysgar yn y fath ymrwymiad, ac i'w gyfaill dori yr heddwch, nid oes neb yn meddwl fod y gyfraith yn annghyfiawn yn ei gwaith yn gwneyd i'r meichai ddyoddef y golled." Wel, wrth gymhwyso yr ymresymiad yna at y pwnc mewn llaw, yr ydym yn penderfynu nad oedd gan y gyfraith hawl wreiddiol i ofyn dim i Grist; ond wedi iddo ef fyned i le neu yn Fechnïydd dros yr annghyfiawn, yr oedd hawl ganddi i roddi arno ef y gosp ddyledus i'r annghyfiawn, a hyny hyd yr eithaf.

*Gwran.* Os dyoddefodd Crist y gosp ddyledus i bechadur, (medd Mr. J.) nid oedd ei ddyoddefaint yn

iawn, ond cyflawniad llythyrenol o gosp y gyfraith." — Tudal. 306.

*Preg.* Nid wyf yn meddwl fod iawn yn lle cospedigaeth yn beth posibl yn ngweinyddiad llywodraeth Duw, am fod cospi pechod, fel y dywedais, yn beth o angenrheidrwydd: ac nid wyf yn deall fod y beibl yn cefnogi y fath olygiad a bod dyoddefiadau Crist yn iawn dros, neu yn lle cospedigaeth; yn wir nid wyf yn cofio am un ysgrythyr ag sydd yn galw *dyoddefaint* Crist yn iawn, ond "*Efe* yw yr iawn." "*Hwn* a osododd Duw yn iawn." "*Rhoddi ei Fab* i fod yn iawn." Nid *iawn yn lle cosp*, eithr *y gospedigaeth ei hun* oedd ei ddyoddefaint ef; ond ei *berson* ef yw yr iawn dros, neu yn lle *personau* ei bobl. "Cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef."*

*Gwran.* Y mae y system yna yn cau maddeuant allan yn hollol; oblegid pan y mae y gosp yn cael ei dyoddef, pa le sydd i faddeuant? Pan y mae yr holl ddyled yn cael ei thalu, pa reswm yw dywedyd fod y gofynwr yn maddeu?

*Preg.* Yn wir nid maddeuant oedd yr oruchwyliaeth tuag at y Meichai, "Nid arbedodd (Duw) ei briod Fab;" ond y mae y canlyniad yn faddeuant rhad i ni.

*Gwran.* Y mae trugaredd a gras y Mechnïydd yn sicr yn ymddangos yn fawr yn y golygiad yna: ond y mae haelfrydedd y Tad a'r llywodraeth foesol yn cael eu cy-

---

* Nid ydys yn golygu yma y gallasai y person fod yn iawn heb ddyoddef, oblegid yr un peth yw dyweyd iddo ymroddi i ufyddhau a dyoddef yn lle ei bobl, a dywedyd iddo roddi ei hun yn iawn drostynt. Eto, gan mai y gospedigaeth ei hun, ac nad rhywbeth yn ei lle, a ddyoddefodd Crist; yn hytrach na dyweyd mai y dyoddefaint, onid mwy priodol ac ysgrythyrol yw dywedyd mai "Efe (yn, a thrwy ei ddyoddefaint) yw'r iawn?"

Os addefir fod y gair iawn yn cynwys y meddylddrych o ddirprwyad (*substitution,*) sef yw hyny, fod person neu beth yn cael ei roddi *yn lle* person neu beth arall, nis gwn pa fodd y gellir dywedyd yn briodol, mai dyoddefiadau Crist *ynddynt eu hunain*, ydyw'r iawn, heb gytuno â'r Ffwleriaid i fyntumio mai rhywbeth *yn lle* cospedigaeth, ac nad y gospedigaeth ei hun, oedd y dyoddefiadau hyny. Yn wir yr wyf yn meddwl fod llawer o'r ddadl rhwng Calfinistiaid a Ffwleriaid yn troi ar y pwynt yma: os prawf y Ffwleriaid mai rhyw iawn *yn lle* cospedigaeth oedd dyoddefaint Crist, byddant wedi ennill un o brif bynciau y ddadl; ond os dyoddefodd Crist *gospedigaeth* y sawl y bu farw drostynt, y mae y Ffwleriaid, wrth haeru ei fod wedi dyoddef dros y rhai a gospir byth yn uffern, yn rhoddi yn erbyn Duw yr annghyfiawnder o gospi ddwywaith am yr un trosedd. *Gwel Ymddyddan* xi.—*Rhan gyntaf.*

mylu. Oblegid, er y dywedwch fod gras y Tad yn ymddangos mewn derbyn iawn; nid yw hyny ond cyffelyb i ddaioni Dionysius, y gormesdeyrn, yn cymeryd Pythias yn lle Damon.

*Preg.* Nis gwn pa fodd y gall Mr. J. lai na gwybod ei fod, wrth ymresymu fel yr ydych chwi yn awr, yn cymeryd mantais annhêg yn erbyn ei wrthwynebwyr. Oblegid wedi cyfaddef "fod pleidwyr y system hon yn dywedyd fod gras a thrugaredd y Tad yn ymddangos mewn *darparu* a *derbyn* iawn," y mae yn yr un frawddeg yn dywedyd nad yw hyn ond tebyg i drugaredd Dionysius yn caniatâu dirprwyad personau, ac nid dirprwyad dyoddefiadau. Pa beth! ai nid yw gwaith Duw yn *darparu* ac yn *derbyn* iawn, ddim ond fel gwaith y *tyrant* yn *derbyn* yn unig yr hyn a ddarparwyd gan arall? Pe buasai Dionysius yn edrych am ddirprwywr i fyned yn lle Damon, ac yn enwedig pe buasai hwnw "ei fab ei hun," buasai yr amgylchiadau yn fwy tebyg i'w gilydd. Ond y mae pob tiriondeb yn mhlith creaduriaid yn anfeidrol ry fyr i ddangos trugaredd a gras Duw yn rhoddi ei Fab.

*Gwran.* Onid ydys, wrth ddywedyd fod yn anmhosibl i Dduw beidio â chospi pechod, yn ei ddangos fel rhyw un yn llawn o nwyd gynhyrfus, am ddial ar ryw un am y sarhad a dderbyniodd, ac yn wahanol iawn i'r peth y mae yn gofyn i ni fod, sef yn dirion, maddeugar, &c.?

*Preg.* Pe rhyw nwyd, megys digofaint dyn, a fuasai digofaint Duw, ni buasai mor ofnadwy i bechadur; oblegid, gallesid dysgwyl iddo oeri neu ddarfod mewn amser; ond gan mai penderfyniad gwastadol yn tarddu yn angenrheidiol o burdeb ei natur ydyw, y mae mor anmhosibl ei newid ag ydyw newid natur Duw, ac mor anmhosibl i bechod ddianc yn ddigosp ag a fyddai i Dduw beidio â bod.

*Gwran.* Wel, os nad oes un pechod yn cael ei faddeu ond a gospwyd ar y Mechnïydd, onid gweithred o gyfiawnder ydyw maddeuant, yn hytrach na gweithred o ras?

*Preg.* Pob un o'r ddau. Y mae yn wir fod Duw nid yn unig yn gyfiawn, ond hefyd yn "dangos ei gyfiawnder trwy faddeuant;" ond eto, y mae y cwbl yn dyfod o ras i bechadur.

Pe gallasai y troseddwr gael un addas ac ewyllysgar i fyned yn ei le, buasai yn act o ras yn y Tad gymeradwyo hwnw; ond yr "Arglwydd a edrychodd iddo ei hun am Oen y poethoffrwm." Yn sicr, y mae gan y Prynwr hawl

gyfiawn, yn ol cyfammod y prynedigaeth, i gael ei brynedigion oll yn rhydd; ond y mae y rhyddhad hwnw o ras i gyd iddynt hwy.

*Gwran.* Yr ydych o hyd yn siared am drefn yr iawn, fel pe bai ryw oruchwyliaeth fasgnachol, yr hyn (medd Mr. J.) sydd olygiad rhy isel ar beth mor fawr.

*Preg.* Y mae yn wir fod pob cymhariaeth a fenthycir oddiwrth oruchwyliaethau dynion yn annigonol i osod allan bethau mawrion Duw i berffeithrwydd; ond eto, pan y mae yr Ysbryd Glân yn defnyddio unrhyw beth fel cymhariaeth i ddangos peth arall, pwy ydym ni i feiddio dywedyd fod y peth hwnw yn rhy isel! Pan y mae y beibl yn son am y drefn i achub trwy yr iawn, y mae yn defnyddio ymadroddion masgnachol mor fynych, os nad mynychach nag un math arall o ymadroddion. "Eglwys Dduw yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed." "Er gwerth y'ch prynwyd." "A gwerthfawr waed Crist y'ch prynwyd." "Ti a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed." Y mae yn debyg fod cyfeiriad yn yr ysgrythyrau hyn, a llawer ereill a ellid eu henwi, at yr arferiad o brynu caethion. Yn awr, bernwch chwi, os dylem ni wrthod y gymhariaeth ysgrythyrol hon am ei bod yn cario meddylddrych masgnachol, a chymeryd gwaith Zaleucus yn arbed un o lygaid ei fab, trwy golli un o'i lygaid ei hun, neu ryw gymhariaeth arall o eiddo Mr. J., yn ei lle.

*Gwran.* Yr wyf yn meddwl fod y golygiad, ddarfod i Grist ddyoddef, yn llythyrenol, y gosp ddyledus i'w bobl, yn arwain i lawer o ganlyniadau cethin iawn; megys, 1. Y buasai raid iddo ddyoddef mwy, pe buasai nifer mwy i'w cadw.

*Preg.* Yr oedd yr Adda cyntaf——

*Gwran.* Beth ydych yn ei geisio efo yr Adda cyntaf yrŵan? Ni choeliaf fi na buom ni ddigon gyda hwnw y troion o'r blaen. Deuwch at y pwynt.

*Preg.* Y mae ymresymu am Adda a Christ fel gwrthddrychau cyferbyniol â'u gilydd, yn beth hollol ysgrythyrol, canys yr oedd Adda yn "ffurf yr un oedd ar ddyfod," sef Crist. Yr oedd yr hyn a wnaeth Adda, fel cynrychiolwr y rhai oedd mewn perthynas gyfammodol âg ef, yn cael ei gyfrif i'r rhai hyny yn unig; felly y mae yr hyn a wnaeth Crist, fel cynrychiolwr y rhai a roddwyd iddo yntau mewn cyfammod, yn cael ei gyfrif i'r rhai hyny, ac i'r rhai hyny yn unig. Yr oedd yr hyn a wnaeth Adda yn ffor-

ffedu, yn eithaf têg, ei fywyd ei hun a'i hiliogaeth; felly y mae Crist, ar dir eithaf cyfiawn, wedi prynu ei bobl o tan felldith y ddeddf. Yr wyf yn meddwl y gellir dywedyd yn mhellach, pe buasai myrddiynau yn rhagor o hiliogaeth i fod gan Adda nag a fydd, na buasai raid iddo ef bechu dim ychwaneg, er eu rhoddi oll yn yr un cyflwr: neu, pe buasai ei hiliogaeth i fod yn llawer llai eu nifer nag a fyddant, na buasai fod y cwbl o'i bechod ef yn cael ei gyfrif i ychydig, yn lle llawer, yn gwneyd trueni yr ychydig hyny ddim yn fwy. Felly, dybygaf, y gellir dywedyd, pe buasai ragor i'w cadw, na fuasai raid i Grist ddyoddef dim mwy: neu pe buasai lai, na buasai ei ddyoddefaint ef yn ddim llai. Nid peth yn cael ei ranu rhwng ei hâd ydyw anufydd-dod Adda; ond y mae yr holl bechod yn cael ei gyfrif i bob un; felly, nid peth yn cael ei ranu rhwng y saint yw ufydd-dod Crist, ond y mae yr holl gyfiawnder yn cael ei gyfrif i bob un. Y peth oedd pechod Adda yn ninystr ei hâd naturiol, hyny yw ufydd-dod Crist yn achubiaeth ei hâd ysbrydol; ac y mae deall y cyntaf, yn anhebgorol angenrheidiol at ddeall yr olaf. Darllenwch ddiwedd y 5ed o'r Rhufeiniaid.

*Gwran.* 2. Os ydyw Crist wedi dyoddef y gosp ddyledus i bob un a gedwir, y mae yn rhaid ei fod wedi dyoddef mwy dros rai nag ereill, canys y mae rhai o honynt wedi haeddu trymach cosp nag ereill.

*Preg.* Nid yw eich dwy wrthddadl ond un o ran egwyddor. Nid wyf fi yn deall fod y dyoddefiadau yn cael eu cyfartalu â nifer y beiau a faddeuid, mwy nag â nifer y personau a achubid; oblegid megys mai yr un o *ran ei natur* ydyw y farwolaeth ddyledus i bob dyn, felly yr un *o ran ei natur* yw cospedigaeth pob pechod; ac nis gwn i ddim pa fodd y gallesid maddeu byth y pechod lleiaf, heb i'r gosp gael ei dyoddef; ond yn awr, gan ei bod wedi ei dyoddef gan berson anfeidrol y Mechnïydd, dyma reswm digonol am faddeuant yr holl bechodau y dyoddefodd drostynt, yn gystal ag am achubiaeth yr holl bersonau a bu farw yn eu lle.

Er mai pechod Adda yw yr achos haeddiannol a gwreiddiol o holl drueni dynion, eto nid oes dim mwy o'r pechod hwnw yn cael ei gyfrif i'r mwyaf, nag sydd i'r lleiaf ei drueni; felly, er mai dyoddefaint Crist yw yr achos o waredigaeth ei bobl, eto nid ydyw, i'm tyb i, yn addas dywedyd iddo ddyoddef llai tros y baban na thros

yr hen bechadur; oblegid y mae ei holl ufydd-dod, gweithredol a dyoddefol, yn cael ei gyfrif i bob un o'r ddau.

*Gwran.* 3. Os cospedigaeth, a dim ond cospedigaeth ei bobl, a ddyoddefodd Crist, yna rhaid ei fod ef wedi dyoddef yr un faint o ran pwys a nifer poenau ag a fuasai raid iddynt hwy ei ddyoddef, a bod dyoddefaint Crist yr un peth a'r eiddo y damnedigion yn uffern!

*Preg.* Yn 1. Dichon fod dau berson o dan groeshoeliad, neu ryw ddienyddiad arall, ac eto, fod rhyw beth yn nghyfansoddiad natur y naill yn peri na byddo ei ddyoddefiadau yr un faint o ran pwys a nifer ag eiddo y llall; er hyny, dywedai pawb mai yr un yw cospedigaeth y naill a'r llall. Felly, pa beth bynag oedd yn nghyfansoddiad person yr Immanuel yn gwneyd ei ddyoddefiadau ef yn wahanol o ran pwys, nifer, a pharhad, i'r peth a fuasai raid i'w bobl ei ddyoddef, eto y gospedigaeth, yn wirioneddol, a ddyoddefodd ef. Melldith y ddeddf yw cosp pechod, a "Christ a'n llwyr brynodd o tan felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom; canys y mae yn ysgrifenedig, Melldigedig yw pob un sydd yn nghrog ar bren." Gal. iii. 13. Yn 2. Cyn belled ag y mae cospedigaeth pechod yn dyfod yn uniongyrchol oddiwrth yr Arglwydd, yr wyf yn meddwl mai yr un peth a roddwyd ar y Meichai ag a fuasai raid i'r troseddwr ei ddyoddef yn uffern. Ond eto, fel y mae perthynas bersonol troseddwr â'i drosedd yn ei wneyd yn agored i ddyoddefiadau meddwl, megys edifeirwch am y trosedd, cnofeydd cydwybod, &c., pethau na allai ei fechnïydd fod yn brofiadol o honynt; felly y mae bod Crist, ac yntau yn ddiniwaid, yn dyoddef dros bechodau rhai ereill, a bod yr uffernolion yn dyoddef am bechodau a gyflawnasant hwy eu hunain, yn gwneyd fod y naill, o angenrheidrwydd, yn dyoddef pethau na allasai y llall eu dyoddef.

Y mae y teulu annedwydd tudraw i'r gagendor yn dyoddef pethau na allasai Crist fod yn agored iddynt. Ni allasai ef fod yn agored i bigiadau "cydwybod pechod," am na wnaeth ddim erioed i'w gydwybod ei gondemnio o'i herwydd. Ni allasai ef ychwaith brofi cynhyrfiadau pechadurus nwydau annuwiol, pa rai, yn ddiddadl, sydd yn dirdynu holl natur y damnedigion, heb i'w berson santaidd gael ei halogi, ei waith gael ei anurddo, a'i amcan mawr gael ei ddyrysu. Y mae anobaith yn mysg dyoddefiadau y damnedigion, am y gwyddant na ddeuant byth yn rhydd:

ond ni allai Crist anobeithio, am y gwyddai y deuai allan yn orfoleddus o'i holl flinderau.

Trachefn, dyoddefodd Crist bethau ag y mae yn anmhosibl i bechadur eu dyoddef. Pan oedd ef yn dyoddef, a phechodau aneirif o'r fath ffieiddiaf yn gyfrifedig arno; holl ellyllon aflan y pwll, fel llewod, unicorniaid, teirw, a chŵn, yn ei amgylchu; a'r dynion gwaethaf a sangodd ddaear erioed yn ei boenydio ac yn ei ddirmygu; yr oedd dyoddefaint yn tarddu yn angenrheidiol o fawredd ei berson, a santeiddrwydd ei natur ef, nas gall pryfed ansantaidd Gehena wybod dim am danynt.

Ond eto, fel y mae cosp pechod yn dyfod oddiwrth Dduw, fel diffynwr ei gyfraith, yr wyf yn meddwl mai yr un peth a roddwyd ar Grist ag a roddir ar y colledigion. "Cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef." "Gofidiau uffern a'i daliasant," Esay liii. 5; Ps. xviii. 5; a cxvi. 3.

*Gwran.* Y mae yn anmhosibl i chwi ddal fod Crist wedi dyoddef holl gospedigaeth ei bobl, heb ganiatâu ei fod wedi syrthio i bechod, canys y mae marwolaeth ysbrydol, neu bechadurusrwydd natur, yn ol eich cyfundraith chwi eich hunan, yn rhan o'u cospedigaeth hwy.

*Preg.* Nid yw pechadurusrwydd y natur ddim yn dyfod oddiwrth Dduw yn gospedigaeth ar ddyn, ddim pellach na bod y dyn yn cael ei *adael* iddo ei hun: byddai dywedyd y gwrthwyneb i hyn, yn ei wneuthur Ef yn awdwr pechod. Caniatawn mai y canlyniad sicr o hyn, i bawb, ond person Mab Duw, ydyw marw mewn camweddau a phechodau: ond yr oedd purdeb ei natur ef, y'nghydag undeb ei natur ddynol â'i berson dwyfol, yn ei gynal uwchlaw y fath ganlyniad, er iddo gwyno, yn chwerwder ei enaid, fod Duw Dad wedi ei *adael.*

*Gwran.* Da, i'm tyb i, y dywed Mr. J. fod y "dybiaeth o weinyddiad y gosp yn llythyrenol ar Grist, yn dinystrio daioni ac yn gwanhau awdurdod y llywodraeth ddwyfol."—Tudal. 40.

*Preg.* Yn tudal. 38, y mae yr awdwr yn dywedyd, "Pe buasai Pythias yn marw yn lle Damon mewn gwirionedd, y buasai yn dyoddef y gosp ag oedd ddyledus i Damon." Ychydig yn mlaen drachefn, y mae yn cydnabod fod yr ysgrythyrau yn gosod allan farwolaeth Crist yn llawn ac yn llythyrenol, "yn lle a thros ereill, fel y buasai yr eiddo Pythias;" ac eto, y mae yn haeru fod y dybiaeth hon yn dinystrio daioni ac yn gwanhau awdur-

dod y llywodraeth ddwyfol. Pe dygid y golygiadau hyn i gyfresymiad rheolaidd, byddai yn debyg i'r hyn a ganlyn:

Y mae y dybiaeth o roddiad llythyrenol y gosp ar Grist yn dinystrio daioni ac yn gwanhau awdurdod y llywodraeth ddwyfol. Ond y mae yr ysgrythyrau yn tybied fod y gosp, "yn llawn ac yn llythyrenol," wedi ei rhoddi ar Grist. Gan hyny, y mae yr ysgrythyrau yn dinystrio daioni ac yn gwanhau awdurdod y llywodraeth ddwyfol.

"Syned byd dros enyd bach!"

Ai dyma lle y mae yr awdwr am ein harwain yn y diwedd?

Yn hytrach, byddai yn well dywedyd fel hyn: Pan y mae dyn yn dywedyd yn groes i'r hyn y mae yr ysgrythyrau yn ei osod allan, y mae y dyn hwnw yn cyfeiliorni. Ond y mae Mr. J. yn dywedyd yn groes i'r hyn y mae yr ysgrythyrau (yn ol ei gyfaddefiad ef ei hun) yn ei osod allan. Gan hyny, rhaid fod Mr. J. yn cyfeiliorni.

*Gwran.* Y mae yr amser yn galw am i ni ymadael y tro hwn eto. Ond pe gwnaech ryw grynhoad, fel arferol, o swm yr hyn a ddywedasoch, byddai yn fantais i mi i ail fyned trostynt yn fy myfyrdodau pan fyddaf wrthyf fy hun.

*Preg.* 1. Mai iawn ydyw unrhyw beth a fyddo yn cael ei gynyg, a'i gymeradwyo, *yn lle'r* hyn a ofynir yn wreiddiol.

2. Mai yr hyn y mae deddf Duw yn ei ofyn yn wreiddiol i droseddwr, *fel troseddwr*, yw bod iddo ddyoddef ei chosp. Y mae yn wir fod y ddeddf yn gofyn perffaith ufydd-dod i ddyn *fel creadur:* ond y cwbl y mae yn ei ofyn iddo, *fel pechadur*, yw dyoddef ei chospedigaeth.

3. Nad oes dim iawn i fod yn lle cospedigaeth pechod, am fod pechod a chospedigaeth yn angenrheidiol gysylltiedig â'u gilydd.

4. Fod Iesu Grist wedi ei osod, ei roddi ei hun, a'i gymeradwyo gan y Tad, yn iawn tros bersonau ei bobl. Mai efe ei hun a roddwyd, ac a gymeradwywyd, yn lle yr hyn a ofynid yn wreiddiol, sef personau ei bobl; ac felly, mai "Efe yw yr iawn."

5. Nad iawn, hyny yw, nad rhyw beth yn lle cospedigaeth, oedd *dyoddefaint* Crist, ond *y gospedigaeth ei hun.*

*Gwran.* "Iawn tros *ein pechodau* ni," medd y beibl, ac nid iawn trosom *ni.*

*Preg.* Y mae y dull trawsenwadol o lefaru i'w ganfod yn gyffredin yn y beibl. Pan ddywedir, "Trugarog fyddaf *wrth eu hanghyfiawnderau,*" y meddwl ydyw, *wrthynt*

*hwy.* Pan oedd y dyn yn gweddio, "Cymhorth fy annghrediniaeth i," ei feddwl oedd, "Cymhorth fi sydd yn cael fy mlino gan annghrediniaeth." Felly y mae yn ymddangos i mi, pan ddywedir fod Crist yn iawn dros ein pechodau ni, fod y pechodau yn cael eu henwi yn drawsenwadol am y personau. Yn yr ystyr yma, gellir dywedyd fod Crist yn talu neu yn rhoddi iawn, a galw ei ddyoddefaint yn iawn, &c. Ond mewn ystyr priodol, yr wyf eto yn dywedyd, mai *Efe ei hun ydyw yr iawn.* Nos da i chwi heno.

*Gwran.* Nos da'wch.

---

## YMDDYDDAN XI.

### RHAN I.

DYODDEFAINT YN HANFODOL I'R IAWN, &C.

*Gwran.* Boreu da'wch, fy nghyfaill; y mae yn dda iawn genyf eich gweled. Yr wyf wedi meddwl llawer am un peth a ddywedasoch yn ein hymddyddan diweddaf, sef mai person, yn hytrach na dyoddefaint, Crist, yw yr iawn. A ydych, attolwg, yn ystyried fod person Crist yn iawn, heb, neu yn annibynol ar, ei ddyoddefaint?

*Preg.* O nac ydwyf, ar un cyfrif; canys ni allwn olygu felly, heb addef un o'r pethau gwrthunaf a ddelir gan Ffwleriaid, sef, nad oedd dyoddefaint ddim yn un o'r pethau a alwant yn "*elfenau yr iawn.*"

*Gwran.* Hyny oeddwn inau yn ei feddwl.

*Preg.* Y mae yn ddrwg genyf os methais â dywedyd yn ddigon eglur i chwi allu deall fy meddwl. Wrth ddywedyd mai y person ydyw yr iawn, nid oeddwn yn meddwl y gallasai Crist fod yn iawn heb ddyoddef, ond mai efe ei hun, yn ei waith yn ymroddi i ddyoddef cospedigaeth ei bobl, yn yr ystyr mwyaf priodol ac ysgrythyrol o lefaru, ydyw yr iawn. Yr oedd mawredd person,—undeb â'r natur ddynol,—gosodiad ac ymroddiad i'r gwaith,—perffeithrwydd bywyd,—y'nghyda dyoddefiadau, oll mor angenrheidiol, fel na allasai Crist fod yn iawn heb bob un o honynt; eto, nid mor briodol fyddai dyweyd mai mawredd y person, neu ei undeb â'r natur ddynol, &c., ydyw yr iawn; pe amgen, byddai genym lawer o iawnau; ond Crist yn mawredd ei berson,—yn ei undeb â'r natur ddynol,—yn ei osodiad a'i ymroddiad i'r gwaith,—yn mherffeith-

rwydd ei fywyd,—ac yn ei ddyoddefaint, &c. Efe, meddaf, yn, a thrwy y pethau hyn, yw yr iawn.

*Gwran.* Yr ydych chwi, felly, yn barnu fod dyoddefaint yn un o elfenau yr iawn, mor wirioneddol a'r pethau ereill a enwasoch.

*Preg.* Prin yr wyf fi yn cymeradwyo y gair "*elfenau yr iawn*," am ei fod yn cario y meddylddrych o fod yr iawn yn rhyw *gomposition* yn cael ei wneyd i fyny o amryw ddefnyddiau, a phob un o honynt yn rhan o hono, yr hyn sydd olygiad gwael ac anysgrythyrol ar y peth. Ond, os wrth elfenau yr iawn yr ydych yn meddwl y pethau oedd yn angenrheidiol i Grist fel iawn, nid oes dim yn cael ei ddangos yn y beibl yn fwy felly na dyoddefaint. "Onid oedd raid i Grist ddyoddef, &c." Luc xxiv. 26.

*Gwran.* Wrth y "rhaid," yn y lle yna, y meddylir y rhaid o gyflawni yr ysgrythyrau. Nid ydys yn gwadu fod dyoddefaint Crist wedi ei ragddywedyd gan y proffwydi; ac, yn yr ystyr hyny, yr oedd yn rhaid iddo ddyoddef, neu fe fuasai yr ysgrythyr heb ei chyflawni. Ond y mae rhagor mawr rhwng hyny a dyweyd fod dyoddefiadau mor angenrheidiol, fel na allasai Crist fod yn iawn hebddynt.

*Preg.* Y mae yn wir fod yn rhaid i broffwydoliaethau y beibl gael eu cyflawni: ond os dywedwn mai ysgrythyrau y proffwydi oedd yn gosod rhaid ar Grist i ddyoddef, yr ydym yn gosod pethau yn hollol o chwith. Nid am i'r proffwydi ddywedyd y dyoddefai Crist yr oedd yn rhaid iddo ddyoddef; ond am fod yn rhaid iddo ddyoddef, y dywedodd y proffwydi y dyoddefai. Pan oedd Crist yn profi allan o'r ysgrythyrau, i'r ddau ddysgybl ar y ffordd i Emmaus, mai un i ddyoddef oedd y Messia, yr oedd yn dysgu iddynt fod yr ysgrythyrau, nid wedi *gosod* rhaid, ond wedi *dangos fod* yn rhaid, i Grist ddyoddef.

*Gwran.* Wel, gadewch fod dyoddefaint Crist yn beth o drefniad arfaeth Duw, ac mai am hyny y proffwydwyd am y peth: ond y mae gwahaniaeth eto rhwng dywedyd fod dyoddefaint Crist yn beth o drefn benarglwyddol Duw, a dywedyd ei fod mor angenrheidiol, fel nas gallasai Crist fod yn iawn hebddo.

*Preg.* Addefwn mai peth o benarglwyddiaeth Duw, yn unig, oedd bwriadu achub, a threfnu iawn. Ond wedi i hyny gael ei benderfynu, yr oedd dyoddef yn beth o angenrheidrwydd. Heb iawn ni buasai maddeuant, ac heb ddyoddef ni buasai iawn. "Heb ollwng gwaed, nid oes

maddeuant," Heb. ix. 22, am fod cospi pechod yn beth o angenrheidrwydd.

*Gwran.* Os oedd yr hyn a ddyoddefodd Crist yn anhebgorol iddo fel iawn, yna pe dyoddefasai lai, buasai o gymaint a hyny yn fyr o fod yn iawn; neu pe dyoddefasai fwy, buasai gymaint a hyny dros ben bod yn iawn. Mewn difrif, a ydych yn meddwl pe buasai yn dyoddef llai o fflangellau, neu lai o bigau yn y goron ddrain, &c. y buasai cymaint a hyny o ddiffyg yn yr iawn?

*Preg.* Yr wyf yn dymuno cael fy esgusodi am wrthod rhoddi ateb uniongyrchol i'ch cwestiwn; oblegid os dywedaf y gwir, ni wn i ddim beth a fuasai; ac yr wyf yn meddwl y byddai yn ormod o hyfdra i ni fyned yn mlaen yn mhell ar y tir yna. Ond gan fod cospedigaeth yn anwahanol gysylltiedig â phechod, a chan fod Crist yn iawn dros yr euog, digon i'r pwrpas presenol yw dywedyd fod yn rhaid iddo, yn y sefyllfa hòno, ddyoddef y gospedigaeth, pa nifer bynag o fflangellau, neu o ddrain, &c. a fuasai yn angenrheidiol i hyny.

*Gwran.* Wel, os oedd dyoddefiadau mor angenrheidiol, fel na allasai fod dim yn iawn dros bechaduriaid hebddynt, pa anaddasrwydd sydd mewn galw dyoddefaint Crist yn iawn?

*Preg.* Dim: oblegid y mae y dull trawsenwadol (*metonymical*) o lefaru, sef enwi y naill beth am beth arall, yn beth arferedig yn y beibl, yn gystal ag mewn ymddyddanion cyffredin: ac, fel y dywedais wrthych ryw dro o'r blaen, nid wyf yn gweled dim anaddasrwydd, yn yr ystyr hyny, i alw dyoddefaint Crist yn iawn, er, yn yr ystyr mwyaf priodol o lefaru, mai efe ei hun, yn ei ddyoddefaint, &c. ydyw yr iawn.

*Gwran.* Ond yr oeddych yn siared fel pe buasai rhyw berygl cyfeiliorni, wrth alw dyoddefaint Crist yn iawn.

*Preg.* Yr wyf yn meddwl fod perygl rhag i ni, wrth gymeryd y dywediad mewn ystyr uniongyrchol, yn lle trawsenwadol, dybied mai rhyw beth yn lle cosp, ac nad y gospedigaeth ei hun, oedd dyoddefaint Crist. Gellir dyweyd fod dyoddefaint Crist yn iawn, yn lle i'w bobl ddyoddef, oblegid ni fyddai hyny ond yr un peth a dywedyd, ei fod ef yn iawn yn eu lle hwy; ond mae dywedyd fod dyoddefaint Crist yn iawn yn lle *cospedigaeth*, yn anysgrythyrol a chyfeiliornus, canys cospedigaeth, ac nid dim *yn lle* cospedigaeth, oedd ei ddyoddefaint ef.

Gobeithio eich bod bellach yn deall y peth yr wyf yn ceisio ei ddywedyd, sef, 1. Fod dyoddefiadau Crist mor anhebgorol angenrheidiol, fel nas gallasai fod yn iawn tros bechaduriaid hebddynt. 2. Eto, nad priodol yw dywedyd mai iawn yn lle *cospedigaeth* pechod oedd y dyoddefaint hyny; ond Crist ei hun, trwy ddyoddef y gospedigaeth yn lle ei bobl, ydyw yr iawn. 3. Ac eto, fod yn ddigon cyfreithlawn, mewn ystyr trawsenwadol, i alw dyoddefaint Crist yn iawn.

*Gwran.* A ydych yn meddwl, ynte, fod rhyw berygl i ni ddywedyd fod Crist yn iawn dros bechodau.

*Preg.* Nid oes dim perygl i ni ddywedyd fel y mae y beibl yn dywedyd, ond y mae perygl rhag i ni roddi cam ystyr i ddywediadau y beibl.

*Gwran.* Wel, y mae y beibl yn dywedyd, mai "Efe yw yr iawn dros ein pechodau ni;" ac hefyd, iddo roddi ei hun drosom ni. Felly y mae dywedyd fod Crist yn iawn *dros ein pechodau ni,* mor ysgrythyrol a dywedyd ei fod *drosom ni.*

*Preg.* Y mae hyny yn ddigon gwir. Ond eto, nid yn yr un ystyr y mae Crist yn iawn dros bechodau, ag y mae dros bersonau. Pan ddywedir fod Crist yn iawn dros bersonau, yr ystyr yw, fod yr iawn yn foddion i orchuddio, i gysgodi, neu i arbed y personau hyny rhag digofaint: ond a ddywedech chwi fod yr iawn yn foddion i orchuddio, i gysgodi, neu i arbed pechod rhag digofaint? Na wnaech, canys ni chafodd pechod ei ddynoethi, a'i gospi, mewn dim erioed yn gymaint ag yn angeu Crist.

*Gwran.* Trwy drawsenwad yn unig, ynte, y dywedir mai tros bechodau y mae Crist yn iawn?

*Preg.* Pe buasai genym ragor o amser, pan y buom yn ymddyddan am hyn o'r blaen, buaswn inau yn dywedyd rhagor; ond am fod ein hamser mor fyr, ni wnaethym ond awgrymu y gallai mai mewn ystyr trawsenwadol y dywedir fod Crist yn iawn dros bechodau: ond gan i chwi son am y peth, y mae yn dda genyf gael cyfleusdra i ddywedyd, nad mewn ystyr trawsenwadol *yn unig* y gellir dywedyd felly. Y mae y gair *tros*, yn y beibl, yn arwyddo, weithiau, *am* neu *o herwydd*, ac, weithiau, *yn lle.* Yn awr, os dywedir fod Crist yn iawn *dros* (sef *yn lle*) ein pechodau ni, ni fedraf gael un ystyr i'r dywediad, ond fel y dywedais o'r blaen, trwy gymeryd y gair pechodau yn drawsenwad am bersonau; oblegid ni allaf gael

un meddylddrych, pa fodd y byddai *person* Crist yn lle dim ond *personau* ei bobl. Ond os dywedwn fod Crist wedi ei roddi yn iawn *dros* (sef *am*, neu *yn herwydd*) ein pechodau ni, y mae yr ystyr yn amlwg, heb olygu dim trawsenwad. Y mae yr un priodoldeb mewn dywedyd i'r Tad "roddi ei Fab i fod yn iawn *dros* (neu *am*) ein pechodau ni," ag sydd mewn dywedyd, "Efe a archollwyd am ein camweddau ni—Rhoddwyd plâ arno ef am gamwedd fy mhobl." Esay liii. 5—8.

---

## RHAN II.

### CYFAMMOD Y PRYNEDIGAETH, A GWRTHDDRYCHAU YR IAWN.

*Gwran.* Mi a glywais lawer o son am *gyfammod y prynedigaeth;* rho'wch glywed, da chwi, pa beth yw y cyfammod hwnw?

*Preg.* Er nad yw y gair cyfammod y prynedigaeth, na'r gair cyfammod gras ychwaith, yn cael ei arferyd yn y beibl, eto y mae bod cyfammod rhwng y Personau dwyfol, o berthynas i brynedigaeth yr eglwys, yn wirionedd ag sydd i'w weled yn amlwg yn yr ysgrythyrau. Ni wnaf yn bresenol ond eich cyfeirio at un ysgrythyr o lawer, ac sydd yn dangos y mater, dybygwn i, yn rhy amlwg i'w wadu, heb wadu gwirionedd y beibl, sef Esay liii. 10, 11. "Eithr yr Arglwydd a fynai ei ddryllio ef; efe a'i clwyfodd: pan osodo efe ei enaid yn aberth dros bechod, efe a wel ei hâd, efe a estyn ei ddyddiau; ac ewyllys yr Arglwydd a lwydda yn ei law ef. O lafur ei enaid y gwel, ac y diwellir: fy ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy ei wybodaeth; canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt." Neu, yn ol cyfieithiad y Parch. J. Jones, (*Ioan Tegid,*)

"Ond mynai IEHOFAH ei friwaw ef; parai ei ofidiaw; [gan ddywedyd] os gosoda efe ei enaid yn bech-aberth, efe a wela had, estyna ddyddiau, ac ewyllys IEHOFAH a lwydda yn ei law.
O lafur ei enaid y gwela efe, ac y boddlonir: trwy ei wybodaeth y cyfiawnhâ fy ngwas cyfiawn laweroedd; canys eu camweddau hwynt efe a ddyga."†

Y mae yn amlwg fod y person sydd yn llefaru y geiriau hyn, sef y Tad, wedi myned i gyfammod â'r person y lleferir am dano, sef Crist; hyny yw, fod Crist, fel gwas i'r

---

† Gwel Y Cymmro, Cyf. ii, tudal. 26.

Tad, i roddi ei enaid yn aberth dros bechod; a bod iddo yntau, yn daledigaeth am hyny, gael gweled hâd, a'r hâd hyny i gael estyniad dyddiau, sef bywyd tragwyddol.

*Gwran.* Nid yw yn angenrheidiol i'r ddadl rhwng Calfinistiaid a Ffwleriaid, i brofi fod cyfammod rhwng y Tad a'r Mab, mewn perthynas i achub pechaduriaid, canys y mae y ddwy blaid yn addef y peth. Ond y pwnc ydyw, Pa beth yw'r cyfammod hwnw, o ran ei natur a'i ddybenion?

*Preg.* Y mae y *Dr. Dwight* yn darnodi cyfammod y prynedigaeth fel hyn, "Fod Duw Dad wedi myned i gyfammod â Christ, yn mha un yr addawodd, ar yr ammod iddo ef ddyfod yn iawn ac yn eiriolwr dros bechaduriaid, fel gwobr am ei lafur a'i ddyoddefiadau, y byddai iddo gael eglwys, yr hon, o dan ei lywodraeth ef, a fyddai yn ogoneddus a dedwydd byth."†

*Gwran.* Wel, onid yw y Doctor yn dywedyd yn iawn?

*Preg.* Ydyw, am a wn i. Ond buasai yn ddymunol iddo ddywedyd ei feddwl yn fwy eglur ar y peth; oblegid, pan y mae yn dywedyd mai ammod Crist oedd dyfod yn iawn ac yn eiriolwr dros bechaduriaid, ac mai ammod y Tad oedd iddo yntau gael eglwys, &c. y mae yn anhawdd gwybod pa un ai y pechaduriaid ag y daeth ef i fod yn iawn drostynt, ai ynte rhyw bechaduriaid ereill, a olyga yr awdwr, sydd i fod yn eglwys i Grist. Ond mi a fyddwn yn eithaf boddlawn i'r darnodiad, gydag ychydig o dalfyriad a newidiad fel hyn, "Fod Duw Dad wedi myned i gyfammod â Christ, yn mha un yr addawodd, ar yr ammod iddo ef ddyfod yn iawn ac yn eiriolwr dros bechaduriaid, y byddai iddo yntau gael y pechaduriaid hyny yn eglwys ogoneddus iddo ei hun, heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw."

*Gwran. Nonsense.* Ni wiw i chwi alw hyna yn dalfyriad, nac yn eglurhad ar waith y Doctor; canys y mae yn amlwg, mewn rhanau ereill o'i waith, nad ydoedd ef yn barnu fod yr holl bechaduriaid ag y bu Crist farw drostynt, i fod yn eglwys iddo; oblegid y mae yn dal iddo farw tros holl ddynolryw.

*Preg.* Efallai hyny. Ond yr wyf fi yn methu â'i weled yn gyson âg ef ei hun, pe caniateid fod ei ddarnodiad o'r cyfammod yn gywir. Y mae ein hawdwr yn addef mai ammod Crist yn y cyfammod hwnw oedd dyfod yn iawn;

---

† Gwel Dwight's Theo. 24mo. edit. Vol. ii. page 392.

ac mai ammod y Tad oedd iddo yntau gael eglwys i fod yn ddedwydd byth. Yn ol y gosodiad hwn, nid un yn gweithio ar antur oedd Crist, ond gwas ydoedd, a'i waith a'i gyflog wedi ei benderfynu, yn y cytundeb mawr cyn bod y byd; o ganlyniad, rhaid mai yr hyn a addawyd iddo yn y cytundeb hwnw oedd yr hyn y gwasanaethodd am dano; a rhaid, yn ol ffyddlondeb Duw, y gwneir yr addewid hòno yn dda, sef, y bydd y rhai y gwasanaethodd Crist am danynt, oll yn gadwedig. Ond os bydd rhai o'r sawl y bu Crist farw drostynt, yn golledig yn y diwedd, y mae yn rhaid, yn 1. Nad oedd yn y cyfammod un golygiad am achub neb mwy na'u gilydd: neu, yn 2. Ei fod ef, wrth farw, wedi gwneyd rhyw beth heblaw cyflawni ammod y cyfammod: neu ynte, yn 3. Y bydd y Tad yn anffyddlawn i'w addewid. Y mae yn rhaid i chwi sefyll wrth un o'r tri, neu roddi i fyny y pwnc o iawn cyffredinol. Yrŵan, pa un a ddewiswch?

*Gwran.* Yr wyf yn addef y cyntaf, oblegid nid yw y Doctor, dybygwn i, yn ystyried fod y cyfammod yn sicrhau achubiaeth neb mwy na'u gilydd; y cwbl a addawyd ydyw, y byddai i ryw nifer gael eu hachub, ac y byddai y nifer hyny, a'r daioni a ddeuai iddynt, yn ddigon o annogaeth i'r Mab fyned tan holl ddarostyngiad a dyoddefaint ei nodweddiad cyfryngol.‡

*Preg.* Pa beth? ai nid oedd neb mwy na'u gilydd o ddynolryw yn cael eu haddaw i Grist yn y cyfammod? Paham, ynte, y mae Crist yn son cymaint am "y rhai a roddwyd iddo allan o'r byd?" Yn wir, mi a ryfeddais beth, wrth ddarllen gwaith y Doctor, na chawsem ganddo un bregeth, neu o leiaf ben pregeth, ar etholedigaeth gras, ac yntau yn proffesu ymdrin yn fanwl â holl ganghenau duwinyddiaeth; ac nis gwn i eto pa gyfrif i'w roddi am y fath wall, oddieithr fod yr awdwr yn rhyw ddystaw annghymeradwyo y pwnc.

*Gwran.* Ond y mae y Doctor yn dal fod yr Arglwydd wedi rhagbenderfynu, er tragwyddoldeb, bob peth a wnai mewn amser; a rhaid fod etholedigaeth yn gynwysedig yn hyny, er nad ydyw yn ei drin o dan yr enw etholedigaeth.

*Preg.* Y mae yn wir ei fod yn dal, fod pob peth fel eu gilydd wedi eu penderfynu yn mwriadau Duw, syrthiad aderyn y tô ar y ddaear, yr un modd a chadwedigaeth

‡ Gwel Dwight's Theo. Vol. ii. page 395.

dyn; disgyniad y gwlaw, yr un modd ag achubiaeth eneidiau; ond nid oes dim neillduolrwydd yn perthynu i'r penderfyniad o gadw pechaduriaid, mwy na rhyw beth arall yn arfaethau Duw.§.

Ond y mae etholedigaeth, yn yr ysgrythyrau, yn cael ei hystyried, nid yn unig yn un o bethau arfaeth gyffredinol Duw, ond hefyd yn rhan hanfodol o'r cyfammod rhwng y Tad a Christ; pe amgen, nis gwn i pa synwyr a ellid ei wneyd o'r geiriau, "Ethol ynddo ef—Etholedigaeth gras — Ethol i ufydd-dod a thaenelliad gwaed Iesu Grist," &c. Os caniateir hyn, rhaid penderfynu mai rhoddi yr etholedigion yn eglwys i Grist, oedd ammod y Tad yn nghyfammod y prynedigaeth, ac mai am a thros y rhai hyny yr ymrwymodd Crist i ddyoddef a marw.

Ond peidiwn â gwneyd cam â'r Doctor hefyd. Nid wyf fi yn coelio y buasai ef yn gwadu mewn geiriau, mai yr etholedigion oedd yn cael eu haddaw i Grist fel gwobr am ei lafur, canys y mae yn addef mai "y deyrnas [a barotowyd er seiliad y byd] a'r eglwys, yr hon sydd i'w meddiannu, ydyw gwir wrthddrych y cyfammod."¶ Ac ni welaf fi ddim gwahaniaeth rhwng hyn a dywedyd mai iachawdwriaeth ei eglwys yw y gwir ammod yr ufyddhaodd Crist am dano. Ond, pa fodd y gall hyny fod yn gyson â dywedyd fod holl ddynolryw yn wrthddrychau iawn Crist, atebed y sawl sydd yn deall. Y mae'n ymddangos i mi, beth bynag, na ellir, ar dir têg, hòni fod Crist wedi marw dros holl ddynolryw, heb wadu cyfammod ac etholedigaeth gras.

---

## YMDDYDDAN XII.

### Y PRYNEDIGAETH.

*Gwran.* Ni feddyliech chwi byth gystal ydyw genyf eich gweled heddyw, canys wedi i mi glywed eich golygiadau am gyfammod y prynedigaeth, yr oeddwn yn hiraethu, mwy na pheidio, am glywed eich barn am y prynedigaeth ei hun. Pa beth sydd i'w feddwl wrth y gair prynedigaeth, yn y beibl?

*Preg.* Y mae eich cwestiwn yn deilwng iawn o ystyriaeth, canys y mae llawer o grefyddwyr yn camddeall eu gilydd, oblegid eu gwahanol opiniynau am y gair

---

Gwel Dwight's Theo. vol. i. page 335.---¶ Ibid, vol. ii. page 394.

prynedigaeth. 1. Wrth brynedigaeth, y mae y cyffredinolrwydd o Galfinistiaid ac Arminiaid yn golygu yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist dros bechaduriaid; yr olaf yn dal ei fod, trwy hyny, wedi prynu pawb, a'r cyntaf yn dal mai ei eglwys yn unig a brynwyd ganddo; yr Arminiaid yn dal prynedigaeth cyffredinol, a'r Calfinistiaid yn dal mai neillduol a phersonol ydyw. 2. Y mae y Ffwleriaid, drachefn, yn dal na phrynodd Crist neb wrth farw ar y groes, ac nad yr hyn a wnaeth Crist dros ddynion yw y prynedigaeth, ond eu rhyddhad gweithredol o tan felldith y ddeddf. "Y golygiad ysgrythyrol ar brynedigaeth (medd y Parch. R. Everett, gynt o Ddinbych, yn awr o America) ydyw *personol ryddhad troseddwr oddiwrth ryw ddrwg naturiol neu foesol, ar gyfrif iawn drosto i'r gyfraith.*"‡ Drachefn, "Yr un mor ynfyd ydyw son am brynedigaeth *cyffredinol*, a son am ailenedigaeth gyffredinol, neu gyfiawnhad cyffredinol, gan mai yr un personau sydd yn derbyn y bendithion hyn oll."¶ Y mae y gŵr hwn yn deilio yn onest; oblegid wrth ddywedyd nad cyffredinol yw y prynedigaeth, y mae yn dangos yn dêg mai ei feddwl yw, nad cyffredinol yw y waredigaeth odditan felldith y ddeddf.

Ond y mae lle i ofni fod llawer, wrth ddywedyd nad ydynt yn dal prynedigaeth cyffredinol, yn arferu y gair prynedigaeth mewn dull mwysaidd, sef i beri i'w gwrandawyr feddwl eu bod o'r un farn a'r hen Galfinistiaid, er eu bod yn dal fod yr iawn dros bawb yn ddiwahaniaeth.

Prynu pawb a wnaeth Crist wrth farw, medd yr Arminiaid; rhoddi iawn i'r llywodraeth dros bawb a wnaeth, medd y Ffwleriaid. O ran y peth ynddo ei hun, y mae yn anhawdd gweled gwahaniaeth rhwng prynedigaeth cyffredinol yr Arminiaid, a iawn cyffredinol y Ffwleriaid; yr un peth a eilw y naill yn brynedigaeth, ag a eilw y llall yn iawn, sef dyoddefaint Crist; a'r ddau yn myntumio mai pawb, yn ddiwahaniaeth, yw gwrthddrychau y peth. Ond eto, pe caniateid esboniad y Ffwleriaid ar y gair prynedigaeth, ni byddai dim dadl rhyngddynt a'r Calfinistiaid am ei wrthddrychau, canys y mae y naill a'r llall yn addef mai yr etholedigion yn unig a achubir.

Gall dyn fod yn Ffwleriad, a gwadu prynedigaeth cyffredinol; ond ni all neb fod yn Galfinist, a dal iawn cyffredinol.

‡ Gwel Galwad Difrifol, tudal. 92.---¶ Tudal. 101.

*Gwran.* Pa un, meddwch chwi, ynte, ai gwaith Crist yn dyoddef dros bechaduriaid, ai gwaith y Tad a'r Ysbryd yn gwaredu pechaduriaid, a eilw y beibl yn brynedigaeth?

*Preg.* Weithiau bob un o'r ddau, ac weithiau y ddau y'nghyd. Fe allai fod y prynedigaeth, yn ei ystyr mwyaf priodol, yn cynwys y cwbl o waith iachawdwriaeth pechaduriaid, sef yr hyn oll a wneir drostynt, arnynt, ac ynddynt.

Dywed y berniaid fod y gair Groeg *Agorazo*, a'i berthynasau, pa rai a gyfieithir prynu, &c. yn 1 Cor. vi. 20, vii. 23, Dat. v. 9, a rhai manau ereill, yn arwyddo, yn llythyrenol, prynu nwyddau trwy roddi gwerth am danynt, am fod y gair *Agorazo* yn tarddu o'r gair *Agora*, lle marchnad. Felly nid ydyw son am y prynedigaeth drwy Grist, o dan y gymhariaeth o fasgnach gyffredin, yn ymddangos i mi yn hollol anysgrythyrol, er fod y Ffwleriaid yn dulio yn ddiflino ar y peth. Ond dywedir fod y gair *Apolutrosis*, yr hwn a arferir fynychaf am y prynedigaeth trwy Grist, yn arwyddo prynu o gaethiwed, am ei fod yn tarddu o'r gair *Lutron*, pridwerth neu iawn.

Dywedir hefyd fod y geiriau Hebreig, *Goel* a *Phadah*, ag sydd yn cael eu harfer yn yr Hen Destament yn gyfeiriol at Grist, yn y manau lle mae ein cyfieithwyr ni yn arfer y geiriau Prynwr, Gwaredwr, Gwaredu, &c., yn arwyddo prynu neu waredu o gaethiwed. "Myfi a wn fod fy Mhrynwr (*Goel*) yn fyw." Job xix. 15. "Fy Nghraig a'm Prynwr (*Goel.*)" Psalm xix. 14. "Eu Gwaredydd (*Goel*) sydd gryf." Jer. i. 34. "Gwerthfawr yw pryniad (*Phadah*) eu henaid." Psalm xlix. 8. Felly y mae yn ymddangos i mi, pan y mae Crist a'i iachawdwriaeth yn cael eu galw Prynwr a phrynedigaeth, y gwneir hyny, yn fynychaf, mewn cyfeiriad at y dull Iuddewig o brynu caethion. Ac yr oedd rhyw beth o natur seremonïol yn nghyfraith y *Goel*, neu y cyfathrachwr yn Israel; ac felly gellid meddwl ei fod wedi ei fwriadu i fod yn gysgod addas o Grist, ein Cyfathrachwr ni; a'r gyfraith hòno, i fod yn gynllun cymhwys o drefn prynedigaeth pechaduriaid.

Yr wyf finau o'r un farn a Mr. Everett, "fod yr ymadrodd *prynu bendithion*, yn gwbl annghyson â golygiad yr ysgrythyrau ar athrawiaeth y prynedigaeth, am mai personau a brynwyd, ac nid pethau."† Ond yr wyf

† Gwel Galwad Difrifol, tudal. 101.

yn methu cydweled â'r gŵr "nad ydyw y gair *prynedigaeth*, un amser, yn arwyddo rhoddiad yr iawn."† Beth am Rhuf. iii. 24, "A hwy wedi eu cyfiawnhau, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu?" Ai nid rhoddiad yr iawn, attolwg, a feddylir wrth brynedigaeth yn y geiriau yna? Pa synwyr fuasai dyweyd fod dynion yn cael eu cyfiawnhau, trwy eu bod yn cael eu gwaredu? Dywed Mr. Everett fod y prynedigaeth yn arwyddo "y cyfnewidiad sydd yn cymeryd lle yn nghyflwr pechadur, pan mae yn cael ei symud o'i sefyllfa golledig."‡ Yn ol y golygiad hwn, yr un peth yw prynu a chyfiawnhau; felly nid yw ymresymiad yr apostol amgen na dyweyd fod y saint wedi eu prynu, trwy eu bod wedi eu prynu; neu wedi eu cyfiawnhau, trwy eu bod wedi eu cyfiawnhau! A fuasai rhesymu fel yna yn deilwng o'r fath ŵr a'r apostol Paul, heb son am ysbrydoliaeth Duw? Os na fuasai, yna rhaid nad gwaredigaeth pechaduriaid, ond yr hyn a wnaed gan Grist drostynt, yw'r prynedigaeth yn y testyn.

*Gwran.* Wel, eich barn chwi, dybygid, yw, mai rhoddiad yr iawn ydyw y prynedigaeth.

*Preg.* Yr wyf yn meddwl fod y gair yn cael ei arferyd weithiau am hyny, ac weithiau am y waredigaeth; ond yn gyffredin, ac yn ei ystyr mwyaf priodol, yr wyf yn meddwl ei fod yn cymeryd i mewn y ddau.

Y mae y gair prynu yn cario'r meddylddrych o *gyfnewid*, pa un bynag ai nwyddau ai caethion fyddo'r gwrthddrychau.

*Gwran.* 'Rhoswch chwi, onid yw gwaredigaethau tymhorol, megys gwaredigaeth Israel o'r Aifft, ac o Fabilon, yn cael eu galw yn brynu? A pha *gyfnewid*, attolwg, oedd yno?

*Preg.* Pan sonir am waredu neu brynu mewn ystyr tymhorol, sonir am "roddi'r Aifft yn iawn dros y prynedigion; Ethiopia a Seba am danynt—rhoddi dynion am danynt, a phobloedd dros eu heinioes." Esay xliii. 3, 4. Felly y mae'r gair *prynu*, dybygaf fi, yn arwyddo rhyw *gyfnewid*, bob amser. Tybiwch y buasai rhyw un yn Israel yn gollwng yn rhydd etifeddiaeth a fuasai wedi ei harwystlo iddo, neu ollwng gwas neu forwyn gaeth o'i wasanaeth, heb na gwerth na gobrwy; buasai hyny yn gymwynas,

† Gwel Galwad Difrifol, tudal. 100.---‡ Tudal. 99.

ond nid ydwyf yn deall y buasai yn brynedigaeth. Cyn bod y peth yn brynedigaeth, yr oedd raid fod pridwerth yn cael ei dalu gan un blaid, a rhyddhad i'r caeth yn cael ei roddi gan y blaid arall. Ac wedi talu arian y pridwerth, yr oedd rhyddhad gweithredol y sawl y talwyd trostynt yn sicr, tra byddai dynion yn deilio yn gyfiawn â'u gilydd.

*Gwran.* Pa beth ydych yn ei feddwl wrth y gair pridwerth?

*Preg.* Arian y prynedigaeth, sef yr hyn a delid dros gaethion er eu rhyddhad. Gadewch i ni edrych yn graffach eto ar y prynu yma, ag oedd yn gysgod mor enwog o'r prynedigaeth sydd yn Nghrist. Meddyliwch y buasai gŵr boneddig yn Israel yn prynu morwyn gaeth i'r dyben i'w phriodi: y mae yn talu i lawr y pridwerth (*lutron*); ond gall ei gadael, dros amser, heb iddi wybod ei fod wedi gwneyd hyny, ac heb ei chymeryd o'r hen wasanaeth; ac nid oes ganddi hi, yn y cyfamser, un hawl i *ddemandio* ei rhyddhad gan ei hen feistr. Ond pan mae'r prynwr yn ei chymeryd o'r hen wasanaeth, ac yn ei meddiannu yn briod iddo ei hun, y mae hi, nid yn unig yn rhydd, ond hefyd yn berchen ar y prynwr a'i holl gyfoeth. Y mae yn ymddangos i mi fod y prynu yn cynwys yr holl *fusnes* yna i gyd. Rhyw un oruchwyliaeth ydyw'r cwbl, a phob rhan o honi yn dal perthynas angenrheidiol â'r llall: nid oedd y prynwr yn talu arian y pridwerth, ond gyda bwriad i wneyd y gwrthddrych yn eiddo iddo ei hun; na'r gaethes chwaith yn cael ei rhyddhau, ond ar gyfrif y pridwerth a roddwyd drosti.

Dywed y Ffwleriaid eu hunain, "mai yn gyfeiriol at brynu caethion o'u sefyllfa golledig——y mae'r ysgrythyr yn darlunio prynedigaeth pechaduriaid drwy waed Crist."* Ond nis gwn i pa fodd y gallai fod yn gyfeiriol at hyny, os rhoddes Crist ei "waed" dros fwy o gaethion nag a fwriadodd eu meddiannu.

Onid yw y gymhariaeth odidog hon yn ein harwain yn naturiol i'r penderfyniad, fod Crist wedi rhoddi ei hun yn bridwerth dros lawer, neu dros bawb, gyda bwriad i feddiannu y llawer neu y pawb hyny, a'u gwneyd yn bobl briodol iddo ei hun? Eto, nid yw hyny yn newid dim ar gyflwr y gwrthddrychau, nes y byddo i'r prynwr eu gweithredol ryddhau a'u huno, neu eu priodi âg ef ei hun;

* Gwel Galwad Difrifol, tudal. 92.

ac yna y mae y prynwr, a'i holl gyflawnder, yn dyfod yn eiddo iddynt hwy.

*Gwran.* 1. Addef y Ffwleriaid fod achubiaeth pechaduriaid yn hollol ar gyfrif yr iawn, fel y buasai gwaredigaeth caethion yn Israel ar gyfrif y pridwerth: ond yn 2. Gwadant fod yr iawn yn sicrhau achubiaeth neb, fel (yr ydych chwi yn dywedyd) y buasai taliad y pridwerth yn sicrhau rhyddhad caethion yn Israel. Ac felly, er nad ydyw "prynedigaeth pechaduriaid trwy waed Crist," yn gyfeiriol at brynu caethion yn yr ail olygiad a enwais, eto, gall fod felly yn y cyntaf.

*Preg.* Yn wir, nis gwn i pa fodd y gallai rhyddhad caethion fod yn gysgod o'r waredigaeth trwy Grist, heb fod taliad y pridwerth yn gysgod o iawn Crist; na pha fodd y gallai taliad y pridwerth fod yn gysgod o'r iawn, heb fod y naill, fel y llall, yn sicrhau rhyddhad ei wrthddrychau. Tybiwch y buasai rhyw un yn rhyddhau nifer o gaethion a fuasent yn meddiant gŵr arall, ac yn dyweyd ei fod yn gwneyd hyny ar gyfrif iddo dalu'r pridwerth am danynt; oni phenderfynai rheswm cyffredin, y buasai'r gŵr yn rhyddhau yr holl gaethion, pe buasai wedi talu'r pridwerth dros yr holl gaethion; ond gan mai rhai a feddiennir ganddo, mai dros y rhai hyny y rhoddwyd y pridwerth? Ond y mae'n debyg na ddaeth i feddwl un *goel* yn Israel erioed, ddim yn amgen na rhyddhau y sawl y rhoddai bridwerth drosto, er y priodola Ffwleriaid yr anghysondeb yma i'n Cyfathrachwr ni.

*Gwran.* Dichon fod y gair prynedigaeth yn cael ei arferyd mewn cyfeiriad at ryddhad caethion fel gwaredigaeth o gaethiwed, ac heb ddim cyfeiriad at hyny fel effaith pridwerth neu iawn.

*Preg.* Y mae eich gwrthddadl yn rhy wan i'r Ffwleriaid sydd yn dal "fod y prynedigaeth yn arwyddo y cyfnewidiad hwnw yn ei berthynas â iawn Crist, fel pridwerth dros rai euog."‡ Ond y mae yn wanach fyth yn ngwyneb y Testament Newydd, gan nad ydyw hwnw ond anfynych yn arfer y gair, ond mewn cysylltiad â dyoddefaint Crist.

Y mae y golygiad Ffwleraidd ar brynedigaeth yn annghyson â'r drefn a briodola'r beibl i'r Personau Dwyfol yn achubiaeth dynion. Oblegid, os y waredigaeth yn unig yw y prynedigaeth, buasai yn fwy cyson, dybygid, iddo gael

‡ Gwel Galwad Difrifol, tudal. 99.

ei briodoli i'r Tad neu yr Ysbryd, nag i'r Mab; canys y Tad sydd yn gwaredu o dan euogrwydd pechod, yn y cyfiawnhad; a'r Ysbryd sydd yn gwaredu oddiwrth yr halogrwydd, yn y santeiddhad. Ond nid yw y prynu, un amser, yn y Testament Newydd, yn cael ei briodoli i'r Tad (oddieithr pan arferir y gair am waredigaeth dymhorol), na chwaith i'r Ysbryd, ond bob amser i'r Mab. Felly, er fod gan y Personau ereill law yn y prynedigaeth, eto y mae'r hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist yn rhan mor bwysig o hono, fel y mae yn cario enw yr holl waith i gyd. Ond os gwaith y Tad a'r Ysbryd yn gwaredu pechaduriaid, yn unig, a feddylir wrth brynedigaeth, paham, meddwch chwi, y mae'r Testament Newydd yn priodoli y peth yn wastadol i'r Mab, ac nid un amser i'r Personau ereill?

*Gwran.* Masgnachol, sef gwerth yn cael ei roddi am werth, ydyw'r prynedigaeth, yn ol eich golygiad chwi.

*Preg.* Pan y mae Mr. E. yn dyweyd "mai yn gyfeiriol at brynu caethion, (ac nid yn yr ystyr masgnachol,) y mae yr ysgrythyrau yn darlunio prynedigaeth pechaduriaid trwy waed Crist,"† yr wyf fi yn methu â dirnad ei feddwl. Pa fodd, attolwg, y mae prynu caethion, ond mewn ystyr masgnachol? Ai nid masgnach oedd prynu caethion? Ac onid oedd cymaint o newidwriaeth mewn prynu caethion ag oedd mewn prynu nwyddau? Felly y mae'r gair prynu, pa un bynag ai am bethau ai am bersonau ei harferir, yn arwyddo rhyw gyfnewid; sef fod peth neu bethau—person neu bersonau—yn cael ei roddi am, neu yn lle, arall neu ereill. Arwydda yr un peth hefyd pan ei harferir yn gyfeiriol at Grist a'i waith; dywedir iddo *brynu er gwerth—prynu â'i waed*—a *phrynu drwy ei waed.* Pe dywedwn i mi brynu rhywbeth âg arian, er arian, neu drwy arian, pa beth a gasglech oddiwrth y dywediad, ond fy mod wedi rhoddi arian yn gyfnewid am yr hyn a brynais? Y mae'r apostol Pedr yn cyferbynu y prynedigaeth trwy Grist â phrynu am arian—"Gan wybod nad â phethau llygredig, megys arian neu aur, y'ch prynwyd—— ond â gwerthfawr waed Crist." (1 Pedr i. 18, 19.) Fe'ch prynwyd â gwerth, eithr nid aur nac arian oedd y gwerth hwnw, ond "gwaed Crist." Dyma'r pridwerth mawr!

*Gwran.* A ydych yn meddwl ynte, mai gwerth y nifer a achubir, a dim dros ben, oedd yr hyn a roddwyd ar y groes?

† Gwel Galwad Difrifol, tudal. 93.

*Preg.* Nid ydyw ymresymu fel yna amgen na chilio oddiwrth y pwynt; canys nid am werth, neu ddigonolrwydd y pridwerth i achub y nifer yma neu'r nifer acw, y mae'r ddadl, oblegid y mae'r ddwy blaid yn addef fod hwnw yn anfeidrol. Ond y pwnc mewn dadl ydyw, dros bwy ei bwriadwyd? Am ba beth yr addawodd Crist fyned drwy'r gwaith, yn nghyfammod neu gytundeb y prynedigaeth? Tuag at benderfynu pwy a ddinystriwyd yn Adda, nid oes eisiau ymofyn pa faint oedd graddau ei bechod ef;—a fuasai yn waeth pe bwytasai fwy, neu'n well pe bwytasai lai, o'r ffrwyth gwaharddedig. Ond, pwy ydyw y personau a roddwyd, yn y cyfammod gweithredoedd, i Adda i'w cadw neu i'w dinystrio? Felly, i'r dyben i benderfynu pa un ai tros holl ddynolryw, ai tros nifer llai, y rhoddwyd y pridwerth ar Galfaria, ni pherthyn i ni wybod beth a fuasai, pe buasai y dyoddefaint yn fwy neu yn llai: ond pwy a roddwyd i Grist yn nghyfammod y prynedigaeth—am iachawdwriaeth pwy yr ymrwymodd Crist i'w waith cyfryngol yn y cytundeb "cyn bod y byd." Os oedd Adda fel pen-cyfammodwr yn "ffurf yr un oedd ar ddyfod," sef Crist; ac os oedd cyfammod Eden yn gwneyd mai y plant a roddwyd i Adda oedd yr unig wrthddrychau ag y perthynai ei *anufydd-dod* ef iddynt, er eu dinystrio; yna y mae cyfammod y prynedigaeth yn gwneyd mai y plant a roddwyd i Grist ydynt yr unig wrthddrychau ag y mae ei *ufydd-dod* yntau yn perthyn iddynt, er eu hachub. Os gallasai Adda ddyweyd, Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi, yn ngharchar y codwm; gall Crist ddyweyd, pan ryddhaer ei holl brynedigion, "Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi."

*Gwran.* Y mae geny' un wrthddadl eto, ag sydd yn ddigon, dybygwn i, i ddadymchwelyd eich holl system. Y mae dynion yn gaethion yn meddiant Satan: gan hyny, y mae eich golygiad chwi yn ein harwain i feddwl mai i Satan (maddeuwch y dywediad) y rhoddwyd iawn.

*Preg.* Nid ydyw dynion yn feddiant priodol (*private property*) i'r diafol. Ond fel y mae carchar-geidwad yn caethiwo ei garcharorion, neu fel y mae gan ddienyddwr nerth marwolaeth yn erbyn y condemniedig; felly mae gan Satan feddiant ar ddynion. Yn awr, i ryddhau'r condemniedig, rhaid rhoddi iawn, nid i geidwad y carchar, nac i'r dienyddwr cyffredin, ond i'r awdurdod y troseddwyd yn ei erbyn. "A ddygir y caffaeliad oddiar y

cadarn? neu a waredir y rhai a garcherir yn gyfiawn?". Esay xlix. 24. Er fod dynion yn gaffaeliaid neu yn ysglyfaeth y cadarn, eto y maent yn garcharorion cyfiawnder. Er mai mewn ffordd o ysglyfio y mae Satan yn meddiannu dynion, eto mewn ffordd o weinyddu cyfiawnder y mae Duw yn caniatâu iddo wneyd hyny. Bellach, er gwneyd yn gyfreithlawn i'r carcharorion hyn gael eu rhyddhau, rhaid rhoddi iawn, nid i Satan, ond i Dduw, am mai yn gospedigaeth am droseddu deddf Duw y rhoddwyd hwynt i fyny fel carcharorion i Satan. Yr hyn sydd reidiol er rhyddhau y carcharorion hyn yn weithredol, ydyw, i un cryfach na'r cryfarfog ddyfod arno a'i orchfygu: "Myfi a ymrysonaf â'th ymrysonydd, ac myfi a achubaf dy feibion."

*Gwran.* Wel, y mae swyddau y carchar-geidwad a'r dienyddwr cyffredin, yn gyfreithlawn, ac nid ydyw bechadurus eu cyflawni. Yrŵan, os nad yw gwaith Satan yn meddiannu ac yn poeni dynion ddim amgen na gwaith swyddog yn gweini, yn weithredol, y gosp ddyledus ar droseddwyr, paham yr ydys yn beio cymaint arno? pam y sonir am ysigo ei ben—ei ddinystrio—ei rwymo—ei fwrw i'r pydew diwaelod? Onid yw'r llywodraeth foesol yn gofyn i ryw un fod yn swydd y diafol?

*Preg.* Y mae rhinwedd neu fai gweithred creadur i'w benderfynu wrth ei egwyddor a'i ddyben ef ei hun yn y peth, ac nid wrth y dyben sydd gan y Creawdwr yn caniatâu'r peth. Yr oedd Duw yn gyfiawn, fel Llywodraethwr ei greaduriaid, wrth roddi Israel yn nwylaw eu gelynion yn gosp am eu pechodau; ond yr oedd y gelynion yn cyflawni'r peth oddiar gasineb at Dduw a'i bobl; ac am hyny yr oeddynt hwythau drachefn yn cael eu cospi am eu hymddygiad. Felly pan bechodd dyn gyntaf, yr oedd Duw yn gyfiawn wrth oddef i'r diafol gymeryd meddiant o hono; ond y mae'r diafol yn llywodraethu ar ddynion, nid oddiar ddim sel dros lywodraeth Duw, ond oddiar elyniaeth at Dduw, ac at ddynion a grëwyd ar ddelw Duw; ac am hyny nid oes ganddo yntau i'w ddysgwyl ond cosp dragwyddol yn wobr am ei holl drafferth.

*Gwran.* Gelwir adgyfodiad y saint yn "brynedigaeth eu corff," a'r dydd olaf yn "ddydd prynedigaeth." Pa synwyr, attolwg, sydd yn hyny, os yw y gair prynu, bob amser, yn arwyddo rhyw gyfnewid? Am ba beth y bydd cyrff y saint yn cael eu newid yn y dydd hwnw?

*Preg.* Er mai dyoddefiadau Crist yw careg sylfaen y

prynedigaeth, a'u bod, ar gyfrif hyny, yn cael eu galw yn fynych yn brynedigaeth; eto y mae gwaredigaeth y saint oddiwrth bechod a'i effeithiau yn yr oruchwyliaeth; ac, am hyny, gelwir maddeuant a santeiddhad yn brynedigaeth, ac adgyfodiad y saint yn "brynedigaeth eu corff." A phan ystyrir fod yr holl bethau yna yn ammodau o eiddo'r Tad i Grist yn nghyfammod y prynedigaeth, gwelir yn amlwg y cynwysant y meddylddrych o gyfnewid, hyny yw, y maent yn bethau a *dderbynir* ar gyfrif yr hyn a *roddwyd* gan Grist. Iawn y gelwir y dydd hwnw *dydd prynedigaeth*, canys dyma'r amser y bydd holl oruchwyliaeth fawr *y prynu* ar ben; y prynedigion oll wedi eu casglu, Sïon wedi gorphen ei hadeiladu, a'r Prynwr i'w weled yn ei ogoniant.

*Gwran.* Prin yr addefwch eich bod yn dal prynedigaeth fasgnachol; ac eto yr ydych, dybygwn i, yn llithro i'r peth, bob cam.

*Preg.* Os newidiad personau neu bethau am eu gilydd, a elwch yn olygiad masgnachol, yr wyf fi o galon yn ei bleidio, ac nid yn myned iddo trwy lithro na thripio. Ond gochelwch chwi rhag eich bod, wrth gyhuddo eich cyfaill, yn cyhuddo un mwy, sef y beibl. Y mae yr enwau ysgrythyrol ar waith Crist, y'nghyda'r cymhariaethau o hono, y'mron i gyd, yn cario'r meddylddrych o gyfnewid. Ystyrir ef fel gwasanaeth gwas cyflog—yn fechnïaeth dros droseddwyr—yn bridwerth dros gaethion, &c. Yn awr, os dylai gwas gael ei gyflog, yn gyfnewid am ei lafur; os dylai troseddwr neu ddyledwr gael dianc, yn gyfnewid am ddyoddefaint ei fechnïydd; ac os dylasai'r prynwr gael ei gaethion yn rhydd, yn gyfnewid am daliad y pridwerth; cyfiawnder ydyw i Grist gael holl wrthddrychau y cyfammod yn daledigaeth, neu yn gyfnewid, am ei waith mawr yntau.

Ond os wrth olygiad masgnachol yr ydych yn meddwl y dyb, mai bethau cydbwys, neu gyfartal, yw iawn Crist ac iachawdwriaeth yr eglwys; yr wyf yn gwadu y cyhuddiad. Pwy ydym ni i fyned i son am bwyso neu gyfartalu pethau anfeidrol! Y mae'r iawn yn anfeidrol ei rinwedd, a iachawdwriaeth yr eglwys yn anfeidrol ei gwerth. Mewn perthynas i haeddiant ac effeithiau yr iawn, digon i ni yw dyweyd eu bod yn anfeidrol, am fod y Personau Dwyfol yn anfeidrol foddlawn iddynt, ac ynddynt. Y mae y priodoliaethau dwyfol, yn Mherson y Tad, wedi eu perffaith fodd-

loni y'ngwaith y Mab. "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Ac y mae yr un priodoliaethau, yn Mherson y Mab, yn sicr o gael eu perffaith foddloni yn nifer a graddau dedwyddwch holl ffrwyth ei farwolaeth. "O lafur ei enaid y gwel, ac y diwellir."

Wel, rhaid i ni derfynu yr ymddyddan bellach; ond efallai nad anfuddiol fyddai adrodd rhyw grynoad o'r pethau fu genym dan sylw, a chanu pennill wrth ymadael.

1. Fod gwaith iachawdwriaeth pechaduriaid yn cael ei alw yn *brynu*, mewn cyfeiriad, yn benaf, at brynu caethion yn Israel; er fod y gair a arferir am brynu nwyddau yn cael ei arferyd, weithiau, am dano.

2. Er y gelwir dyoddefaint Crist, weithiau, a'r waredigaeth oddiwrth bechod a'i effeithiau, dro arall, yn brynu; eto, yr wyf yn meddwl fod y prynedigaeth, yn ei ystyr helaethaf, yn cynwys holl waith y Drindod fawr yn achubiaeth dynion. Rhyw un oruchwyliaeth fawr ydyw'r cwbl, yn cael ei dwyn y'mlaen gan Dad, Mab, ac Ysbryd Glân, a phob rhan o honi yn ymwneyd â'r un gwrthddrychau, sef "plant y cyfammod."

3. Fod y gair prynu, bob amser, yn cario'r meddylddrych o *gyfnewid*, sef fod pethau neu bersonau yn cael eu rhoddi am, neu yn lle, eu gilydd. Ac os iachawdwriaeth yr eglwys (fel yr addef Dr. Dwight ei hun, yn ei ddarnodiad o gyfammod y prynedigaeth) yw yr hyn a addawyd i Grist yn gyfnewid—neu yn wobr am ei lafur, yna rhaid mai yn gyfnewid am achubiaeth ei eglwys y rhoddes ei lafur—mai yn gyfnewid am ryddhad y rhei'ny y rhoddes ei hun yn bridwerth—ac mai iachawdwriaeth ei etholedigion, yn nesaf at ogoniant ei Dad, oedd dyben ei holl ddyoddefaint.

4. Ond cofiwch nad yn ol gwerth y pridwerth yr ydym i farnu, pa un ai yr eglwys, ai pawb yn gyffredinol, oedd ei wrthddrychau, ond yn ol y cytundeb rhwng y Personau yn y cyfammod. Ac os sylwn yn fanwl ar yr ysgrythyrau, cawn weled fod Crist, yn y cytundeb hwnw, wedi addaw rhoddi ei hun yn bridwerth i'r Tad, a'r Tad wedi addaw rhoddi yr etholedigion yn eglwys iddo yntau, i fod yn ddedwydd byth. Felly, y mae iawn Crist, ac iachawdwriaeth yr eglwys, wedi eu cysylltu â'u gilydd trwy gyfammod tragwyddol rhwng y Personau Dwyfol; "a'r pethau a gysylltodd Duw, na wahaned dyn."

5. Byddai dyweyd fod y prynedigaeth yn oruchwyliaeth

*hollol* fasgnachol, yn ol golygiadau rhai Uwch-Galfiniaid, neu *hollol* wladyddol (*political*,) fel yr hòna'r Ffwleriaid, yn eithaf annheilwng; canys y mae pob goruchwyliaeth o eiddo dynion, pa un bynag ai masgnachol ai gwladyddol, yn rhy ddiffygiol i fesur pethau mawrion Duw. Ond eto, gan fod y beibl yn defnyddio *prynu nwyddau*, neu *brynu caethion*, yn amlach o bosibl na dim arall, fel cymhariaeth o'r peth, rhaid fod y gymhariaeth yn berffaith gyson. Perffaith gyson, meddaf, cyn belled ag y mae yn cael ei defnyddio yn y beibl; sef i ddangos, yn un peth, fod prynu yr eglwys yn cynwys fod gwerth yn cael ei roddi yn gyfnewid am yr hyn a dderbynir; megys y mae, pan mae dynion yn prynu gan eu gilydd. Ond os dylynir y gymhariaeth cyn belled a gwaith prynwyr a gwerthwyr yn *bargeinio*, yn dadlu, yn pwyso, ac yn cyfartalu eu harian a'u nwyddau â'u gilydd; yr wyf yn meddwl nas meddwn warant ysgrythyrol i'r fath beth.

Ond dyma'r pennill, dechreuwch chwithau y dôn.

"I'r colledig, Ceidwad cawd,
O'n cyfathrach ni yn frawd;
Ar y pren ein prynu wnaeth,
I'n rhyddhau o'n carchar caeth."

---

## YMDDYDDAN XIII.

### MECHNIAETH CRIST.

*Gwran*. Purion pregeth, ar y cyfan, oedd pregeth y Sul diweddaf, ar Heb. vii. 22,—"Ar destament gwell o hyny y gwaethpwyd Iesu yn Fechnïydd." Ond gan ein bod wedi dechreu ymddyddan â'n gilydd yn rhydd am bethau o'r natur hyn, chwi a faddeuwch i mi am ddyweyd mai prin y gallwn gydfyned â rhai pethau ynddi, megys fod Crist wedi ymrwymo dros ei bobl, fel gŵr yn mechnio dros arall; a bod rhyddhad y sawl y bu Crist farw drostynt, mor sicr ag yw rhyddhad y dyledwr, wedi talu ei ddyled gan y meichai. Ond yr oeddwn yn mawr hoffi y sylw, fod Crist yn rhagori ar bob mechnïydd y clybuwyd son am dano erioed.

*Preg*. Mi a ryfeddais beth wrth ddarllen traethawd Mr. Jenkyn, fod y gŵr yn abl i ysgrifenu dros bedwar cant a hanner o dudalenau, ar iawn Crist, ac heb gymaint ag un dosparth, na thudalen, ar fechnïaeth Crist, yn yr holl

lyfr. Ond mi feddyliwn mai yr achos o hyny ydyw, nad oes dim lle i'r pwnc yma yn system Mr. J., ac am hyny nad oes dim i'w wneuthur ond ei adael allan.

*Gwran.* Arafwch dipyn, fy nghyfaill; ni fyddai raid i chwi fod mor ddiarbed wrth y traethawd, na'r awdwr, ar y cyfrif yna; canys chwi a wyddoch mai un waith, yn yr holl ysgrythyrau, y mae Crist yn cael ei alw yn Fechnïydd, sef yn y testyn a enwais; ac y mae dadl yn mhlith duwinyddion union-gred, pa un a ydyw yr apostol, yn y fan yna, yn ystyried Crist yn Fechnïydd, yn ol eich golygiad chwi ar y peth, ai peidio.

*Preg.* Yr wyf yn meddwl mai tair gwaith, neu bedair, yn yr eithaf, y mae y gair iawn yn cael ei arferyd, mewn cyfeiriad uniongyrchol at Grist a'i ddyoddefiadau, yn yr holl ysgrythyrau; ond eto, athrawiaeth yr iawn yw y prif bwnc ag y mae yr holl feibl yn cyfeirio ato. Felly, er mai un waith yn yr holl feibl y gelwir Crist yn Fechnïydd; eto, y mae mechnïaeth Crist yn fater ag sydd yn cael ei ddangos mewn lluaws o ysgrythyrau.

*Gwran.* Y mae Mr. J. yn trin yn helaeth ar drososodiad (*substitution*) Crist. Ac ni wn i pa wahaniaeth sydd rhwng trososodiad a mechnïaeth.

*Preg.* Yn wir, chwi a ellwch wybod fod gwahaniaeth mawr rhyngddynt; canys er fod mechnïaeth, bob amser, yn cynwys trososodiad, nid yw trososodiad ond weithiau yn cynwys mechnïaeth. Y mae yr *ambassador*, bob amser, yn *substitute* i'w frenin; ond a alwech chwi ef am hyny yn fechnïydd dros ei frenin? Na wnaech. Y mae aelodau y senedd yn *substitutes* i'r rhai a'u danfonant yno; ond disynwyr fyddai dywedyd eu bod yn feichiau dros eu hetholwyr. Y mae yn beth hollol gyffredin fod dynion yn gwneyd eu negesau trwy ddirprwywyr, neu drososodedigion, sef fod y naill yn cyflawni rhyw orchwyl yn lle y llall; ond nid oes dim mechnïaeth mewn un o gant o'r amgylchiadau hyn. Dichon y naill beth fod yn drososodedig yn lle peth arall; gall alltudiad gael ei drososod yn gospedigaeth yn lle dienyddiad; ond ynfydrwydd fyddai dywedyd fod dim mechnïaeth yn y peth.

*Gwran.* Efallai nad ydyw Mr. J. yn golygu yr un peth wrth drososodiad a mechnïaeth, ond ei fod yn dewis y cyntaf, am ei fod yn air mwy cyffredinol na'r olaf.

*Preg.* Golyga yr awdwr fod trefn yr iawn yn cynwys trososodiad mewn ystyr dwbl, sef trososodiad personau,

a thrososodiad dyoddefiadau; hyny yw, fod person Crist wedi ei osod yn lle personau dynion, a'i ddyoddefaint ef wedi ei drososod yn lle y gospedigaeth ddyledus iddynt hwy. Yn awr, os nad yw Mr. J. yn meddwl ond yr un peth wrth drososodiad a mechnïaeth, ni all fod ganddo wrthwynebiad cyfreithlawn i newid y gair *trososodiad* am y gair *mechnïaeth;* a phe gwneid hyny, deuai gwrthuni ei system i'r golwg yn y fan? oblegid, tra y mae yn eithaf cyson dywedyd fod Crist yn Fechnïydd yn lle y rhai y bu farw drostynt, byddai dywedyd fod dyoddefaint Crist yn Fechnïydd yn lle cospedigaeth pechod, yn wrthun. Ond os nad mechnïaeth y mae ein hawdwr yn ei feddwl wrth drososodiad, y mae dystawrwydd ei draethawd am fechnïaeth Crist yn ymddangos i mi yn hollol aneglur-adwy, oddieithr ei fod yn ystyried y pwnc yn anffafriol i'w gyfundraith.

*Gwran.* Yn wir, y mae yn amheus genyf fi, a ydyw mechnïaeth Crist, mewn ystyr priodol o lefaru, yn bwnc ysgrythyrol: braidd na feddyliwn i, mai rhyw ddychymyg ydyw y peth; ac, am hyny, nid wyf yn rhyfeddu fod gŵr deallus fel Mr. J. yn ei adael allan o'i draethawd.

*Preg.* Y mae yn rhyfedd, mwy na pheidio, genyf finau, fod fy nghyfaill yn siared fel yna; oblegid, heblaw fod Dafydd yn gweddio, "Mechnïa dros dy was," Psalm cxix. 122; a Hezecia yn gweddio, "Esmwythâ arnaf," Esay xxxviii. 14; neu, fel y dywed y berniaid, y gallesid cyfieithu y geiriau, "Mechnïa droswyf;" y mae y testyn sydd eisoes dan ein sylw yn ddigon i brofi y pwnc. "Ar destament (neu gyfammod) gwell o hyny y gwnaethpwyd Iesu yn Fechnïydd."

*Gwran.* Ond y mae llawer yn barnu fod yr enw mechnïydd, yn y lle yna, yn cyfeirio at ei ffyddlondeb fel tyst tros Dduw at ddynion, am gyflawniad o'i addewidion; ac nid at ei waith yn ymrwymo dros ddynion i foddloni cyfiawnder Duw; hyny yw, ei fod yn Fechnïydd tros Dduw i ddynion, ac nid tros ddynion i Dduw.

*Preg.* Mi wn fod Sociniaid yn ceisio esbonio y geiriau allan fel yna, ac os oes neb Ffwleriaid yn ceisio gwneyd yr un peth, yr wyf yn ofni nad ydyw ond un esiampl o lawer o'u gwaith yn ochri at wadwyr Duwdod ac iawn Crist; neu, o leiaf, yn gwneuthur defnydd o'u rhesymau, pa rai, pe byddai grym ynddynt, a fyddent yn ddigon i ddadymchwelyd prif golofnau y grefydd Grist'nogol.

*Gwran.* Dylai fy nghyfaill wybod na wna rhyw grochfeio fel yna mo'r tro. Y pwnc ydyw, a ellwch chwi brofi mai gau ydyw yr esboniad yna ar y geiriau dan sylw?

*Preg.* Pe Mechnïydd dros Dduw, fel un yn gwarantu i ddynion gyflawniad o'i addewidion ef, a fuasai Iesu Grist, buasai y peth yn perthyn iddo fel proffwyd, yn hytrach nag fel offeiriad; ond y mae yn amlwg mai offeiriadaeth Crist yw y pwnc a drinir gan yr apostol yn yr holl bennod. Ond heblaw hyny, nid oes eisiau y fath beth a mechnïydd (*guarantee*) i sicrhau cyflawniad addewidion Duw; oblegid y mae gair a llŵ Duw y sicrwydd mwyaf ag sydd yn bosibl am y peth; a phe buasai eisiau y fath swydd, anturiaf ddywedyd y buasai yn anmhosibl cael neb yn addas iddi; oblegid pan y mae un yn ymrwymo, ac yn cael ei gymeradwyo yn fechnïydd dros arall, yr ydys bob amser yn tybied fod, neu y dichon mewn amser i ddyfod, i'r mechnïydd fod yn fwy abl i gyflawni, na'r addäwr ei hunan. Ond yr oedd yn anmhosibl i Dduw Dad gael neb a allai byth fod yn fwy abl i gywirio ei addewidion i ddynion nag ef ei hun. Pan oedd yn ewyllysio dangos i etifeddion yr addewid, ddianwadalwch ei gynghor, fel y gallent hwy gael cysur cryf, "*am na allai dyngu i neb oedd fwy,* efe a dyngodd iddo ei hun." Heb. vi. 13—19. Ni allai gael neb, ond ef ei hun, yn addas i fod yn *guarantee* i'w bobl am gyflawniad o'r addewid; oblegid pe na buasai ef ei hun yn ddigonol, y mae yn amlwg na buasai wiw son am neb arall. Felly, yr wyf yn penderfynu fod Iesu yn Fechnïydd, nid dros Dduw i ni, ond drosom ni i Dduw.

*Gwran.* Wel, gadewch i hyny fod: ond eto, nid rhaid i ni feddwl fod mechnïaeth Crist yn rhyw bwnc hanfodol i athrawiaeth yr iawn; canys nid mewn ystyr priodol, mi feddyliwn, y gelwir ef yn Fechnïydd, ond mewn ystyr cymhariaethol. Chwi a wyddoch fod llawer o enwau, neu deitlau cymhariaethol, yn cael eu rhoddi i Grist yn yr ysgrythyrau, megys Bara, Ffordd, Drws, Bugail, &c.; nid am ei fod ef y pethau hyny yn briodol, ond am ei fod, mewn rhyw beth, neu bethau, yn debyg i fara, &c. Felly, i'm tyb i, y gelwir ef yn Fechnïydd; nid am ei fod yn Fechnïydd mewn ystyr priodol, ond am fod rhyw beth yn ei sefyllfa ef ag sydd yn debyg i sefyllfa mechnïydd. Y mae codi pob cymhariaeth ysgrythyrol i fyny, a'i gwneyd yn rhyw bwnc hanfodol i dduwinyddiaeth, a'i thrin yn fanwl fel y cyfryw, yn gwneyd llawer mwy o ddrwg nag

o dda, yn tueddu i ddyrysu yn hytrach nag adeiladu meddyliau dynion. Gwnaeth Mr. J. yn burion, yn ol fy marn i, beidio â chymeryd mechnïaeth Crist fel pwnc i'w drin yn ei draethawd.

*Preg.* Y mae eich ymresymiad yn dda mewn egwyddor, ond yn anhapus yn ei gymhwysiad. Yr wyf finau yn meddwl mai peth niweidiol iawn i feddyliau dynion yw cymeryd cymhariaeth o'r beibl, neu enw cymhariaethol ar Grist, a dylyn y peth fel pe bai Crist yn cyfateb yn fanwl i bob peth yn amgylchiadau y gymhariaeth; pan y mae yn amlwg mai rhyw un peth, neu ddau, oedd yn ngolwg y llefarwr wrth ei harferyd. Clywir rhai, wrth lefaru am Grist o dan y gymhariaeth o fara, yn dylyn yr ŷd yn fanwl yn y dyrnu, y malu, a'r pobi, a'r cwbl yn Grist, bid siwr. A phan elont i son am gyfiawnder Crist, dan y gymhariaeth o "lian main," cewch ganddynt olrheiniad o'r nyddu, yr ystofi, a'r gwau, a Christ yn y cwbl. Nid wyf yn dywedyd fel hyn i daflu diystyrwch ar neb byw, nac ar goffadwriaeth neb sydd wedi marw; nac ydwyf yn wir, canys bu yn dda gan fy enaid, lawer gwaith, wrando ar y brodyr a glywais yn pregethu yn y dull yna, pan yn ymdrin, mewn dull syml, â gwirioneddau eglur yr efengyl; ond yr wyf yn anturio dywedyd fy marn, y byddai yn well gochelyd dylyn dammeg neu gymhariaeth, hyd y gwybydder, yn mhellach nag y bwriadwyd hi wrth ei llefaru, am fod hyny yn tueddu i daflu niwl, yn hytrach na goleuni, ar y mater a fyddo yn cael ei drin, ac am ei fod yn tueddu i genhedlu meddyliau rhy isel am bethau mawrion Duw. Felly, chwi a welwch fy mod yn cymeradwyo egwyddor y peth a ddywedasoch chwi ddiweddaf.

Ond yr ydwyf yn annghymeradwyo eich gwaith yn cymhwyso y peth at y mater dan sylw, sef mechnïaeth Crist. Yr wyf yn gwadu mai enw cymhariaethol ar y Gwaredwr, megys yr enwau ereill a nodasoch chwi, yw yr enw Mechnïydd; oblegid y mae Crist, rhwng Duw a dynion, yn wirioneddol y peth ag ydyw mechnïydd rhwng pleidiau a'u gilydd, hyny yw, y mae yn fechnïydd, ac nid rhyw beth tebyg i fechnïydd. Y mae yn fechnïydd mor wirioneddol ag y mae yn gyfryngwr, neu mor wirioneddol ag y mae yn iawn.

*Gwran.* Pa fodd felly?

*Preg.* Wel, fel hyn. Pan y mae person yn ymrwymo i dalu dyled yn lle arall, ar y dybiaeth o fod hwnw yn

methu neu yn pallu; neu i ddyoddef y gosp yn lle arall, ar y dybiaeth o fod hwnw yn troseddu, dyma fechnïaeth; a phan y mae y mechnïydd yn talu y ddyled, neu yn dyoddef y gosp, yr ydys yn profi fod y fechnïaeth yn wirioneddol, ac nid rhyw enw o beth yn unig. Cynyg ei hun yn fechnïydd i Philemon dros y gwas Onesimus yr oedd Paul: "Os gwnaeth efe ddim cam â thi (eb efe), neu os yw yn dy ddyled, cyfrif hyny arnaf fi. Myfi Paul a'i hysgrifenais â'm llaw fy hun; myfi a'i talaf." Phil. 18, 19. Cynyg ei hun yn fechnïydd i lywydd gwlad yr Aifft yr oedd Juda dros Fenjamin: "Attolwg (medd Juda), arosed dy was dros y llanc, yn was i'm harglwydd, ac aed y llanc i fyny gyda'i frodyr," &c. Gen. xliv. 33. Pan oedd Pythias yn ymrwymo i farw yn lle Damon, os na ddychwelai erbyn yr amser penodol, mechnïo dros ei gyfaill yr oedd yntau hefyd. Yrŵan, deliwch sylw, ni chynygiodd Juda mo hono ei hun yn lle Benjamin—ni addawodd Paul ddim talu dros Onesimus—ac nid ymrwymodd Pythias dros Damon, yn fwy gwirioneddol, nag y rhoddes Crist ei hun dros ei eglwys, dros ei ddefaid. Pan ddywedir fod y Cyfiawn wedi marw dros yr annghyfiawn, ni fedraf fi gael dim synwyr i'r ymadrodd, os na olygir fod yr annghyfiawn wedi myned yn rhwym wrth y gyfraith i farw, a bod y Cyfiawn wedi mechnïo drosto, a marw yn ei le.

Yr oedd egwyddorion mechnïaeth yn system yr aberthau a'r seremonïau Iuddewig. Ar fynydd Moria, dacw bechadur yn rhwym dan fy gyllell, ond yn cael ei ryddhau, trwy fod y diniwed yn myned yn ei le. A'r un peth a welwn ni yn holl drefn yr aberthau, fel ei sefydlwyd gan Foses. Y mae yr egwyddor fechniol yn cael ei dangos, pan ddywedir fod Aaron yn dwyn anwiredd y pethau santaidd. Exod. xxviii. 38. A bod yr offeiriaid yn "dwyn anwiredd y gynulleidfa, i wneuthur cymod trostynt gerbron yr Arglwydd." Lef. x. 17. Mewn cyfeiriad at hyn, mi a feddyliwn, y mae yr apostol yn y 7fed o'r Heb. yn tybied fod yr offeiriad gynt yn fechniydd, ond fod Crist yn Fechniydd ar gyfammod gwell (na chyfammod Lefi) o gymaint a'i wneuthur yn Offeiriad trwy lŵ.

*Gwran.* Ond pa beth yw hyna i'r ddadl rhwng Calfinistiaid a Ffwleriaid?

*Preg.* Y mae yn gymaint, i'm tyb i, ag y dylai fod yn benderfyniad ar y cwestiwn; oblegid os addefir fod Crist

yn Fechniydd, yn ol ystyr cyffredin y gair mechniydd, rhaid ei fod yn sefyll dros ryw berson neu bersonau penodol, ac nid dros bawb yn gyffredinol; canys y mae son am fechniydd, ac heb fod ganddo neb mwy na'u gilydd yn mechnio drosto, ac heb fod ei fechniaeth yn sicrhau rhyddhad i neb mwy na'u gilydd, yn beth disynwyr.

Yr oedd yr holl aberthau, dan yr Hen Destament, o ran y gwrthddrychau ag oedd i gael lles trwyddynt, yn benodol; nid yn unig yr oedd yr aberthau a ddygai dynion drostynt eu hunain yn bersonol felly, ond yr oedd yr aberth beunyddiol a aberthid fore a hwyr, a'r iawn blyneddol a wneid ar ddydd y cymod, yn derfynol o ran eu gwrthddrychau; nid oeddynt yn cael eu rhoddi tros ddynolryw yn gyffredinol, na thros holl hâd Abraham, ond yn unig dros y genedl etholedig, sef y bobl a gymerasai Duw trwy gyfammod yn eiddo iddo ei hun. Pan ystyriom, nad oedd na meddwl na defnydd i neb o'r aberthau hyny, ond fel yr oeddynt yn gysgodau o aberth Crist, yr ydym yn dysgu yn naturiol, mai y gwrthddrychau yr aberthodd Crist ei hun drostynt yw pobl etholedig Duw, sef y rhai a roddwyd i Grist, ac yr ymrwymodd yntau mewn cyfammod, fel eu Mechniydd, i ddwyn eu cospedigaeth.

Drachefn, nid rhyw beth i wneyd maddeuant yn beth *posibl* yn unig, oedd yr un o'r aberthau dan yr hen oruchwyliaeth; ond yr oedd yr holl aberthau iawnol, sef y rhai a wneid er maddeuant, yn *sicrhau* maddeuant i'r aberthwyr, tra eu gwnelid yn ol ordinhad Duw. Y mae yn wir nas gallent ond santeiddio i bureiddiad y cnawd, neu symud euogrwydd seremonïol; ac nid oedd y maddeuant a geid trwyddynt yn cyrhaedd ddim pellach na symud barnedigaethau tymhorol; ond yr oedd yr aberth, yn ol gosodiad dwyfol, yn sicrhau y maddeuant hwnw i'r holl wrthddrychau ag yr oedd yn cael ei aberthu drostynt. Wrth ddarllen seremonïau yr aberthau cymod a thros bechod, yr ydym eilwaith ac eilwaith yn cyfarfod â'r ymadrodd hwnw, "Gwnaed yr offeiriad gymod drostynt, ac fe a faddeuir iddynt. Gwnaed yr offeiriad gymod drosto, a maddeuir iddo," &c. Nid fe allai y maddeuir, ond "*fe a faddeuir.*" Cyn y gall aberthiad Crist fod yn sylwedd priodol i'r seremonïau cysgodol hyn, rhaid ei fod yn gwneyd maddeuant, nid yn beth posibl, ond yn beth sicr, i'r sawl yr aberthodd ei hun drostynt.

*Gwran.* Ond beth sydd a wnelo hyna â'r pwnc o fechniaeth Crist?

*Preg.* Y mae yr apostol yn y 7ed o'r Hebreaid yn dal cyfammod Lefi, sef cyfammod yr offeiriadaeth, a chyfammod y prynedigaeth, ar gyfer eu gilydd. Wrth ddywedyd fod Crist wedi ei wneuthur yn Fechniydd ar gyfammod gwell, y mae yn rhoddi tybiaeth fod yr offeiriad Lefiaidd yn fechniydd, a hyny yn ol trefn cyfammod; h. y., fel yr oedd yn aberthu, yn dwyn anwiredd, ac yn ymddangos tros y genedl gerbron Duw, yr oedd yn gwneyd hyny fel eu mechniydd, a hyny yn sicrhau cymod a maddeuant iddynt. Ond yn nghyfammod y prynedigaeth, Iesu yw y Mechniydd; ac os oedd gwaith y mechniydd Lefiaidd, sef yr offeiriad, yn myned i'r cysegr trwy waed geifr a lloi, yn sicrhau maddeuant i'r rhai yr oedd yn ymddangos drostynt; pa faint mwy y rhaid fod gwaith y Meichai mawr yn myned i'r cysegr trwy ei waed ei hun, yn sicrhau maddeuant i bawb y mechniodd drostynt? Ond y mae cyfammod y prynedigaeth yn well na'r cyfammod hwnw, am ei wneuthur ar addewidion gwell; am mai Iesu, yr hwn sydd yn aros yn dragywydd, ydyw yr Offeiriad a'r Mechniydd; ac yn enwedig, am ei fod wedi ei wneuthur trwy lŵ. "Ar destament gwell o hyny y gwnaethpwyd Iesu yn Fechniydd."

*Gwran.* Yn ol y *system* yna, y mae yr iawn yn gosod rhwymau ar Dduw i achub rhyw bersonau, fel y byddai yn annghyfiawn iddo beidio, yr hyn, dybygwn i, sydd groes i reswm ac ysgrythyr. Onid yw yn fwy cyson o lawer i ni feddwl fel Mr. J. fod yr iawn yn rhyw beth cyffredinol i'r llywodraeth sydd wedi derbyn y fath sarhad oddiar law dyn, fel y gallo Duw oddef i ddynion fyw yn y byd yma; rhoddi iddynt drugareddau tymhorol; eu gwahodd, yn ddiwahaniaeth, i ddyfod i gymod; ie, ac achub y neb y myno i fywyd tragwyddol? felly byddai yr iawn yn sicr o ateb ei ddyben pe na achubid neb, am nad oedd achub neb mwy na'u gilydd yn ammod o roddiad yr iawn. Y mae dull Mr. J. yn defnyddio esiampl Æschylus ac Amyntas, yn ymddangos i mi yn agoriad hynod o oleu ar y mater hwn.* Dywed ein hawdwr nad oedd gan neb hawl i ofyn arbediad bywyd i Æschylus ar gyfrif yr hyn a wnaethai ei frawd; ond eto fod gwaith y brawd wedi

* Gwel Ymddyddan ix. a x.

rhoddi modd i'r llywodraeth ryddhau y troseddwr heb golli ei hanrhydedd: felly, nad ydyw iawn Crist yn gosod un math o rwymedigaeth ar Dduw i achub neb; ond eto, ei fod yn rhoi modd i Dduw achub y neb y myno, heb fforfedu anrhydedd y llywodraeth foesol.

*Preg.* Y mae yn wir nad oedd gan Amyntas un hawl gyfreithiol i ofyn arbediad bywyd ei frawd i'r Atheniaid, er ei fod, mewn amser a aeth heibio, wedi gwneyd y gwasanaeth mwyaf iddynt, a hyny ar gost ei aelod ei hun. Ond tybiwch y buasai Amyntas yn gwybod, cyn brwydr Salamis, am holl amgylchiadau y frwydr hòno, ac hefyd am waith ei frawd yn troseddu; ac yn myned i gytundeb â'r senedd, fod ei frawd i gael ei ryddhau ar yr ammod iddo ef wneyd y fath wasanaeth iddynt hwy yn y frwydr; oni buasai hyny yn gwneyd y peth yn hollol wahanol? Oni buasai ganddo hawl gyfiawn i ofyn, ac oni buasai y senedd yn rhwym i roddi, arbediad i'r brawd? Felly buasai hyn o wahaniaeth, yn gwneyd arbediad y troseddwr yn fater o gyfiawnder i Amyntas; ac ni buasai yn cael ei ystyried mwyach yn fater o gymwynas tuag ato ef, am ei fod wedi cyflawni ammod y peth.

Yn awr, rhaid i ni ystyried am gyfammod y prynedigaeth, fod holl amgylchiadau dynolryw, y'nghyda holl ymddygiadau Duw tuag atynt, gerbron y pleidiau; holl deulu Adda wedi eu condemnio i farw; holl waith Mab Duw, o Fethlehem i Galfaria, a holl waith yr Ysbryd Glân, o godwm Eden hyd ganiad udgorn y farn; ac yr oedd y naill beth yn cael ei osod ar gyfer y llall, y naill yn ammod o'r llall; y Mab yn ammodi dyfod i wneuthur ewyllys y Tad, sef i ddyoddef; a'r Tad yn ammodi iddo yntau gael gweled o lafur ei enaid, a'i ddiwallu; felly y mae y Personau Dwyfol wedi myned dan ymrwymiad cyfammodol i'w gilydd, fel y mae gwaith y Mab yn cyflawni yr ammod trwy farw ar y groes, yn gwneyd achubiaeth ei bobl yn weithred o gyfiawnder tuag ato ef, er fod y cwbl yn gymwynasgarwch pur, yn ras digymysg, i'r gwaredigion. Felly, nid yw yr achos rhwng y ddau frawd a'r Atheniaid ddim yn cyfateb i'r achos sydd genym ni dan sylw. Dybenion Amyntas, yn ei holl ymdrech y'mrwydr Salamis, oedd gwasanaethu ei wlad a'i genedl, ac, fe allai, gwneyd enw mawr iddo ei hun fel rhyfelwr: buasai y dybenion oedd ganddo ef mewn golwg yn cael eu hateb, er i'w frawd gael ei labyddio.

Ond dyben Iesu Grist yn dyfod i'r byd, oedd i gadw pechaduriaid; o ganlyniad y mae yn rhaid i'r pechaduriaid hyny gael eu cadw, neu i'r gwaith fyned yn ofer, a'r dyben fod byth heb ei ateb.

*Gwran.* Wel, onid yw yr apostol Paul yn son am "i Grist farw yn ofer?"

*Preg.* Digon gwir ei fod yn son am hyny, fel peth anmhosibl. "Os o'r ddeddf y mae cyfiawnder, yna y bu Crist farw yn ofer," h. y., byddai mor afresymol dywedyd mai o'r ddeddf y mae cyfiawnder, a dywedyd i Grist farw yn ofer. Neu pe o'r ddeddf y byddai cyfiawnder, y canlyniad fyddai, fod marwolaeth Crist yn ddiangenrhaid; ond y camgymeriad mwyaf a fyddai dywedyd y naill neu y llall; canys nid o'r ddeddf y mae cyfiawnder, ac nid yn ofer chwaith y bu Crist farw.

*Gwran.* Ond yr wyf fi yn methu â deall eto, pa fodd y mae yn gyson âg uniondeb, i'r cyfiawn gael ei gospi yn lle yr euog.

Pe bai unrhyw lywodraethwr gwladol yn cymeryd y diniwed i'w ddienyddio yn lle y beius, byddai mwy o annghyfiawnder yn y peth nag a fyddai mewn maddeu i'r euog heb ddim iawn; canys wrth wneyd yr olaf, ni allai fod ond un weithred o ymddangosiad annghyfiawn, sef gollwng y troseddwr yn rhydd; ond wrth wneyd y cyntaf, y mae annghyfiawnder yn cael ei wneyd mewn dwy ffordd, sef trwy adael i'r troseddwr ddianc, ac hefyd trwy gospi y diniwed.

*Preg.* Dichon fod eich ymresymiad yn dêg, am ymddygiadau swyddogion gwladol. Ond y mae yr achos rhwng y Personau Dwyfol yn wahanol i ddim a allai fod rhwng dynion a'u gilydd. 1. Nid oes gan un dyn awdurdod ar ei einioes i'w dodi i lawr pan y myno; o ganlyniad, pe cynygiai un wneyd hyny dros arall, byddai yn cynyg peth nad yw yn eiddo iddo, ac felly byddai yn annghyfiawn i'r llywodraeth ei dderbyn. Ond yr oedd einioes y Cyfryngwr yn eiddo iddo ei hun, yr oedd ganddo awdurdod i'w dodi i lawr. 2. Gallai marwolaeth dyn fod yn niwed i'w deulu, ac i'r wladwriaeth, yn gystal ag iddo ei hun. Ond nid oedd gwaith Crist yn rhoddi ei einioes, fel y cymerai hi drachefn, yn niwed i neb, ond yn anfeidrol ennill iddo ei hun fel Cyfryngwr, ac i bawb ag yr oedd yn dal perthynas â hwy. 3. Byddai i'r llywodraeth wladol ollwng troseddwr yn rhydd, yn niwed i gymdeith-

as, am y byddai y cyfryw yn debyg o gyflawni drygau newydd yn y wlad. Ond yn nhrefn yr iawn, er fod yr euog yn cael ei ryddhau, eto nid ei ryddhau i gyflawni rhagor o ddrygau; canys y mae yn y drefn ddarpariaeth anffaeledig i ddiwygio y troseddwr, ac i weithio cyfnewidiad trwyadl yn ei gymeriad. "Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom," nid fel y byddem yn rhydd i bechu mwy, ond, "i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun, yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da." 1 Tim. ii. 14. Iaith y sawl a gyfiawnhawyd "trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, yr hwn a osododd Duw yn iawn," ydyw, "A drigwn ni yn wastad mewn pechod, fel yr amlhao gras? Na ato Duw." Rhuf. vi. 1, 2. Y mae cysylltiad anwahanol rhwng iawn Crist ac ailenedigaeth; y rhai sydd wrthddrychau o'r naill, sydd hefyd yn wrthddrychau o'r llall.

*Gwran.* Ond y mae Mr. J. yn golygu, er nad oes dim yn yr iawn ynddo ei hun yn sicrhau achubiaeth neb; eto fod yr Arglwydd yn arfer ei benarglwyddiaeth, er achub rhyw nifer o'r rhai y bu Crist farw drostynt, rhag i'r iawn fyned yn hollol ofer. "Y mae holl waith cyfryngol Iesu Grist mor deilwng, fel y mae yn haeddu i ryw fesurau gael eu defnyddio i'w sicrhau rhag hollol ffaeledigaeth."† "Iawn Crist yn haeddu na adewid iddo hollol fethu."‡

*Preg.* "Yr iawn yn *haeddu* na adewid iddo *hollol* fethu!" Pa beth? Ai nid yw iawn Crist yn haeddu na adewid iddo fethu mewn un gradd? Onid yw dywedyd fod Crist wedi marw dros bawb o ddynolryw, "a bod yn bosibl i'r iawn hwnw fethu;"‡ a dadlu haeddiant yr iawn fel sail sicrwydd achubiaeth rhai; onid yw hyny, meddaf, gystal a phriodoli colledigaeth y gweddill i ddiffyg haeddiant yn yr iawn?

Yn ol athrawiaeth Mr. J., y mae achubiaeth y rhai y bu Crist farw drostynt yn sicr, cyn belled ag y mae yr iawn yn haeddu; ond nid yw achubiaeth pawb ag y bu Crist farw drostynt, yn beth sicr. Gan hyny, nid yw yr iawn yn haeddu sicrwydd achubiaeth pawb ag y bu Crist farw drostynt. O feddyliau isel am deilyngdod iawn Crist!

*Gwran.* Wrth ddywedyd fod y Tad yn cospi y Mab am bechod, ac yntau yn ddiniwed, rhaid eich bod yn

---

† Gwel Jenkyn on the At. tudal. 399.—‡ Tudal. 401.

ystyried ei fod yn edrych arno, ac yn ei gyfrif, yn rhyw beth gwahanol iawn i'r hyn ydoedd mewn gwirionedd.

*Preg.* Dim o'r fath beth. Ni ddyg Crist erioed euogrwydd arno ei hun, trwy gyflawni un pechod; ond cymerodd yn wirfoddol yr euogrwydd mwyaf arno ei hun, trwy gymeryd lle yr euog fel ei Fechniydd; o ganlyniad, nid oedd y Tad, wrth ei gospi, yn ei ystyried fel un wedi cyflawni y pechodau y cospwyd ef o'u herwydd, ond fel Mechniydd, yn sefyll yn lle y rhai a'u cyflawnasent; h. y., nid oedd y Tad, wrth roddi cospedigaeth ar Grist, yn ei ystyried yn ddim amgen na'r hyn oedd mewn gwirionedd.

*Gwran.* Peidiwch chwi â cheisio "hollti'r blewyn." Pa wahaniaeth sydd rhwng gwaith llywodraethwr yn cospi mechniydd, a'i waith yn cospi troseddwr? onid cospedigaeth yw y naill amgylchiad a'r llall? a chyn y gallo, yn briodol, gospi mechniydd, oni raid iddo edrych arno, y'mhob golygiad, fel troseddwr?

*Preg.* Yn wir, nid wyf fi yn proffesu gallu "hollti'r blewyn," mewn duwinyddiaeth; a phe bawn yn ddigon campus i hyny, nid wyf yn meddwl ei fod o nemawr fuddioldeb; ond nid oes eisiau y fath beth i ganfod gwahaniaeth yn yr amgylchiadau dan sylw; oblegid er fod y gospedigaeth a haeddasai y troseddwr yn cael ei rhoddi hyd yr eithaf ar y Meichai; eto, nid ydys yn edrych ar, nag yn teimlo tuag at, y naill, yr un modd a'r llall. Pan mae troseddwr yn cael ei gospi, y mae pawb yn dywedyd, mai ei fai ef ei hun oedd yr achos, mai da ydyw fod y fath yn cael eu cospi, er cael gwared o honynt o blith dynion, ac er esiampl i ereill; ond pan mae un yn myned yn ewyllysgar i le troseddwr, yr ydys yn rhyfeddu at ei gariad, yn cydymdeimlo â'i ofidiau, yn canmol ei wroldeb, ac yn dyrchafu ei enw fel un o fil y'mhlith dynion.

Felly, pan mae pechaduriaid yn cael eu cospi, dannodir iddynt yr hyn a dderbyniasant, chwerddir a gwawdir yn eu dialedd; ond pan mae yr Arglwydd yn rhoddi cospedigaeth ein heddwch ni arno ef, y mae yn ei wrando yn yr hyn a ofnodd—yn tystio ei foddlonrwydd i'w holl ymddygiadau—yn ei garu am iddo roddi ei einioes i lawr—yn canmol ei gariad, ac yn addaw iddo y dyrchafiad mwyaf yn wobr am ei waith.

*Gwran.* 'Rhoswch chwi. Pan oeddym yn siared am

gyfrifiad, dywedech fod pechodau ei bobl wedi eu rhoddi yn erbyn Crist, fel pe buasai ef ei hun wedi eu cyflawni; ¶ ond yn awr, yr ydych yn dywedyd nad oedd y Tad yn ymddwyn tuag ato, wrth ei gospi, fel un wedi gwneyd y pechodau y cospid ef o'u herwydd. Prin yr wyf yn gallu gweled eich bod yn gyson â chwi eich hunan.

*Preg.* Wrth ddywedyd fod pechod Adda yn cael ei roddi yn ein herbyn ni, fel pe buasem ni, yn bersonol, wedi ei gyflawni; a bod pechodau ei bobl wedi eu rhoddi yn erbyn Crist, fel pe buasai ef wedi eu gwneyd; nid oeddwn yn meddwl fod yr Arglwydd yn ein hystyried ni, y'mhob golygiad, yr un peth ag Adda, nac yn ystyried Crist, y'mhob golygiad, yr un peth a throseddwr; ond fod pechod Adda mor wirioneddol (er nad yn yr un ystyr) yn eiddo i ni, a phe buasem ni ein hunain wedi ei gyflawni; a bod pechodau ei bobl mor wirioneddol (er nad yn yr un ystyr) yn eiddo i Grist, a phe buasai ef ei hun wedi eu gwneyd. Ond eto, "y Cyfiawn" oedd ef, ac felly yr ystyrid ef, gan y Tad, yn marw fel Mechniydd "dros yr annghyfiawn."

*Gwran.* Y mae y cloc yn arwyddo y dylwn i fyned y'nghylch fy *musnes.* Ond y mae un peth ar fy meddwl i'w ddywedyd yrŵan, rhag na chofiaf ef ar ol hyn. Mynech chwi fod gwirionedd Duw yn gwneyd fod yn angenrheidiol i bechod gael ei gospi. Ond yr wyf fi o'r un farn a Mr. J., fod gwirionedd mewn addewid yn wahanol i wirionedd mewn bygythiad. Y mae gwirionedd mewn addewid yn rhwymo yr addawr i gyflawni ei air, neu gael ei ystyried yn anffyddlawn; ond nid yw gwirionedd mewn bygythiad yn rhwymo y bygythiwr i gyflawniad llythyrenol o'r peth, nid ydyw ond gwneyd y gospedigaeth yn beth cyfiawn. Nid yw yn difeddiannu y deddfroddwr o'i awdurdod penarglwyddol, ac uwch-gyfreithiol, i'w newid, os gellir sicrhau ei ddyben trwy ryw fesur arall. Y mae Duw wedi arfer yr awdurdod hwn mewn llawer o amgylchiadau, megys arbediad Ninefe.§ Gan hyny, nis gwelaf fi fod angenrheidrwydd i bechod gael ei gospi oll, ac na allai marwolaeth Crist fod yn rhyw beth i gyfreithloni maddeuant i droseddwyr, ac eto heb fod yn wir gospedigaeth am eu troseddau.

---

¶ Gwel Ymddyddan v.--- § Gwel Jenkyn on the At. tudal. 75.

*Preg.* Os ydyw yr ymresymiad yna yn profi dim, y mae yn profi gormod i bawb, ond Sociniaid ac Universaliaid; oblegid os ydyw yn bosibl i Dduw, yn gyson â gwirionedd a ffyddlondeb ei natur, beidio cyflawni ei fygythion; pa fodd y profwch na all y damnedigion gael eu hadferu oll? Ie, pa fodd y gellwch brofi y bydd neb yn druenus mewn byd arall? Ond yr wyf yn gwrthod y golygiad fel un anysgrythyrol; oblegid er ein bod yn cael, yn y beibl, fod y gospedigaeth, weithiau, yn cael ei hoedi, fel yr eiddo y Ninefeaid; eto nid oes, trwy yr holl ysgrythyrau, i'm tyb i, ddim dau beth yn cael eu cysylltu yn sicrach wrth eu gilydd, na phechod a chosp.

*Gwran.* Efallai yr ail-adroddwch eto swm y pethau a ddywedasoch, ac yna ni a ymadawn am y tro presenol.

*Preg.* 1. Tra yr wyf yn addef fod Iesu Grist yn *substitute* (neu drososodedig) yn lle ei bobl; eto, gan fod y gair *substitute*, i'm tyb i, yn rhy gyffredinol i ddangos yn benodol natur y sefyllfa yr oedd Crist ynddi, yr wyf yn dewis yr hen air ysgrythyrol *Mechnïydd* yn ei le.

2. Yr wyf yn ystyried y gair Mechnïydd yn deitl gwirioneddol, ac nid enw cymhariaethol, ar Grist; hyny yw, ei fod yn Fechnïydd i Dduw drosom ni, ac nid *rhyw beth tebyg* i fechnïydd.

3. Y mae egwyddor mechnïaeth Crist i'w chanfod yn amlwg yn yr aberthau; y diniwed yn cael ei gynyg a'i gymeradwyo yn lle troseddwr; yr aberth yn cynrychioli person neu bersonau neillduol, a maddeuant i'r cyfryw yn beth sicr. Gallwn chwanegu fod mechnïaeth Crist yn cael ei dangos yn amlwg gan y proffwydi; "Mynid tâl (medd Esay), ac yntau a ddaeth yn atebawl, ac nid agorodd ei enau." Esay liii. 7.—*Cyf. y Parch. J. Jones,*† *â'r hyn y cytuna Lowth, Scott, ac ereill.*

4. Yr wyf yn meddwl ddarfod i Grist, fel Mechnïydd ei bobl, gymeryd ein pechodau yn eiddo gwirioneddol iddo ei hun; hyny yw, fel y mae mechnïydd yn cymeryd dyled y dyledwr, neu fai y troseddwr, yn eiddo iddo ei hun; ac mai fel Mechnïydd yn lle troseddwyr yr oedd y Tad yn ei ystyried, ac yn ymddwyn tuag ato, ac nid fel un wedi troseddu yn ei berson ei hun. Y mae yn anmhosibl i Dduw ystyried neu farnu unrhyw berson yn amgen i'r hyn ydyw yn wirioneddol, oblegid "ni a wyddom fod barn

† Gwel y Cymmro. Cyf. ii. tudal. 26.

Duw yn ol gwirionedd." Rhuf. ii. 2. A'r hyn ydoedd Crist mewn gwirionedd, oedd Mechnïydd ei bobl, "y Cyfiawn dros yr annghyfiawn;" ac felly yr oedd y Tad yn edrych arno, ac yn ymddwyn tuag ato.

## YMDDYDDAN XIV.

### EFFEITHIOLRWYDD YR IAWN TUAG AT EI WRTHDDRYCHAU.

*Pregethwr*. Os yw Crist wedi marw dros bechodau pob dyn; paham, meddwch chwi, na bai pob dyn yn derbyn maddeuant?

*Gwrandawr*. Atebaf eich cwestiwn eto y'ngeiriau y Doctor Dwight. "Oblegid nad yw pob dyn yn credu yn efengylaidd yn yr iawn."

*Preg*. Y mae hyna yn wir am wrandawyr yr efengyl, ond nid dyna y gwir i gyd am y peth, fel y sylwais wrth ymddyddan am "sefyllfa prawf."†

*Gwran*. Ie, gwrandewch chwi eto. "Ni faddeuir i un dyn, yn unig oblegid yr iawn a wnaethpwyd gan Grist, ond hefyd oblegid ei waith ei hun yn derbyn yr iawn trwy ffydd. Y mae y ffordd yn agored i bawb yn ddiwahaniaeth, er nad yw pawb, fel eu gilydd, yn dueddol i rodio ynddi."‡

*Preg*. A ydych yn meddwl ynte, y gall dyn, o hono ei hun, gredu, a gweithio ynddo ei hun duedd i dderbyn iachawdwriaeth?

*Gwran*. Dyledswydd dyn, yn ddiau, yw credu; a'i fai yw annghredu. Ond eto, rhodd Duw yw ffydd; ac ni all neb fod yn gadwedig heb y rhodd hon, er i Grist farw drosto.

*Preg*. Ar ba gyfrif, attolwg, y mae ffydd yn cael ei rhoddi? ar gyfrif rhyw beth yn y dyn ei hun, ai ynte ar gyfrif yr iawn?

*Gwran*. Ar gyfrif yr iawn, bid siwr.

*Preg*. Wel, os ydyw ffydd yn un o'r pethau sydd yn dyfod trwy yr iawn, a'r iawn hwnw wedi ei roddi dros bob dyn yn ddiwahaniaeth, paham na bai pob dyn yn meddu ffydd? Neu, gan mai dyben yr iawn oedd, nid yn unig achub y sawl a gredo, ond hefyd rhoi ffydd i rai nid ydynt

† Gwel Ymddyddan vii.—‡ Gwel Dwight's Theo. Vol. iii. page 81.

yn credu; fy nghwestiwn ydyw, Pa fodd na roddid ffydd i bawb, gan fod yr iawn dros bawb yn ddiwahaniaeth?

*Gwran.* Y mae y Bôd mawr wedi agor ffordd, yn ei ragluniaeth, i ddynion gael llawer o bethau ag na chânt byth, o herwydd eu hesgeulusdra eu hunain; felly, ni welaf fi ddim annghysondeb mewn dywedyd fod Crist wedi agor ffordd iachawdwriaeth i bawb, er y bydd miloedd yn ol o honi, o herwydd eu hesgeulusdra eu hunain.

*Preg.* Chwi a addefwch fod dwyn dynion i gredu yn un o ddybenion yr iawn, yn gystal ag achub y sawl a gredo. Chwi a addefwch hefyd, fod y dyben olaf, sef achub y neb a gredo, yn sicr o gael ei ateb. Yn awr, os ydyw yr olaf yn sicr o gael ei ateb, paham nad yw y cyntaf felly hefyd? Neu os yw y dyben cyntaf yn agored i fethu, paham nad yw yr olaf felly hefyd? Os na chollir pwy bynag a gredo, oblegid dyrchafu Mab y dyn i'r dyben hyny; paham, wrth gystadl ymresymiad, na ddygir pwy bynag y bu Crist farw trosto i gredu, ac yntau wedi marw i'r dyben hyny? Neu, os nad ydyw iawn Crist yn sicrhau yr achubir pawb ag y daeth i fod yn iawn drostynt, ac yntau wedi dyfod "fel yr achubid," &c., pa fodd, wrth gystadl ymresymiad, y mae ei fod wedi ei ddyrchafu "fel na choller pwy bynag a gredo," yn sicrhau hyny chwaith? Os yw un o ddybenion yr iawn yn sicr o gael ei ateb, paham nad yw y cwbl felly? Neu, os gall un fethu, paham, o ran yr iawn, na all y cwbl fethu?

*Gwran.* 'Rhoswch chwi. Y mae yn amlwg nad ydyw pawb yn cael eu hachub, er fod y beibl yn tystiolaethu yn bendant fod Crist wedi ei anfon i'r byd, "fel yr achubid y byd." Pa fodd, gan hyny, y mae neb o'r byd heb eu hachub, sydd gwestiwn i'r Calfinistiaid, yn gystal ag i'r Ffwleriaid.

*Preg.* Peidied o â *begio* y cwestiwn yrŵan, sef cymeryd yn ganiataol yr hyn a ddylai ei brofi. Gwyddoch nad ydyw y Calfinistiaid yn addef fod pawb a fu, sydd, ac a fydd yn y byd, yn cael eu cynwys yn y gair "byd" yn y testyn yna, mwy nag mewn llawer o destynau ereill, ond ei fod yn golygu y nifer mawr hyny o bob cenedl ag a fyddant gadwedig yn y diwedd; felly y maent hwy yn dal fod y dyben o achub y sawl y daeth Crist i'r byd i'w hachub, mor sicr o gael ei ateb, a'r dyben o gadw y sawl a gredo; hyny yw, fod holl ddybenion marwolaeth Crist yn sicr o gael eu hateb.

*Gwran.* Ni feddyliais i erioed am ddybenion yr iawn yn y dull yr ydych chwi yn eu gosod allan. A oes genych ychwaneg i'w ddywedyd ar hyn?

*Preg.* Y mae dywedyd fod iawn Crist wedi dwyn iachawdwriaeth i ddynion, ar yr ammod iddynt hwy gredu, yn dwyll-ymresymiad; canys y mae dwyn dyn i gredu, yn rhan o'r iachawdwriaeth ag y dywedir ei bod yn dyfod drwy yr iawn. Gofynaf i chwi, Trwy ba beth y gwneir yr iawn yn effeithiol i rai mwy nag ereill?

*Gwran.* Wel, trwy eu gwaith hwy eu hunain yn credu.

*Preg.* Trwy ba beth eto y dygir dynion i gredu?

*Gwran.* Trwy yr iawn, bid siwr.

*Preg.* Yn ol eich atebion chwi, gwaith dyn yn credu yw y moddion sydd yn gwneyd yr iawn yn effeithiol; a thrachefn, effeithiolrwydd yr iawn ydyw y moddion sydd yn gwneyd i ddyn gredu: dyma y twyll-ymresymiad a elwir *siared mewn cylch.* Beth pe bawn yn gofyn eto, Pa un ai gwaith dyn yn credu i wneyd yr iawn yn effeithiol, ai ynte effeithiolrwydd yr iawn i ddwyn dyn i gredu, yw y cyntaf?

*Gwran.* O, yr iawn sydd yn dechreu effeithio i ddwyn dyn i gredu.

*Preg.* Felly, nis gall gwaith y dyn yn credu fod yn gwneyd yr iawn yn effeithiol, am fod yr iawn wedi effeithio arno cyn iddo ddechreu credu.

*Gwran.* Rhaid ynte, mai y dyn sydd yn credu yn gyntaf, ac yna bod yr iawn yn effeithiol er ei achub.

*Preg.* Yn ol hyna eto, nis gall mai effeithiolrwydd yr iawn sydd yn foddion i ddwyn dyn i gredu, am fod y dyn yn credu cyn i'r iawn fod yn effeithiol iddo.

*Gwran.* Wel, rhaid mai ar unwaith y maent, ynte.

*Preg.* Nis gall hyny ddim bod chwaith o ran trefn, er y gallai fod o ran amser; oblegid rhaid ystyried yr achos yn blaenori yr effaith; a rhaid bod y moddion yn cael eu harferyd cyn i'r dyben gael ei ateb. Os gwaith dyn yn credu sydd yn gwneyd yr iawn yn effeithiol iddo, rhaid fod y dyn yn *actio* crediniaeth cyn i'r iawn fod yn effeithiol iddo; a rhaid fod y ffydd, trwy ba un y mae yn credu, yn cael ei rhoddi iddo mewn rhyw lwybr heblaw llwybr yr iawn. Ond os effeithiolrwydd yr iawn tuag at y dyn sydd yn ei ddwyn i gredu, y mae yn rhaid fod yr iawn yn effeithiol, fel cyfrwng, trwy ba un y mae ffydd yn cael ei rhoddi yn ei enaid, cyn bod yn bosibl iddo gredu. Felly,

gan fod yr iawn yn effeithiol i ddwyn *rhai* i gredu, ac nad ydyw felly i *bawb*, y mae yr opiniwn o iawn cyffredinol yn ymddangos i mi yn anniffynadwy.

*Gwran.* Ni wn i p'run. Oni ddichon fod yr iawn wedi ei roddi dros bob dyn, ac eto heb gael ei wneyd yn effeithiol ond i rai?

*Preg.* Nid ydwyf fi yn dirnad pa fodd y gall yr iawn fod yn ddim i neb, ond i'r graddau y mae yn effeithiol iddynt. Yrŵan, os ydyw yr iawn yn effeithiol i ddyn cyn belled ag iddo gael ei wneyd yn gredadyn, y mae yn sicrhau iachawdwriaeth i'r dyn hwnw, canys ni chollir pwy bynag a gredo. Ond os nad ydyw yr iawn yn effeithiol i hyny, nis gwn i pa fodd y gall yr iawn fod yn ddim i'r dyn hwnw, nac y'mha ystyr y gellir dywedyd fod Crist wedi marw trosto.

*Gwran.* Oni ddichon fod Mab Duw, wrth roddi ei hun yn iawn, yn bwriadu hyny fel moddion i achub pob dyn yn ddiwahaniaeth, 'er nad oedd y Tad neu yr Ysbryd yn bwriadu gwneyd y moddion hyny yn effeithiol ond i rai?

*Preg.* Pe bai hyny yn bod, ni byddai dywedyd felly yn ddim mwy o efengyl i'r lleill, na dywedyd na bu Crist farw trostynt. Ond na feddyliwn mor gableddus a bod y Personau Dwyfol yn bwriadu yn groes i'w gilydd! Buasai yn dda genyf ddywedyd rhagor am yr iawn, yn ei berthynas â bwriadau Duw, ac â galwad yr efengyl; ond y mae ychwaneg ar fy meddwl i'w ddywedyd ar y mater yma, os ydwyf yn peidio â'ch blino.

*Gwran.* Efallai y cawn hamdden ryw dro eto i ymddyddan am y pethau a enwasoch. Am flino ein gilydd, myfi, ac nid chwychwi, a ddylai *apologizio*. Ond ewch y'mlaen efo'r mater oedd ar eich meddwl.

*Preg.* Wel, pechod yw annghrediniaeth, ac y mae yn rhaid naill ai bod Grist wedi gwneyd iawn drosto, ai nad ydyw; ac os gwnaed iawn dros annghrediniaeth pawb, y mae yn anhawdd gwybod paham y demnir neb o herwydd y pechod hwnw. Ond oni wnaed iawn dros y pechod hwn, yna ni wnaed iawn dros holl bechodau pob dyn. Felly, wrth ddywedyd fod Crist wedi gwneyd iawn dros holl bechodau dynion, ac eto y collir llawer oblegid eu hannghrediniaeth, yr ydych yn gwrthddywedyd eich hun. Os gwnaed iawn dros y pechod o annghrediniaeth, fel pechodau ereill, pa fodd y dywedwch fod y pechod hwnw,

mwy na phechodau ereill, yn amddifadu dynion o fendithion yr iawn? Ond os na wnaed iawn dros annghrediniaeth, yna ni wnaed iawn dros bob pechod o eiddo dynion: ie, y mae un o'r pechodau mwyaf ysgeler heb wneyd iawn drosto; ac felly, y mae y prif rwystr heb ei symud o ffordd dynion i fod yn gadwedig.

*Gwran.* Ond nid ydyw y Calfinistiaid yn golygu yr achubir neb trwy yr iawn, ond y sawl a gredant: ac felly, y mae yn ymddangos i mi eu bod hwythau yn dyfod i'r un dyryswch a'r Ffwleriaid.

*Preg.* Y farn Galfinistaidd ydyw, fod yr iawn yn sicrhau maddeuant, a gwaredigaeth oddiwrth annghrediniaeth, a phob pechod arall, i'w holl wrthddrychau. Ond y Ffwleriaid a ddywedant fod yr iawn wedi dwyn iachawdwriaeth i bob dyn, ar yr ammod i'r dyn gredu; neu, mewn gair arall, ar yr ammod iddo ddyfod allan o garchar annghrediniaeth. Ond y cwestiwn yw, o b'le daw y waredigaeth hon? Os dywedwch mai trwy yr iawn, yr ydych yn gildio'r pwnc, oblegid y mae dywedyd mai trwy yr iawn y gwaredir dyn o'i annghrediniaeth, mewn trefn iddo gael ei achub, trwy yr iawn, i fywyd tragwyddol, yn dinystrio pob meddylddrych o ammod yn y pwnc, am fod y ddau beth yn dyfod o'r un man, sef oddiwrth yr iawn. Ond os dywedwch, nad drwy yr iawn y gwaredir dyn o'i annghrediniaeth, rhaid i chwi olygu, naill ai fod y dyn yn ei waredu ei hun o'r rhwymau hyny, neu fod gan yr Arglwydd ryw lwybr heblaw yr iawn, i'w waredu. Dyma *ddilemma* ag y mae yn rhaid i chwi gymeryd eich lluchio ar un o'i dau gorn, nes y boddlonoch i roddi i fyny bwnc y Doctor Dwight, sef, "Na faddeuir i un dyn, yn unig oblegid yr iawn."

*Gwran.* Wel, fel hyn. Bwriwch fod rhyw ynys wedi gwrthryfela yn erbyn y llywodraeth, a'r brenin wedi rhoddi *proclamasiwn*, y byddai i bawb a ymadawai o'r ynys erbyn dydd apwyntiedig, gael eu harbed; ond y dienyddid y lleill. Yn awr, y mae afon fawr rhwng yr ynys a'r cyfandir, fel na all y trigolion, druain, ddianc o'r perygl y maent ynddo. Ond wrth eu gweled yn y fath sefyllfa, y mae y brenin yn cael ar ei feddwl drachefn i adeiladu pont, i fod at eu gwasanaeth. Eto, y mae y trigolion mor gyndyn, fel na ddefnyddiant y bont, heb i'r brenin, trwy ryw *act* newydd o diriondeb, eu dwyn ati. Yn awr, y mae gwneuthuriad y bont yn fynedfa gyffred-

inol o dir y perygl i le diogel, yn gwneyd y trigolion yn hollol ddiesgus; ac y mae bai y sawl a wrthodo ddyfod allan o'r ynys yn cael edrych arno yn fwy ysgeler, o gymaint a bod pont wedi ei gwneyd, na phe buasai heb yr un. Nid yw yr *act* newydd, trwy ba un y dygir rhai yn effeithiol i ddefnyddio y bont, ond *act* o benarglwyddiaeth ac ewyllys da; gan hyny ni all neb ymesgusodi trwy ddadlu nad oedd yn un o'i gwrthddrychau.

P*reg*. Eglurwch eich dammeg.

*Gwran*. Trigolion yr ynys yw holl ddynolryw. Yr ynys yw y cyflwr y mae dyn ynddo wrth natur. Y *proclamasiwn* yw y condemniad sydd yn aros ar bawb ag sydd yn y cyflwr hwnw. Yr afon yw yr anmhosibilrwydd i ddyn gael ymwared heb iawn. Y bont yw yr iawn. A'r *act* newydd o benarglwyddol ras, yw gwaith yr Ysbryd yn dwyn dynion i gredu.

*Preg*. Y mae eich cymhariaeth yn ddiffygiol, oddieithr eich bod yn meddwl fod gan yr Ysbryd Glân ryw lwybr o'r tucefn i'r iawn, i ddwyn dynion i gredu. Nid yw eich pont chwi ddim ond llwybr i'r sawl sydd yn credu, i ddyfod i dir dedwyddwch. Ond y mae yr iawn nid yn unig yn llwybr o ynys damnedigaeth i dir cadwedigaeth, ond hefyd yn unig lwybr o ynys cyndynrwydd ac annghrediniaeth i gyfandir ffydd. Yrwan, ar y dybiaeth o iawn cyffredinol, yr wyf yn gofyn, Paham y rhoddir ffydd i rai mwy nag ereill?

*Gwran*. Am mai felly y mae Duw, o'i benarglwyddiaeth, yn gweled yn dda.

P*reg*. A ydyw ffydd, gan hyny, yn cael ei rhoddi o benarglwyddiaeth yn unig, heb fod ar gyfrif dim fel ammod o'i rhoddiad?

*Gwran*. Onid yw yr iawn yn ddigon o ammod?

P*reg*. Wel, os ydyw yr iawn yn ammod o roddiad ffydd i rai, yr wyf yn gofyn eto, paham nad ydyw felly i bawb, o'i wrthddrychau? neu, os ydyw yn ammod o roddiad ffydd i bawb, paham na byddai pawb, yn ol y cyfammod hwnw, yn derbyn ffydd fel eu gilydd?

*Gwran*. Ni wn i ddim pa fodd i ateb y cwestiwn yna. Rhaid i mi gael amser i'w ystyried.

P*reg*. Wel, ni wn inau ddim. Ond yr ydwyf yn meddwl, yn

1. Fod dywedyd fod yr iawn yn ammod o roddiad ffydd

i bawb, ac eto, na roddir ffydd ond i rai, yr un peth a rhoddi anffyddlondeb yn erbyn Duw.

2. Fod dywedyd nad ydyw'r iawn yn ammod o roddiad ffydd i neb, yr un peth a dywedyd fod y waredigaeth o grafangau creulawn annghrediniaeth, yn beth allan o derfynau y cyfammod gras, oblegid mai ar gyfrif yr iawn y mae holl fendithion y cyfammod hwnw yn dyfod.

Rhaid i fy nghyfaill gymeryd un o'r ddau olygiad hyn, neu gyfaddef fod yr iawn yn ammod o roddiad ffydd i rai, ac nid i bawb; a byddai hyny gystal a gildio y prif bwynt; canys byddech, trwy hyny, yn addef fod yr iawn yn rhyw beth mawr i rai, rhagor ereill; ïe, ei fod yn ammod, ac yn unig ammod iachawdwriaeth y rhai oll a gedwir, ac nad ydyw felly i neb arall; yr hyn ni allai byth gydsefyll â'r athrawiaeth o *iawn cyffredinol.*

---

## YMDDYDDAN XV.

### CYSYLLTIAD YR IAWN AG ARFAETH NEU FWRIADAU DUW.

Ar ol y moes-gyfarchiad arferol, ysgwyd dwylaw, &c., ebe'r

*Gwrandawr.* Pe bai yr athrawiaeth o iawn cyffredinol yn gyfeiliornus, a ydych yn meddwl ei fod yn gyfeiliornad mawr, neu fod rhyw ganlyniadau niweidiol iawn i'r peth?

*Pregethwr.* Yn wir, yr wy'n meddwl fod cyfundraith Mr. Jenkyn yn arwain i ganlyniadau cethin iawn; canys pan y mae'n dyweyd "fod dynolryw yn ddyledus am eu holl fodoliaeth i gyfryngaeth ac iawn Crist," rhaid ei fod yn barnu na buasai neb dynion mewn bod i'w gobrwyo na'u cospi, ar ol Adda ac Efa, oni buasai'r iawn; felly y mae yr hyn a drefnodd Duw i waredu rhag uffern, yn foddion i bobli uffern; ïe, os caniateir achubiaeth Adda ac Efa, nid oes yn uffern, yn ol system Mr. J., gymaint ag un dyn na dynes a fuasai yno, oni bai yr iawn!!

*Gwran.* Dichon fod y peth goreu ynddo ei hun yn achlysur diniwed o'r drygau mwyaf. Y mae "annuwiolion yn troi gras ein Duw ni i drythyllwch:" y mae'r iawn, yn siwr, wedi ei fwriadu i fod yn iachawdwriaeth i ddynion; ac ni welaf fi ei fod yn un math o sarhad arno,

i ddyweyd fod rhai, wrth ei esgeuluso, yn ei wneuthur yn felldith iddynt eu hunain yn lle bendith.

*Preg.* Esgeuluso! Pa sut y gall y myrddiynau na chlywsant air erioed o son am iawn, fod yn esgeuluswyr o hono? Pan y mae moddion yn cael eu darparu er adferu dynion o drueni, a'r moddion hyny heb ateb y dyben ar y gwrthddrychau eu bwriadwyd iddynt, rhaid fod y gwall neu'r bai naill ai yn system y moddion, neu ar y dynion am eu hesgeuluso; ond ni all y bai o esgeuluso'r iawn fod ar y paganiaid; gan hyny, rhaid fod y gwall yn y ddarpariaeth. Rhaid fod gwall, meddaf, yn narpariaeth yr iawn, os ydyw, fel y myntumia Mr. J., heb ateb ei ddyben ar rai heblaw ei esgeuluswyr. Ai tebyg fod yn bosibl i Ddoethineb ddwyfol fod yn awdwr o'r fath drefn? Ie, mynai Mr. J. i ni gredu fod yr iawn wedi ei fwriadu dros holl ddynolryw; ac eto, fod y ddarpariaeth nid yn unig yn fyr o ateb ei dyben ar fyrddiynau, ond hefyd yn foddion i'w dwyn i bob trueni tymhorol a thragwyddol. Rhaid, dybygwn i, fod y fath gyfundraith yn chwithig i reswm ac ysgrythyr.

*Gwran.* Ni welwn i yn fy myw nad yw Mr. J. yn llygad ei le wrth ddyweyd y gall yr iawn fyned yn ofer, neu fethu ateb ei ddyben, canys y mae'r beibl yn dangos yr un peth.

*Preg.* Y'mha le?

*Gwran.* Yn Galatiaid iv. 11. "Y mae arnaf ofn am danoch, rhag darfod i mi boeni wrthych yn ofer." Ofnai Paul rhag i weinidogaeth yr iawn fethu efo'r Galatiaid.

*Preg.* Y mae'n wir y gallasai yr apostol gael ei somi, a'i weinidogaeth fethu â chyrhaeddyd yr amcan oedd ganddo ef mewn golwg. Ond y cwestiwn yw, Pa un a all Duw gael ei somi ai peidio? a all, ai ni all, ei amcan ef, wrth ddarparu yr iawn, fethu?

*Gwran.* Dywed y Messia ei hun, "Yn ofer y llafuriais, yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth." Cwyna hefyd, ddarfod iddo gael ei somi pan y mynasai gasglu plant Jerusalem y'nghyd, fel y casgl iâr ei chywion dan ei hadenydd.

*Preg.* Yr oedd Iesu Crist, fel dyn, yn cyfarfod â somedigaethau, fel yn achos y ffigysbren a felldigwyd ganddo. Ond peth arall yw fod dybenion Duw, wrth roddi ei Fab i fod yn iawn, yn agored i fethu; neu fod Crist, fel yr oedd yn Dduw, yn agored i somedigaeth.

*Gwran.* Dywed y Dr. Paley, nad ydym, yn ein

hymchwiliadau pellaf i weithredoedd y Creawdwr, byth yn dyfod i blith y fath wreiddiol wahanol foddau bodoliaeth ag sydd yn dangos ein bod yn dyfod i dalaeth rhyw Greawdwr gwahanol, neu dan gyfarwyddyd rhyw ewyllys gwahanol. Y mae pob peth yn dwyn argraff yr un Creawdwr, a'r un ewyllys. Ond yn ol eich cyfundraith chwi, y mae'r Bôd Mawr, fel Duw iachawdwriaeth, yn wahanol iawn i'r hyn ydyw fel Duw rhagluniaeth, fel mai prin y gallem adnabod mai yr un un ydyw: canys, tra mae'n amlwg fod ei ragluniaeth yn gyffredinol i bawb, mynech chwi i ni gredu nad ydyw yr iawn ond peth neillduol i rai.

*Preg.* Os meddwl yr ydych, wrth ragluniaeth gyffredinol, fod Duw yn llywodraethu, yn anffaeledig, ar bob creadur yn ei holl ysgogiadau, ac ar bob dygwyddiad a fu erioed, ac a fydd byth; yr wyf yn cydolygu â chwi; yr wyf hefyd yn meddwl fod y ragluniaeth hon yn cynwys yr iawn a'i ganlyniadau, fel rhan hanfodol o honi. Ond cyfeiliornus, i'm tyb i, yw y golygiad fod rhagluniaeth yn un peth cyffredinol, a'r iawn yn beth cyffredinol arall. Ond os ydych am hòni fod rhagluniaeth yn gyffredinol, fel ag i drefnu pethau tymhorol i bawb yn ddiwahaniaeth, yr wyf fi'n gwadu fod y fath ragluniaeth yn bod. "Onid oes amser terfynedig i ddyn ar y ddaear?" Ie, y mae holl fanteision dyn mor derfynedig a'i amser; ac nid yw terfyn y naill yn yr un man a therfyn y llall. Ond cofiwch, er fod hyn yn wirionedd a saif byth, eto nid arfaeth Duw yw rheol dyledswydd dyn: y mae Duw yn sicr o gyflawni ei holl fwriadau i'r manylrwydd mwyaf; eithr nid yw dynion yn sicr o gyflawni eu dyledswyddau, ond, yn hollol i'r gwrthwyneb, y maent yn siwr o'u hesgeuluso.

*Gwran.* Y mae Duw yn gwneuthur "i'w haul godi ar y drwg a'r da; ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r annghyfiawn." Y mae y pethau hyn yn fendithion cyffredin, wedi eu darparu i bwy bynag a'u defnyddio.

*Preg.* Digon gwir: ac felly y mae darpariaeth yr iawn, i bwy bynag a'i defnyddio. Ond nid yw'r naill na'r llall wedi ei bwriadu i neb ond y sawl a'i defnyddio, amgen rhaid fod y Bwriadydd yn cael ei somi.

*Gwran.* Y mae'n debyg yr addefwch fod dwy ragluniaeth, un yn gyffredinol, a'r llall yn neillduol; y gyntaf yn darparu pethau yn gyffredinol i ddynion, a'r olaf yn dwyn dynion yn bersonol i afael y pethau. Onid yw mor

gyson a hyny, i ni ddal iawn cyffredinol, a phrynedigaeth neillduol? Yr iawn yn dwyn bendithion i ddynion, a'r prynedigaeth yn dwyn dynion i afael y bendithion. Felly, ni ellir dwyn un rheswm yn erbyn iawn cyffredinol, nad ydyw yn disgyn, yn ei holl fin, yn erbyn rhagluniaeth gyffredinol, fel y sylwa Mr. Jenkyn.*

*Preg.* Dwy ragluniaeth! Nac ydwyf fi ddim yn addef y fath beth. Un ragluniaeth sydd gan Dduw, a hòno yn cymeryd sylw o bawb a phob peth yn gyffredinol; ond y mae yn neillduol, o ran ei bod yn sylwi ar bob dyn ar ei ben ei hun, mor fanwl a phe na byddai ganddi neb ond efe i ofalu am dano. Y mae yr iawn hefyd mor gyffredinol, ac mai trwyddo ef yr achubir pawb a achubir; ac hefyd i gael ei bregethu i bob creadur: ond am fod yr iachawdwriaeth yn sicr i bob person ag y bu Crist farw drosto, neillduol a phersonol ydyw, o ran ei wrthddrychau. Y mae yn anmhosibl i Mr. J., wrth fyntumio fod yr iawn mor gyffredinol a rhagluniaeth, ochel y canlyniad o roddi angelion a chythreuliaid, ïe, a'r anifeiliaid direswm, yn gystal a dynion, yn wrthddrychau iawn y Cyfryngwr!!

*Gwran.* Os gwelwch yn dda arafu tipyn. Y mae genyf fi un peth i'w ddyweyd eto cyn gildio'r pwynt yma. "Nid ydyw Duw dderbyniwr wyneb," medd Pedr yn nhŷ Cornelius, Act. x. 34. Ond cynwys eich system chwi fod llawer o dderbyn wyneb gyda Duw, ei fod yn gwneyd i rai yr hyn nis gwna i ereill.

*Preg.* Mewn difrif, a ydych yn meddwl mai golygiad yr apostol oedd, nad yw yr Arglwydd yn rhoddi dim mwy o fanteision i'r naill nag i'r llall? Neu, ai tebyg fod Mr. J., wrth godi yr wrthddadl yna, † yn meddwl mor isel am synwyr cyffredin y sawl a'i darllenai, ag y gallasai beri iddo goelio mai dyna feddwl yr adnod? Ond os na phrawf yr adnod dan sylw na all Duw, heb fod yn dderbyniwr wyneb, roddi dim mwy o fanteision i rai nag i ereill, nid yw yn profi dim i bwrpas Mr. J.; canys os dichon Duw, heb fod yn dderbyniwr wyneb, roddi rhyw fantais i un rhagor arall, gall, ar yr un egwyddor, roddi mantais fwy; neu, os gall roddi rhai manteision, gall, yn ol yr un egwyddor, roddi pob manteision i rai, a gadael ereill hebddynt.

---

* Gwel Jenkyn on the At. tudal. 230.---† Tudal. 270.

*Gwran.* Pa beth, attolwg, yw *derbyn wyneb,* os nad rhoddi manteision i rai mwy nag i ereill?

*Preg.* Derbyn wyneb, mewn barn, ydyw gobrwyo un yn fwy nag arall, am yr un rhinwedd; neu gospi un yn fwy nag arall, am yr un bai. Yn yr ystyr yma y dywed yr apostol, "nad ydyw Duw dderbyniwr wyneb; ond yn mhob cenedl, y neb sydd yn ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder, sydd gymeradwy ganddo ef," Act. x. 34, 35; h. y., y mae ofni Duw, a gweithredu cyfiawnder, yn cael eu cymeradwyo gan Dduw yn y naill genedl fel y llall. Ond fod un yn cyfranu ei rad-roddion, yn unig, i'r sawl a gafodd ffafr yn ei olwg, megys y dywed y Calfinistiaid y gwnaeth Duw wrth roddi ei Fab, ac y gwnaeth Crist wrth roddi ei hun, yn iawn; ni feddyliodd neb erioed am alw hyny yn *dderbyn wyneb,* heblaw dadleuwyr Arminaidd neu Ffwleraidd. Tybiwch y byddai deg o droseddwyr wedi eu dedfrydu i farw am yr un trosedd, ac euogrwydd y deg yn gymhwys yr un faint; ond fod y llywodraeth wedi derbyn iawn, yn lle cospedigaeth y deg, fel ag i wneyd eu harbediad yn beth eithaf cyfiawn a diogel: eto, nad ydyw y brenin yn gweled yn dda arbed ond pump o honynt, a'r pump ereill yn cael eu crogi, er fod yr iawn drostynt hwy, yn gystal a'r pump a arbedwyd; pa enw a roddid ar yr ymddygiad yna, ond derbyn wyneb? Rhyw olwg fel yna a rydd Mr. J., a'i bleidwyr, ar Farnydd yr holl ddaear: ac felly, y Ffwleriaid eu hunain, ac nid y Calfinistiaid, sydd yn euog o roddi derbyn wyneb yn siars eu Gwneuthurwr.

*Gwran.* Wel eto, os awn i farnu y sylwedd wrth y cysgodau, y mae yn amlwg fod golwg gyffredinol gan y rhei'ny; canys yr oedd yr holl genedl, annuwiol a duwiol, yn cyfranogi o ddaioni y manna,—y sarff bres,—yr aberthau, &c.

*Preg.* Y genedl Iuddewig oedd eglwys weledig Duw y pryd hwnw, ac felly yr oedd yn cynrychioli neu yn cysgodoli y wir eglwys drwy holl oesoedd y byd; a phob braint a berthynai iddynt hwy, rhagor ereill, yn gysgodau o'r breintiau sydd i'r eglwys rhagor y byd. Gan hyny, y mae fod y "mabwysiad, a'r gogoniant, a'r cyfammodau, a'r addewidion," yn eiddo iddynt hwy, ac iddynt hwy yn unig, yn dangos fod sylwedd yr holl bethau hyny yn eiddo'r eglwys, ac yn eiddi hi yn unig.

*Gwran.* Ond er fod Mr. J. yn dal fod yn yr iawn

ddarpariaeth wedi ei bwriadu o bwrpas i bawb; ‡ eto, y mae yn addef fod neillduolrwydd penarglwyddol yr iawn yn beth diddadl; fod neillduolrwydd yn y cymhwysiad o hono at ddynion, er cauad allan yr angelion syrthiedig; a bod neillduolrwydd yn y cymhwysiad o hono at gredinwyr, er cauad allan ei wrthodwyr.†

*Preg.* Y mae ein hawdwr, dybygid, yn ystyried fod Duw wedi bwriadu y ddarpariaeth i holl ddynolryw; ond yn y cymhwysiad o honi, fod rhai dynion yn sefyll yr un siawns a'r cythreuliaid. Felly, gwedi holl ddadleuon y gŵr o blaid iawn cyffredinol, y mae yn gosod rhai o wrthddrychau'r iawn mor anobeithiol, o ran dim a allant gael yn gymhwysiadol oddiwrtho, a'r angelion syrthiedig. Cysurwr gofidus ydyw Mr. J. i'r anetholedig: y mae yn dywedyd yn dêg wrtho, fod Crist wedi marw drosto, a'r iachawdwriaeth wedi ei darparu ar ei gyfer; ond erbyn myned i son am "yr iawn yn ei berthynas â bwriadau Duw," nid oes dim iddo i'w gael, wedi'r cyfan, mwy na'r angelion y rhai ni chadwasant eu dechread!!

Drachefn; y mae Mr. J. yn addef etholedigaeth, sef fod rhai, a dim ond rhai, wedi eu hordeinio i fywyd; ond myntumia fod y bywyd wedi ei ordeinio i bawb, a bod yr ordeiniad hwn yn methu yn yr holl golledigion. Yn awr, os yw bosibl i ordeiniad bywyd i ddynion fethu, paham na all ordeiniad dynion i fywyd fethu hefyd? Os ydyw bwriad Duw mewn ethol ei Fab i fod yn iawn yn agored i ffaelu, paham na all ffaelu hefyd mewn ethol dynion ynddo? Os gall iawn y Mab fod yn ofer i'w wrthddrychau ef, pam na all etholedigaeth y Tad fod yn ofer i'w gwrthddrychau hithau? Pe bai Mr. J. yn dylyn yr hen dad parchedig J. Wesley, i wadu etholedigaeth, meddyliwn y byddai yn fwy cyson âg ef ei hun, beth bynag am y beibl.

*Gwran.* Y mae amrywiol oruchwyliaethau, medd Mr. J., yn brawf-gynygiadau (*experiments*) mewn llywodraeth foesol; ac y mae y rhei'ny yn agored i fethu. Methodd goruchwyliaethau Eden a Sinai; a pham na ddichon i oruchwyliaeth yr iawn fethu, yn gystal a'r rhei'ny?

*Preg.* Addefaf i oruchwyliaethau Eden a Sinai fethu, cyn belled ag i ddynion, dan y goruchwyliaethau hyny, ymddwyn yn groes i'r hyn a ddylasent, ac i'r hyn a allesid, yn rhesymol, ei ddysgwyl oddiwrthynt: ond yr wyf yn

‡ Gwel Jenkyn on the At. tudal. 119.—† Tudal. 121.

gwadu i fwriadau Duw fethu yn un o honynt. Sonir weithiau am Dduw yn edifarhau, yn ymofidio, yn cael ei somi, &c.; ond y meddwl yw, ei fod yn ymddwyn megys un a fai yn edifarhau, neu yn cael ei somi, ac nid ei fod felly yn wirioneddol; oblegid ei "holl gynghor a saif, a'i holl ewyllys a wna." Y mae dybenion Duw, yn yr iawn, a phob peth arall, yn sicr o gael eu hateb yn anffaeledig.

*Gwran.* Mae'n wir fod yr iawn yn feddyginiaeth anffaeledig. Ond "megys na all meddyginiaeth, er ei bod yn anffaeledig, wella y sawl a'i gwrthodo, felly gall yr iawn fethu â llesâu i'r dyn sydd yn ceisio cyfiawnhad drwy weithredoedd."

*Preg.* Ond a ydyw'r iawn wedi ei fwriadu i gadw dyn, tra y mae yn ceisio cyfiawnhad trwy weithredoedd? Os ydyw, ni waeth i ddyn geisio cyfiawnhad drwy weithredoedd, na thrwy ffydd: ond os na fwriadwyd yr iawn i gadw ond y sawl a gredant, yna y mae'n ateb ei ddyben, er i'r sawl a geisiant gyfiawnhad drwy weithredoedd fod yn ol.

*Gwran.* Ofnai'r apostol Paul, gan fod addewid am orphwysfa wedi ei adael, rhag fod neb o'r gwrthddrychau yn debyg i fod yn ol, Heb. iv. 1. Ond os ydyw yr iawn wedi sicrhau yr orphwysfa i'w holl wrthddrychau, fel nad ydyw yn bosibl iddynt fod yn ol, pa achos ofni na rhybyddio yn mherthynas iddi?¶

*Preg.* Yr oedd bywyd Paul a'i gyd-fordeithwyr tua Rhufain, yn sicr, yn ol bwriad a gair y Duw digyfnewid. Ond pan y mae'r morwyr yn myned i ddianc, dywed Paul, "Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig." Act. xxvii. 31. Gwelwch fod yr apostol yn arfer geiriau mor amheus am gadwedigaeth y rhai'n, ag am ddyfodiad yr Hebreaid i'r orphwysfa. Ond yr oedd gorphwysfa pobl Dduw mor sicr i wrthddrychau'r addewid, ag oedd bywyd y bobl hyn: eto, yr oedd annghrediniaeth yr Hebreaid yn rhoi lle i'r apostol ofni y byddent yn ol, fel yr oedd gweled y morwyr yn ceisio dianc yn rhoi lle i'r un gŵr ofni mai boddi a wnai'r gweddill. Eithr bu rhybydd Paul yn foddion i'r morwyr aros yn y llong, ac felly i bawb ddyfod i dir yn ddiangol: ac y mae'n debyg i rybyddion yr un gŵr fod yn foddion i lawer o'r Hebreaid gredu, a thrwy hyny gyraedd yr orphwysfa a ordeiniwyd iddynt. Felly nid yw'r geiriau yna, a'u cy-

---

¶ Gwel Jenkyn on the At. tudal. 137.

ffelyb, yn profi dim tebyg i amheuaeth yn mwriadau Duw, gyda golwg ar yr iawn a'i wrthddrychau. O'r braidd y mae llawer cyfiawn yn gadwedig, o ran ei brofiad ei hun, a barn ereill am dano; eto, y mae y sicrwydd mwyaf o du Duw, y dygir holl wrthddrychau yr iawn "i dir yn ddiangol." "Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef drosom ni oll; pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?" Rhuf. viii. 32.

Ond, "os ydyw Crist wedi ei fwriadu i fod yn iachawdwriaeth i bawb, pa fodd y mae yn dygwydd fod cyn lleied yn cael eu hachub?"

*Gwran.* Y mae Mr. J. yn ateb y cwestiwn yna yn rhagorol, fel hyn: "Y mae'r cwestiwn yn cymeryd yn ganiataol, y rhaid i Dduw achub pawb a allo eu hachub; ond nid ei allu yw rheol ei weithredoedd:--gallasai greu ychwaneg o fydoedd nag a greodd;——a byddai yn gabledd o'r mwyaf i feddwl nad oes dim mwy o dda yn cael ei wneyd yn y bydysawd, am na *allai* Duw wneyd rhagor. Pe gallu fyddai ei reol, ni byddai ei lywodraeth yn un foesol.——Y mae cyfyngu effeithiolrwydd yr iawn i achub, i anghreifftiau gweithredol ei lwyddiant, yn annghymhwys.——Nid ydych yn mesur rhinwedd meddyglyn wrth nifer y personau y mae yn iachâu; ac nid ydych yn cyfyngu gallu Crist i wneyd gwyrthiau, i'r nifer a wnaeth: gwyddoch ei fod wedi ei rwystro i wneuthur rhai gwyrthiau gan annghrediniaeth y bobl. Felly, trwy gystadl ymresymiad, nid yw effeithiolrwydd yr iawn i'w fesur wrth nifer y rhai a gedwir."†

*Preg.* Y mae yr ymresymiad yn ymddangos yn o dêg; ond yr wyf yn meddwl fod drwg yn ei wreiddyn. Y mae yn wir y gallasai Duw fwriadu creu, ac, o ganlyniad, greu nifer mwy neu lai o fydoedd nag a greodd; ac y mae cyn wired a hyny y gallasai fwriadu achub, ac, o ganlyniad, achub nifer mwy neu lai nag a achubir. Ond, a allasai Duw greu nifer mwy neu lai o fydoedd nag a fwriadasai eu creu? Neu a ddichon iddo achub llai o nifer nag y bwriadodd yr iawn i fod yn iachawdwriaeth iddynt? Byddai ateb yn gadarnhaol cystal a phriodoli cyfnewidiolrwydd i fwriadau Duw; ond os yn nacaol yr atebir, yna rhaid yr achubir holl wrthddrychau'r iawn. Nid am allu, digonolrwydd, nac effeithiolrwydd yr iawn, y mae'r ddadl, ond am y

† Gwel Jenkyn on the At. tudal. 438-9.

bwriad yn mherthynas iddo. Felly y mae'r dyfyniad dan sylw o waith Mr. J. yn cynwys y twyll-ymresymiad a elwir *camgymeryd y cwestiwn.*

*Gwran.* Ond nid yw Mr. J. yn meddwl, mai nifer bychan a fydd yn gadwedig; ond y bydd llawer mwy yn y diwedd ar y ddeheulaw nag ar yr aswy.

*Preg.* Nid yw hyna eto yn newid dim ar egwyddor y peth; oblegid os gall dyben yr iawn fethu gyda rhai o'i wrthddrychau, pam na allai fethu gyda llawer? ac os gall fethu gyda llawer, pam na allai fethu yn hollol?

Ond wrth ymadael am y tro presenol, cofiwch bedwar peth:

1. Fod y system sydd yn myntumio fod yr iawn yn foddion i ddwyn eu holl drueni tymhorol a thragwyddol ar y rhai na chlywsant erioed air o son am dano, a hyny er fod Duw wedi bwriadu'r peth i fod yn iachawdwriaeth iddynt, yn wrthun ac anysgrythyrol.

2. Fod holl fwriadau Duw am bob peth, pa un bynag ai tymhorol ai ysbrydol, yn sicr o gael eu cyflawni i'r manylder mwyaf: fod yr iawn wedi ei fwriadu i fod yn iachawdwriaeth i'r sawl y bu Crist farw drostynt: ac, o ganlyniad, y rhaid fod iachawdwriaeth holl wrthddrychau marwolaeth Crist yn beth sicr.

3. Gan nas meddai neb hawl i ofyn i Dduw ddarparu iawn, ond mai ei ddawn, neu ei rodd annhraethol ydyw; nad oes dim derbyn wyneb nac annghyfiawnder yn y peth, er mai rhai, ac nad pawb, a ddewiswyd yn wrthddrychau o hono.

4. Er nad ydyw gallu y Creawdwr i'w gystadlu â nifer y bydoedd a greodd, ac nad ydyw haeddiant yr iawn i'w fesur wrth nifer y sawl a gedwir; eto, y byddai dyweyd y gallai Duw greu mwy o fydoedd nag a fwriadasai; neu y dichon iddo achub mwy o bersonau nag a fwriadodd; neu y gall rhai ag y bwriadwyd yr iawn i fod yn iachawdwriaeth iddynt, fod yn ol yn y diwedd; byddai dywedyd y pethau hyn, meddaf, yn gystal a phriodoli cyfnewidioldeb a somiant i "Dad y goleuni, gyda'r hwn nid oes gyfnewidiad, na chysgod tröedigaeth."

*Gwran.* Pa bryd y caf eich gweled eto?

*Preg.* Y mae cyfarfod y Gymdeithas Ddirwestol i fod nos Fercher y'nghapel Ebenezer; ac yr wyf wedi addaw, os byw ac iach, fyned yno; efallai y deuwch gyda mi, ac yna cawn hamdden, wrth fyned a dyfod, i ymddyddan

am unrhyw fater a all fod ar ein meddyliau. Da bo chwi yrŵan.

*Gwran.* Da bo chwi. Cofiwch alw wrth basió, nos Fercher.

*Preg.* Purion.

---

## YMDDYDDAN XVI.

---

### RHAN I.

#### CYFLWR ACHUBADWY AC ACHUBEDIG.

*Pregethwr.* A ydyw fy nghyfaill am y cyfarfod Dirwestol heno?

*Gwrandawr.* Ydwyf, ond cael fy nghôt am danaf, a'm ffon yn fy llaw.

*Preg.* Y mae'n noswaith hyfryd:—ond gwell i ni gymeryd rhyw fater buddiol i ymddyddan am dano; a pheidio dechreu rhyw siared ar draws ac ar hyd.

*Gwran.* Yr wyf newydd roddi darlleniad ffres i bregeth y Parch. W. Rees, ar yr "Ysbryd a'r Briodasferch." Yn tudal. 12, y mae un dywediad ag sydd yn union at fy mhwrpas i. Dyma fo; "Dwyn y byd i gyflwr achubadwy oedd gwaith Crist, ond dwyn y byd i gyflwr achubedig yw gwaith yr Ysbryd."

*Preg.* Pe caniatâi'r Ffwleriaid, yn gytunol â'r geiriau yna o eiddo Mr. W. R., mai y bŷd ag a ddygir i gyflwr achubedig gan yr Ysbryd, ydyw y byd a ddygwyd i gyflwr achubadwy gan Grist, byddai y ddadl am wrthddrychau yr iawn ar ben. Ond pa beth ydych yn feddwl wrth gyflwr achubadwy, a chyflwr cadwadwy?

*Gwran.* Cyflwr o bosibilrwydd i fod yn gadwedig.

*Preg.* Wel, os ydych yn meddwl fod dynion wedi eu dwyn drwy'r iawn i gyflwr ag y gallant achub eu hunain, neu achub eu gilydd, ni welaf ddim gwahaniaeth rhwng eich barn am allu dyn, ac eiddo'r Arminiaid. Ond os ydych yn meddwl mai dyben yr iawn oedd dwyn dynion i gyflwr o bosibilrwydd i Dduw eu hachub, yr ydych yn gwneyd gwaith Crist yn beth heb ei eisiau. Y mae dyfodiad Crist i achub dynion, yn rhagdybied fod dynion yn achubadwy o'r blaen; pe amgen, ofer fuasai gwneyd dim tuag at eu hachub. Felly, gan fod dynion, wrth natur, mewn cyflwr o bosibilrwydd i Dduw eu hachub;

os na wnaeth Crist ond dwyn dynion i gyflwr achubadwy, ni wnaeth ond megys eu gadael yn yr un fan; achubadwy oeddynt o'r blaen, nid ydynt ond achubadwy eto. Felly, beth bynag yw'r meddwl, y mae'r *term*, "*cyflwr achubadwy* a *chadwadwy*," yn ymddangos i mi, o leiaf, yn anhapus.

*Gwran*. Wrth ddwyn dynion i gyflwr achubadwy neu gadwadwy, yr ydys yn meddwl, fod Crist wedi gwneyd peth ag na allesid cadw hebddo, ond y gellir cadw drwyddo.

*Preg*. Felly, ni wna maddeuant a santeiddhad ddim ond dwyn dyn i gyflwr cadwadwy; canys ni ellir cadw hebddynt, ond gellir cadw drwyddynt; ac felly, cyflwr cadwadwy yw y tir pellaf a all Cristion byth ei gyrhaeddyd.

*Gwran*. Y mae maddeuant a santeiddhad yn sicrhau cadwedigaeth eu gwrthddrychau; ond dwyn cadwedigaeth i bosibilrwydd yn unig a wnaeth yr iawn.

*Preg*. Y cwbl a wna maddeuant yw symud y pechodau a gyflawnwyd oddiar y ffordd; a'r cwbl a wna santeiddhad yw glanhau dyn oddiwrth yr halogrwydd a gafodd. Y mae maddeuant a santeiddhad yn gosod dynion megys ar yr un tir a phe buasent heb bechu erioed; ond nid ydyw hyny, ynddo ei hun, yn sicrhau na allant syrthio drachefn i bechod a thrueni, fel y syrthiodd ein rhieni cyntaf. Felly, os nad ydyw'r iawn yn sicrhau cadwedigaeth dragwyddol dynion, nis gwn paham na allai y saint syrthio oddiwrth ras cyn eu marw, neu o ddedwyddwch wedi eu myned i'r nef. Ymddengys i mi na all Ffwleriaeth gydsefyll â'r athrawiaeth o barhad mewn gras.

*Gwran*. Onid yw y cyfammod, yr addewidion, a'r eiriolaeth, yn ddigon o sicrwydd am gadwedigaeth yr etholedigion, ac am barhad y saint mewn gras?

*Preg*. Yr un peth yw dyweyd mai cyfammod, addewidion, ac eiriolaeth, sydd yn sicrhau cadwedigaeth yr etholedigion, a dyweyd mai'r iawn sydd yn gwneyd hyny; oblegid mai ar yr iawn y mae yr holl bethau hyn yn dibynu. Felly nid ydyw eich cyfaddefiad ddim amgen na ffordd gwmpasog o ildio'r pwynt.

*Gwran*. Addefwn fod yr iawn yn sicrhau cadwedigaeth y sawl a gredo; ond peth arall yw dyweyd ei fod yn sicrhau dygiad rhai, mwy nag ereill, i gredu.

*Preg.* Os felly, nid dwyn dynion i gyflwr achubadwy, yn unig, oedd gwaith Crist (fel yr hòna Mr. W. R.); ond gwnaeth gadwedigaeth y sawl a gredo, yn beth sicr. Y mae'n wir mai dau beth yw dwyn dynion i gredu, a chadw y neb a gredo; ond os addawyd y ddau i Grist, yn y cyfammod, y mae gwaith Crist yn cyflawni ammodau y cyfammod hwnw, yn sicrhau y naill fel y llall. Ac felly, y mae yr iawn wedi gwneyd iachawdwriaeth y rhai a roddwyd i Grist, nid yn beth posibl, ond yn beth sicr.

*Gwran.* Y mae digon yn yr iachawdwriaeth i achub pawb, pe credai pawb; ond ni ellir achub neb heb fod iawn wedi ei roddi drosto: gan hyny, rhaid fod iawn wedi ei roddi dros bawb.

*Preg.* Y mae digon yn yr iachawdwriaeth, mae'n wir, i achub pawb, pe credai pawb; ond ni ellir achub neb, heb ei fod wedi ei ethol: gan hyny, (yn ol eich ymresymiad chwi,) rhaid fod pawb wedi eu hethol.

*Gwran.* Pe credai holl ddynolryw, byddai hyny yn brawf eu bod wedi eu hethol.

*Preg.* Byddai, siwr; ac yn brawf hefyd fod Crist wedi marw drostynt. A phan geir allan fod pawb yn credu, ac nid cyn hyny, goeliaf fi, y credaf fi'r athrawiaeth o iawn cyffredinol.

*Gwran.* Rhaid fod fy ymresymiad yn gywir neu'n dwyllodrus: os ydyw gywir, y mae yn ddigon i ddadymchwelyd eich holl gyfundraith chwi; ond os ydyw'n dwyllodrus, y'mha le, attolwg, y mae'r twyll?

*Preg.* Nid ydyw eich casgliad yn gorwedd yn dêg ar eich dau osodiad. Os oes digon yn yr iachawdwriaeth i achub pawb *pe credai pawb*, ac na ellir achub neb heb fod iawn wedi ei roddi drosto; y canlyniad yw, nid fod iawn wedi ei roddi dros bawb, ond fod iawn wedi ei roddi dros bawb *os cred* (*neu pe credai*) *pawb*. Gan fod y prif osodiad yn ammodol, rhaid i'r casgliad hefyd fod yn ammodol: felly, yn ol yr ymresymiad yna, y credinwyr yw gwrthddrychau'r iawn. Ond i roddi pen ar y siarad nes y delom o'r capel, cofiwch, yn 1af. Yr wyf yn cydsynio â chwi, fod yr efengyl yn gosod pawb a'i clywo, mewn cyflwr gobeithiol. 2il. Mai ei eglwys yw unig wrthddrychau marwolaeth Crist. Yr wyf yn credu y ddau beth yna, am na ellir, i'm tyb i, eu gwadu heb wadu'r beibl: ond, yn 3ydd. *Pa fodd* y maent yn gyson â'u gilydd, nid wyf yn proffesu

gwybod. 4ydd. Eto, ni ddywedais, ac nid wyf yn dywedyd chwaith, "fod yn rhyfyg i neb arall geisio gwybod."

---

## RHAN II.

### CYSYLLTIAD YR IAWN A GALWAD YR EFENGYL.

*Gwran.* [*Wrth gychwyn tuag adref.*] Onid yw'r sefydliadau cenadol yn cymeryd yn ganiataol, fod Crist wedi marw dros yr holl baganiaid? Canys pa les yw pregethu i rai na bu Crist farw drostynt?

*Preg.* Pan y mae cenadwr yn myned i blith paganiaid, a Duw yn ei lwyddo; y mae hyny yn brawf fod yno rai ag y bu Crist farw drostynt.

*Gwran.* Felly, pe buasai'r cenadwr heb fyned yno, &c., ni buasai Crist wedi marw drostynt: ac felly, gwaith y cenadwr yn myned, neu'n peidio myned, i'r lle, sydd yn peri fod, neu nad ydyw, Crist wedi marw dros ryw nifer o'r trigolion.

*Preg.* Pe caniateid y dull yna o ymresymu, sef dywedyd na buasai Crist farw dros rai, pe na chawsent yr efengyl, a phe na chredasent; neu y buasai wedi marw dros ereill, pe buasai efengyl yn llwyddiannus iddynt; eto, nid ydyw'n canlyn, mai mynediad efengyl i blith y naill, a barodd fod Crist wedi marw drostynt; na chwaith mai amddifadrwydd y lleill o efengyl, a barodd na bu Crist farw drostynt hwythau. Nid peri, ond dangos, y mae llwyddiant yr efengyl, fod Crist wedi marw dros rai; ac nid peri, ond dangos, y mae aflwyddiant, neu amddifadrwydd o efengyl, na bu farw dros ereill,

Pan ydys yn dadlu yr *effaith* oddiwrth yr *achos*, yr hyn a elwir yn *argument a priori*, ystyrir fod yr achos nid yn unig yn *profi*, ond hefyd yn *peri*, yr effaith: pan ydym yn dadlu yr achubir yr etholedigion, oblegid fod Crist wedi marw drostynt, yr ydym yn golygu fod marwolaeth Crist, nid yn unig yn *profi*, ond hefyd yn *peri*, eu hachubiaeth. Ond pan ydys yn dadlu yr *achos* oddiwrth yr *effaith*, yr hyn a elwir yn *argument a posteriori*, nid ystyrir fod yr effaith yn *peri*, ond yn unig yn *profi'r* achos: felly, pan ydym yn dyweyd fod Crist wedi marw dros rai, oblegid fod yr efengyl wedi llwyddo i'w hachub, nid ydym yn meddwl fod llwyddiant yr efengyl yn *peri*, ond yn unig yn *profi*, *neu yn dangos*, ei fod wedi marw drostynt.

*Gwran.* Onid ydyw y cenadon yn pregethu i'r paganiaid, fod Crist wedi marw dros bob un o honynt?

*Preg.* Nid wyf yn deall fod un warant apostolaidd i'w chael i'r fath bregethu.

*Gwran.* Wel, onid oes perygl, yn ol eich system chwi, i ddynion geisio iachawdwriaeth trwy'r iawn, rhag eu cael yn gwrthryfela yn erbyn Duw, trwy geisio peth na fwriadwyd iddynt?

*Preg.* Pe buasai Duw wedi dangos ei fwriadau tragwyddol, a rhoddi rhei'ny yn rheol i'n hymddygiadau ni, buasai yn wrthryfel i ni geisio dim heb wybod ei fod wedi ei fwriadu i ni. Ond gan fod yr arfaeth yn llyfr seliedig i ni, a bod y beibl wedi ei roddi yn rheol i'n holl ymddygiadau, ein dyledswydd yw credu fod yr arfaeth yr hyn y tystia'r beibl ei bod; a chredu tystiolaeth yr un beibl, fod cyflawn groeso i ni fel pechaduriaid, (ac nid fel etholedigion,) i ddefnyddio'r iachawdwriaeth: a thra gwnelom felly, nid oes dim perygl y rhoddir i'n herbyn, fod yn ymyraeth â'r hyn na pherthyn i ni. Ie, y mae ein gwaith yn ymwneyd â'r peth, yn llwybr y beibl, yn profi mai i ni y mae yn perthyn.

*Gwran.* Fe ddylai pawb gredu, gan fod yr efengyl yn galw ar bawb i hyny.

*Preg.* Siwr iawn: ond er darllen yr holl ysgrythyrau a ddyfyna Mr. J. er dangos y dylai pob dyn gredu fod Crist wedi marw drosto ef yn bersonol, ni welaf fod yr un o honynt yn profi'r fath beth.

*Gwran.* Wel, y mae Paul yn dyweyd, "Yr hwn a'm carodd, ac a'i dodes ei hun drosof fi." Gal. ii. 20. Oni ddylai pawb gredu a dywedyd hyny am danynt eu hunain?

*Preg.* Y mae Paul, yn yr un adnod, yn dyweyd, "Mi a groeshoeliwyd gyda Christ, eithr byw ydwyf; eto, nid myfi, ond Crist sydd yn byw ynof fi: a'r hyn yr ydwyf yn ei fyw yr awr hon yn y cnawd, ei fyw yr ydwyf trwy ffydd Mab Duw." Yn awr, os ydyw fod Paul yn dyweyd un o'r pethau hyn am dano ei hun, yn brawf y dylai pob dyn gredu a dywedyd felly am dano ei hun; onid yw fod Paul yn dywedyd y pethau ereill, yn brawf y dylai pob dyn gredu y rhei'ny hefyd, a'u dywedyd am dano ei hunan? Fel hyny, dylai pob dyn gredu "ei fod wedi ei groeshoelio gyda Christ—fod Crist yn byw ynddo—a'i fod yntau yn byw trwy ffydd Mab Duw." Os nad yw Mr. J. yn barod i sefyll at yr holl bethau yna, y mae, wrth ddefnyddio yr

adnod dan sylw i brofi ei bwnc, yn saethu dros ben ei farc. Awgryma Mr. J. yn fynych, fod rhywrai yn gwrthod, neu yn darnio ysgrythyrau, oblegid eu hymlyniad wrth ryw system neu gredo o'r eiddynt eu hunain: ond y mae lle i ofni ei fod, wrth gyhuddo ereill, yn condemnio ei hun.

*Gwran.* Pa beth, attolwg, a gredwn ni?

*Preg.* Pob peth a ddywed y beibl. Pe dywedasai'r beibl fod Crist wedi marw drosof fi yn bersonol, dylaswn inau gredu hyny: ond gan nad yw yn dyweyd y fath beth, ni ddylwn inau gredu'r fath beth, nes profi fod ynof nodau y sawl y dywed y beibl i Grist farw drostynt. Dylwn gredu "na chollir pwy bynag a gredo ynddo ef," ac "y derbyn pwy bynag a gredo ynddo ef, faddeuant pechodau trwy ei enw ef." A phan byddwyf yn siwr fy mod yn credu y pethau yna, dylwn gredu hefyd fy mod i, yn bersonol, yn derbyn maddeuant, ac na chollir mo honof; ïe, fy mod wedi fy ethol, a bod Crist wedi marw drosof. Pan allaf ddywedyd fy mod "yn byw trwy ffydd Mab Duw;" gallaf ddywedyd hefyd, "Yr hwn a'm carodd, ac a'i dodes ei hun drosof fi."

*Gwran.* "Dylynwch wrthodwr efengyl, wedi ei gondemnio i'r tân tragwyddol, (medd Mr. J. yn tudal. 368.) * * * Ni ddianc y fath olygiadau oddiar ei gydwybod ddeffröedig, a hyn; * * * Pe buaswn yn credu ei fod ef yn waredwr i mi, buaswn yn credu yr hyn sy'n awr yn cael ei brofi yn anwiredd: eto, dyma fi mewn poenau am na chredais yr hyn y mae'r diwedd yn ei brofi yn hollol anwiredd. Na, na: iaith y pechadur fydd, 'Mi a ddinystriais fy hun.'"

*Preg.* Y mae'r siarad yna, gan un sydd yn addef etholedigaeth, yn ymddangos i mi yn anweddaidd iawn, yn wir; oblegid os oes grym yn y fflangell, rhaid i Mr. J. ei deimlo wrth ddal etholedigaeth bersonol, yn gystal a ninau wrth ddal iawn neillduol: canys ni ddianc chwaith oddiar gydwybod ddeffröedig y pechadur, y fath olygiad a hyn— Pe credaswn fod y Tad wedi fy ethol, buaswn yn credu yr hyn nad yw wir: ac eto, dyma fi mewn poenau, am na chredais yr hyn y mae'r diwedd yn ei brofi yn anwiredd." Na, na: iaith y pechadur fydd, "Mi a ddinystriais fy hun." Nid fod y Tad heb ei ethol, neu fod Crist heb wneyd iawn trosto, fydd gan yr annghredadyn i feio arno yn y farn; ond ei waith ei hun yn esgeuluso iachawdwriaeth. Os ydyw dysgrifiad Mr. J. o iaith gwrthodwr efengyl, yn

profi fod Crist wedi marw drosto, prawf, hefyd, fod y Tad wedi ei ethol: neu os nad ydyw yn profi fod y Tad wedi ei ethol, nis gall brofi, chwaith, fod Crist wedi marw drosto.

*Gwran.* 'Rhoswch chwi. Nid yw Mr. J. yn dal y dylai pob dyn gredu ei fod wedi ei ethol; nac y demnir neb am beidio credu hyny.

*Preg.* Nid ydyw y Calfinistiaid, chwaith, yn dal y dylai pob dyn gredu fod Crist wedi marw drosto, nac y demnir neb am beidio credu hyny. Peidied Mr. J. â chymeryd yn ganiataol yr hyn ni chaniatâ ei wrthbleidwyr, ac y mae ei ymresymiad yn colli ei holl awch.

*Gwran.* Pa fodd y gall dynion esgeuluso iachawdwriaeth, os na fwriadwyd yr iachawdwriaeth iddynt erioed?

*Preg.* Ein dyledswydd yw credu geiriau Duw, pe na byddai un fantais yn dyfod i ni o hyny, a'n pechod yw annghredu. Ond pan y mae'r efengyl yn dangos fod bywyd tragwyddol wedi ei gysylltu â chredu, y mae annghredu, nid yn unig yn bechod yn erbyn Duw, ond hefyd yn esgeulusdra o'n hiachawdwriaeth ein hunain. Bod Duw yn llefaru, ac nid bod iachawdwriaeth yn gysylltiedig â chredu, yw sail dyledswydd dyn i gredu; o ganlyniad, y mae'r sawl sydd yn annghredu geiriau Duw, yn esgeuluso eu dyledswydd, er na bo yr iachawdwriaeth wedi ei bwriadu iddynt hwy yn bersonol; ond eto, gan fod iachawdwriaeth wedi ei chysylltu â chredu, ni ellir peidio credu, heb esgeuluso iachawdwriaeth.

Fel y mae iachawdwriaeth wedi ei bwriadu i ddyn gan Dduw, y mae'n sicr o gael ei chymhwyso, ac ni all y dyn hwnw fod, yn y diwedd, yn esgeuluswr o honi, fel ag i somi bwriadau Duw. Ond fel y mae iachawdwriaeth wedi ei chysylltu â chredu, y mae'r annghredadyn yn ei hesgeuluso, trwy esgeuluso y ddyledswydd o gredu. Y mae'n wir mai i'r rhai a fyddant ar ddeheulaw'r Barnwr "y parotöwyd y deyrnas er seiliad y byd:" eto, nid ydyw bwriadau Duw mewn perthynas i'r iachawdwriaeth a'i gwrthddrychau, yn gwneyd credu yn llai dyledswydd, nac annghredu yn llai esgeulusdra; oblegid, fel y dywedais o'r blaen, nad arfaeth Duw yw rheol dyledswydd dyn. Ond y mae fod bywyd tragwyddol wedi ei gysylltu â chredu, a bod hyny wedi ei ddatguddio yn yr efengyl, yn gosod pwys ychwanegol ar y ddyledswydd, ac yn gwneyd yr esgeulusdra o gymaint a hyny yn waeth.

*Gwran.* Geilw yr efengyl ar ddynion, gyda thaerineb,

i ddyfod i'r dyfroedd—at Grist, &c.; ond os nad yw y dyfroedd wedi eu bwriadu, a'r iawn wedi ei ddarparu, i bawb; pa fodd y gall y gwahoddiad fod yn ddidwyll?

*Preg.* Pe iawn ystyrid beth yw dyfod "i'r dyfroedd, ac at Grist," yr wyf yn meddwl na byddai cymaint o anhawsder yn y cwestiwn yna, ag a dybia llawer. Dyfod i'r dyfroedd—ac at Grist—neu dderbyn Crist, yw credu tystiolaeth Duw am ei Fab. Yn awr, y mae bod yn ddyledswydd ar ddyn gredu, yn ddigon o reswm i'w alw at y peth; gan hyny, ni byddai dim twyll yn yr alwad, pe na byddai un fantais yn gysylltiedig â'r hyn y gelwir dynion ato: ond y mae bod bywyd y'nglŷn â chredu, yn annogaeth ychwanegol i'r peth. Y mae bod dyn yn esgeuluso'r ddyledswydd o gredu, yn dangos annuwioldeb mawr: ond y mae ei fod yn ei hesgeuluso y'ngwyneb y fath annogaeth i'w chyflawni, yn dangos annuwioldeb mwy. Gallwn ddyweyd wrth ein gwrandawyr, "Deuwch, y mae yn ddyledswydd arnoch ddyfod:" ond, "O deuwch, y mae bywyd tragwyddol y'nglŷn â dyfod." Deuwch, yr ydych yn esgeuluso eich dyledswydd wrth beidio dyfod:—O deuwch, yr ydych yn esgeuluso iachawdwriaeth, hefyd, wrth beidio dyfod. Cred; ti ddylit gredu gair Duw, pe na bai un fantais y'nglŷn â hyny: ond, O "cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi."*

*Gwran.* Ond pe bawn yn dyfod, os na fwriadwyd y dyfroedd i mi, ni chawn i ddafn gwed'yn.

*Preg.* Rhowch gynyg; ac os cewch eich gwrthod, mi roddaf y pwnc i fyny am byth. Ni chafodd neb erioed wybod y bwriadau tragwyddol am dano ei hun, cyn credu; ond eto, bydd yn amlwg, yn y diwedd, fod yr etholedigaeth a'r prynedigaeth wedi cael eu holl wrthddrychau.

Bellach, rhaid i ni ganu Nos da: ond cofiwch dri pheth.

1. Y mae'r efengyl "yn gorchymyn i bob dyn, y'mhob man, edifarhau." Ac y mae yn rhaid i'w gweinidogion wahodd eu holl wrandawyr i ddyfod at Grist, sef i dderbyn Crist trwy gredu ynddo; ac ni feddant un warant ysgrythyrol i ddim yn amgen.

2. Pe na ellid dangos y cysondeb o wahodd pawb i ddefnyddio iachawdwriaeth na fwriadwyd ond i rai, y mae gorchymyn Crist i fyned i'r holl fyd, a phregethu'r efengyl i bob creadur, yn ddigon o sail i alwad cyffredinol yr efengyl, ac nid oes eisiau un warant arall i'r peth.

* Gwel Attodiad, Llythyr ii.

3. Ond, gan nad yw'r efengyl yn galw dyn i wneyd dim ond ei ddyledswydd, nid oes dim yn fwy cymhwys a chyson, na'i gymhell ati; ïe, pe na buasai un fantais yn dyfod byth o hyny: ond gan fod cadwedigaeth yn anwahanol gysylltiedig â'r hyn y gelwir ato, y mae'r annogaeth yn grefach i ufyddhau, y pechod o anufyddhau o gymaint a hyny yn fwy, a'i gosp yn drymach.

Os nad ydyw yn rhy hwyr, gadewch i ni ganu cyn ymadael.

"Deuwch, hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil fawr o hedd;
Galwad llawn sy'i bawb o'r enw,
I fwynhau tragwyddol wledd:
Bwrdd yn llawn, yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnawn."

## YMDDYDDAN XVII.

### YR HOLL FYD—PAWB—YR EGLWYS—Y DEFAID, &c., YN WRTHDDRYCHAU'R IAWN.

*Pregethwr*. A ydych yn dyfod i'r gymanfa heddyw?

*Gwrandawr*. Ydw' siwr, a bydd yn dda iawn genyf gael eich cwmni, canys y mae genyf lawer o bethau i'w siarad efo chwi.

*Preg*. Purion. Gadewch i ni ddechreu, ynte, ar rywbeth.

*Gwran*. Ar ol swper, neithiwyr, dygwyddais edrych i lyfr Jenkyn, a chanfod yno rywbeth tebyg i hyn, "Ni allasai system foesol y bydysawd, wedi dyfodiad pechod, ateb dyben ei chreadigaeth, heb ei hadgyweirio, a'i hadferu. Y mae'r adferiad hwn, gan hyny, yn gwneyd i fyny un o'i nodweddiadau, ac y mae yn ymddangos mor hanfodol iddi, ag ydyw ei helfenau deallol a chyfrifol. Ni ddatguddiwyd un ffordd i'w hadferu a'i hadgyweirio, ond trwy Gyfryngwr; a chan mai ei hadferiad, yn unig, sydd yn sicrhau dyben ei chreadigaeth, ac mai trwy Gyfryngwr yn unig y gallai hyny gael ei ddwyn o amgylch, y mae cyfryngaeth yn hanfodol i'r system. Yr un mor afresymol yw gofyn, pa beth a ddaethai o'r bydysawd moesol, pe na buasai iawn yn cael ei apwyntio, a gofyn, pa beth a ddaethai o'r bydysawd defnyddiol, pe na buasai egwyddor dysgyrchiant (*gravitation*) yn cael ei hapwyntio. Y mae holl weithrediadau y bydysawd

moesol yn cymeryd y cyfansoddiad cyfryngol yn ganiataol, yn gymhwys yr un modd ag y mae y greadigaeth anianyddol yn tybied dysgyrchiant."†

*Preg.* Y mae yn amlwg wrth hŷna, fod yr awdwr yn golygu na allasai Duw ddim llywodraethu ei greaduriaid, wedi dyfodiad pechod, heb ddarparu iawn: neu, o leiaf, y buasai y llywodraeth foesol yn myned mor annhrefnus heb iawn, ag a fuasai y greadigaeth ddefnyddiol heb *gravitation.* Onid yw hyn yn gwneyd yr iawn yn fesur o angenrheidrwydd, yn hytrach nag yn fesur o ras? Yn ol y system hon, yr oedd cwymp yr angelion yn gosod angenrheidrwydd ar Dduw, fel Llywydd moesol, i ddarparu iawn, pe na buasai dyn wedi syrthio! Ie, os "na allasai system foesol y bydysawd, wedi dyfodiad pechod, ateb dyben ei chreadigaeth, heb ei hadferu" trwy iawn; yna, pe na buasai pechaduriaid yn bod, heblaw cythreuliaid, buasai angenrheidrwydd i'r rhei'ny gael eu hadferyd, ac i Dduw ddarparu iawn i'r dyben hŷny, neu gael ei somi yn ei amcan wrth eu creu!! Mewn difrif, ai nid yw hŷna yn terfynu yn hynod o agos i gabledd?

Gallaf anturio dywedyd, heb ofni cael fy ngwrthwynebu gan feibl na rheswm, pe buasai miloedd a myrddiynau o wrthryfelwyr, am bob un ag sydd, y gallasai Duw eu llywodraethu yn berffaith hawdd, heb eu hadferu o'u trueni, na darparu iawn ar eu cyfer. Gallasai yr Hwn a breswylia yn y nefoedd, chwerthin; a'r Arglwydd eu gwatwar hwynt, a'u dyfetha o'r ffordd, pan gyneuai ei lid ef, ïe, ond ychydig. Ond o'i ras penarglwyddol, yn unig, bwriadodd achub "tyrfa fawr, yr hon ni ddichon neb ei rhifo," o blith dynion; ac i'r dyben hyny, rhoddes ei Fab i fod yn iawn.

"Diolch iddo, diolch iddo, byth am gofio llwch y llawr."

*Gwran.* Yn wirionedd, braidd na feddyliwn inau fod Mr. J. wedi myned yn o bell, wrth geisio dwyn yr holl fydysawd i mewn fel gwrthddrychau yr iawn. Ond y mae'r beibl yn dyweyd, fod Crist wedi "marw dros bawb," —a "phrofi marwolaeth dros bob dyn;" ac yr ydych chwithau yn haeru, mai tros yr etholedigion, yn unig, y bu farw.

*Preg.* Os ydyw y geiriau *pawb*, *pob dyn*, *yr holl fyd*,

† Gwel Jenkyn on the At. tudal. 101, 102.

&c., yn cael eu harferyd mewn ystyr cyfyngol, weithiau, yn y Testament Newydd, fe ddichon eu bod felly pan eu harferir am wrthddrychau marwolaeth Crist; ac felly, rhaid cael rhywbeth heblaw fod y geiriau yna yn cael eu harferyd, cyn y profir fod holl ddynolryw yn wrthddrychau'r iawn.

*Gwran.* Wel, a ydych yn sicr fod y geiriau yna yn cael eu harferyd mewn ystyr cyfyngol yn y beibl?

*Preg.* Dywedir fyned gorchymyn allan oddiwrth Augustus Cæsar, i drethu yr holl fyd, pan oedd llawer o'r byd allan o gyraedd y trethiad hwnw;—fod pob dyn yn ymwthio i deyrnas nefoedd, pan nad oedd ond ychydig wedi clywed son am dani;—a bod y byd yn myned ar ol yr Iesu, pan nad oedd ond nifer bychan o'r byd yn gwybod dim am dano. Luc ii. 1; a xvi. 16; Ioan xii. 19. Gallaswn enwi lluaws ychwaneg o ysgrythyrau, lle y mae'n amlwg fod y geiriau mwyaf cyffredinol yn cael eu harferyd mewn ystyr cyfyngol. Felly, nid yw fod y geiriau yna yn cael eu harferyd am wrthddrychau marwolaeth Crist, ddim yn profi fod Crist wedi marw dros holl ddynolryw, mwy nag y mae eu harferiad yn profi fod Cæsar wedi trethu holl ddynolryw—fod holl ddynolryw yn ymwthio i deyrnas nefoedd—neu fod holl ddynolryw yn myned ar ol Iesu.

Yn awr, gofynaf, paham y dywedir i Grist roddi ei einioes dros y *defaid*—dros ei *gyfeillion*—a thros ei *eglwys*, os nad oedd ei ddefaid, ei gyfeillion, a'i eglwys, yn wrthddrychau ei farwolaeth, mwy nag ereill.

*Gwran.* Wele, os bu farw dros holl ddynolryw, rhaid y bu farw dros ei eglwys, canys y mae'r eglwys yn rhan o ddynolryw; ac y mae'r cwbl, bob amser, yn cynwys ei holl ranau.

*Preg.* Ond pam yr enwir yr eglwys, fel gwrthddrych neillduol ei farwolaeth ef, os nad oedd y peth yn perthyn dim mwy iddi hi nag i ereill?

*Gwran.* Dywed Mr. J. "fod y manau lle sonir am y defaid a'r eglwys, fel gwrthddrychau marwolaeth Crist, yn cyfeirio yn benaf, at ganlyniadau gweithredol ei farwolaeth, ac nid at ei dyben a'i hamcan."‡

*Preg.* Rhag cywilydd, gadewch i ni beidio â gadael geiriad yr ysgrythyrau yn beth hollol ddisylw. Y mae canlyniad gweithredol yr iawn, sef dwyn dynion i'w

‡ Gwel Jenkyn on the At. tudal. 356.

ddefnyddio, yn perthyn, yn ol trefn y cyfammod, yn hytrach i'r Ysbryd Glân, nag i'r Mab: ond y mae yr Ysgrythyrau dan sylw yn cyfeirio yn uniongyrchol at waith y Mab. "Y gwŷr, cerwch eich gwragedd, megys y carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti; fel y santeiddiai efe hi." Eph. v. 25, 26. Os at ganlyniad gweithredol, ac nad at ddyben yr iawn, y cyfeiria'r testyn hwn, buasai yn fwy dealladwy fel hyn, Y gwŷr cerwch eich gwragedd, megys y carodd Crist yr eglwys, *ac a'i santeiddiodd, trwy yr iawn a roddasai dros holl ddynolryw*. Ond rhyw bethau anhyblyg iawn yw adnodau'r beibl, ni phlygant hwy drwch blewyn at system neb. "Ac a'i rhoddes ei hun drosti, fel y santeiddiai efe hi." Beth yw meddwl y gair "fel y santeiddiai efe hi," os nad i'r dyben, neu o amcan a bwriad, i'w santeiddio? Golyga'r geiriau fod santeiddio yr eglwys, nid yn unig yn ganlyniad, ond hefyd yn ddyben rhoddiad yr iawn. Felly rhaid y santeiddir yr eglwys, sef pawb ag y rhoddes Crist ei hun drostynt, neu bydd yr iawn heb ateb ei ddyben.

Drachefn, "Yr wyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid." Ioan x. 11. Nid, yr wyf yn dwyn y defaid i gaffael iachawdwriaeth, drwy roddi fy einioes dros holl ddynolryw; ond "yr wyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid." Pa feddylddrych a garia'r geiriau, ond fod y defaid wedi myned yn agored, neu'n rhwym i'w lladd, a bod y Bugail yn marw yn *eu lle*, i'r dyben i'w gwaredu? Felly, chwi a welwch mai at y dyben y mae'r geiriau yn cyfeirio, yn uniongyrchol.

Ond yr wyf heb orphen efo'r adnod, "Y gwŷr, cerwch eich gwragedd, megys y carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti." Os nad oedd gwaith Crist yn caru, ac yn rhoddi ei hun dros yr eglwys, yn beth i'r eglwys *yn unig*, y mae yn anhawdd gweled pa synwyr oedd i'r apostol godi'r peth, fel esiampl i ymddygiadau gwŷr tuag at eu gwragedd. Os eiddo y wraig yn unig yw cariad ei gŵr *fel gŵr*, y mae'r apostol, wrth godi gwaith Crist yn rhoddi ei hun dros ei eglwys, fel esiampl i'r peth, yn dangos yn ddigon amlwg, mai tros yr eglwys *yn unig* y rhoddes yntau ei hun. I'w wraig yn unig y mae y gŵr i'w roddi ei hun; felly, dros ei eglwys *yn unig* y rhoddes Crist ei hun.

*Gwran.* Os tros yr etholedigion, yn unig, y bu Crist

farw, pam yr arferir y fath eiriau cyffredinol, megys, *pawb*, *pob dyn*, &c., am wrthddrychau ei farwolaeth ef?

*Preg.* Dywed y berniaid, nad ydyw y gair Groeg *hekastos*, yr hwn, meddant, sydd yn arwyddo *pob un*, yn yr ystyr manylaf, na'r gair *hapas*, yr hwn, meddant, sydd yn arwyddo *pawb*, yn yr ystyr mwyaf cynwysfawr, byth yn cael ei arferyd, gan ysgrifenwyr y Testament Newydd, am wrthddrychau iawn Crist; er fod ein cyfieithwyr ni yn arferyd y geiriau mwyaf manwl a chynwysfawr, megys "*pob dyn*, *yr holl fyd*, &c.," am danynt. Ond nid wyf fi yn gweled dim angenrheidrwydd i sefyll ar hyna, pe bawn yn ddigon dysgedig i'r peth. Caniatawn fod y geiriau a arferir, yn y beibl, am holl ddynolryw, yn cael eu harferyd am wrthddrychau'r iawn: ond y mae pedwar peth yn ymddangos i mi yn rhesymau digonol am hyny, heb olygu fod y geiriau yn cynwys pawb yn ddiwahaniaeth.

1. Yr oedd yr Iuddewon mor hunanol, a'u rhagfarn at y Cenedloedd mor fawr, fel yr oedd eisiau rhyw ymadroddion cryfion iawn i ddangos iddynt fod canolfur y gwahaniaeth wedi ei dynu i lawr, ac nad oedd breintiau'r efengyl yn perthyn mwy i Iuddew na Chenedlddyn. Y mae'n amlwg fod y Cenedloedd, mewn amryw fanau, yn cael eu galw *y byd*, i'w gwahaniaethu oddiwrth yr Iuddewon, pa rai sydd yn cael eu cynwys yn fynych, gan yr apostolion, yn y rhagenw *nyni*. Pan oedd yr apostolion yn pregethu, yr oedd yr hen ragfarn yn peri i'r Iuddewon feddwl mai rhywbeth iddynt hwy'n unig oedd yr efengyl; ac y mae yn debyg eu bod yn ceisio perswadio'r Cenedloedd, nad oedd iddynt hwy ran na chyfran yn y Messia. Ond i'r dyben i dynu i lawr ragfarn y naill, ac i gysuro a chalonogi y lleill, arferai'r apostolion bob dull o ymadroddi, i ddangos fod Iuddewon a Chenedloedd ar yr un tir a'u gilydd. "Iachawdwriaeth (medd Paul) i bob un sydd yn credu, i'r Iuddew yn gyntaf, a hefyd i'r Groegwr;—Efe a ddaeth ac a bregethodd dangnefedd i chwi y rhai pell (sef y Cenedloedd), ac i'r rhai agos (sef yr Iuddewon). Ac efe (medd Ioan) yw yr iawn dros ein pechodau ni (Iuddewon), ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau'r *holl fyd* (y Cenedloedd)." Ond deliwch sylw, pan mae yr apostol yn dywedyd mai efe yw'r iawn dros ein pechodau ni, sef yr Iuddewon, ni feddylir fod Crist yn iawn dros bob Iuddew, ond dros y rhei'ny, o blith yr Iuddewon, ag yr

oedd yn eiriolwr iddynt gyda'r Tad: felly, pan y mae yn dywedyd ei fod ef yn iawn dros bechodau yr holl fyd, sef y Cenedloedd, ni feddylir ei fod yn iawn dros bob Cenedlddyn, ond dros y rhei'ny, o blith yr holl Genedloedd, ag y mae yn eiriolwr iddynt gyda'r Tad. Y "ni" ag y mae yr iawn drostynt, ydyw'r "ni" ag y mae'r eiriolwr iddynt: felly'r "holl fyd" ag y mae'r iawn drostynt, yw'r "holl fyd" ag y mae'r eiriolwr iddynt. Yr un personau yw gwrthddrychau'r eiriolaeth a'r iawn; ond y mae gwrthddrychau'r eiriolaeth yn sicr o gael eu cadw; (oblegid y mae Crist yn sicr o gael ei wrando bob amser, a chael pob peth a ddymuno gan Dduw, Ioan xi. 22, 42;) gan hyny, rhaid y cedwir holl wrthddrychau'r iawn.

*Gwran.* Yr wyf yn cofio fod Mr. Jones, o Ddinbych, yn ei Draethawd ar Brynedigaeth, yn dywedyd fod y geiriau pawb, pob dyn, y byd, a'r holl fyd, yn cael eu harferyd am wrthddrychau'r iawn, i argyhoeddi yr Iuddewon o'u culfarn am derfynau teyrnas y Messia, tudal. 130. A bod Mr. Roberts, o Lanbrynmair, yn ei ateb trwy ofyn, "Ai nid oedd barn yr Iuddewon mor gul am etholedigaeth, ag am bryniad a gras Crist? Oni buasai mor angenrheidiol i Ysbryd Duw arfer ymadroddion tra eang a helaeth am etholedigaeth, yn gystal ag am bryniad a gras Crist, rhag i'r Iuddewon barhau yn eu *cam-dyb*, a'u *culfarn*, nad oedd Duw wedi ethol neb o un genedl arall ar wyneb y ddaear?"‡

*Preg.* Gwrthddywediad mewn term, a fyddai son am ethol pawb: canys y mae'r gair ethol yn cynwys bob amser fod rhai yn cael eu gadael. Pe achubid pawb, ni byddai dim ethol yn bod. Y mae y geiriau pawb, pob dyn, &c., yn cael eu cysylltu â phob ymadrodd, y'mron, ag sydd yn dangos daioni Duw yn achubiaeth dynion; hyny yw, cyn belled ag y goddef iaith. Dywedir iddo garu'r byd—ei fod yn ewyllysio fod pob dyn yn gadwedig—ei fod yn cymodi'r byd âg ef ei hun—ac yn tynu pawb ato ei hun: ond byddai son am ethol pawb, yn ddisynwyr mewn iaith.

*Gwran.* Dy'gaswn i fod genych bedwar o bethau i'w dyweyd fel rhesymau am yr arferiad o'r geiriau dan sylw: ond nid ydych eto wedi enwi dim ond un.

*Preg.* 2. Yr wyf yn meddwl eu bod yn cael eu harferyd, weithiau, i ddangos fod gwrthddrychau marw-

‡ Gwel Galwad Difrifol, tudal. 54.

olaeth Crist yn llawer iawn. Peth hollol gyffredin yw dyweyd fod pawb yn arfer rhyw ddull, neu ddywedyd rhyw chwedl, pan nad ydys yn meddwl dim mwy na bod llawer felly. Dywedai'r Phariseaid, fod y byd yn myned ar ol yr Iesu, pan nad oeddynt yn meddwl dim rhagor na bod llawer yn ei ganlyn. Pan y mae Crist yn dywedyd, fod pob dyn yn ymwthio i deyrnas Dduw, y meddwl, yn ddiddadl, yw, fod llawer yn ymwthio iddi. Felly yr ydym yn darllen, fod Crist i roddi ei gnawd dros fywyd y byd, Ioan vi. 51. Iddo farw dros bawb, 2 Cor. v. 15. Ac iddo roddi ei hun yn bridwerth dros bawb, 1 Tim. ii. 6. Ond os darllenwch chwi Dat. v. 9, cewch weled mai rhai o bob cenedl yn y byd yw *y pawb, a'r byd,* ag y rhoddes Crist ei waed i'w prynu. "A hwy a ganasant ganiad newydd, gan ddywedyd, Teilwng wyt ti i gymeryd y llyfr, ac i agoryd ei seliau ef; oblegid ti a laddwyd, ac a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed, allan o bob llwyth, ac iaith, a phobl, a chenedl."

3. Yr ydys yn fynych yn arfer y geiriau cyffredinol, pawb, a phob dyn, pan y mae amgylchiadau yn dangos yn amlwg mai pawb o ryw ddosbarth neillduol a feddylir. Pan y maent yn cael eu harferyd mewn actau cyfreithiol, y mae'n amlwg na olygir dim rhagor na phawb o'r dosbarth ag y perthyna'r gyfraith hòno iddynt. Drachefn, pan ddywed yr apostol, mai "megys yn Adda y mae *pawb* yn meirw, felly hefyd yn Nghrist y bywheir *pawb*," 1 Cor. xv. 22; a chaniatâu ei fod yn golygu adgyfodiad cyffredinol y duwiolion a'r annuwiolion, ni all y gair pawb gynwys pob un o hiliogaeth Adda, canys y mae rhai wedi myned i'r nefoedd yn barod, heb brofi marwolaeth; ac ni bydd adgyfodiad, ond newidiad, i'r "rhai byw, y rhai a adewir hyd ddyfodiad yr Arglwydd:" ond os y duwiolion yw y pawb a fywheir yn Nghrist, y mae'r dosbarth a elwir pawb yn gyfyngach fyth. Felly, pan ddywedir "y profai efe farwolaeth dros bob dyn," Heb. ii. 9, gellid meddwl mai pob dyn o'r dosbarth y sonir am dano ar hyd y bennod a olygir; sef, "y rhai a santeiddir—ei frodyr—y plant a roddes Duw i mi—a hâd Abraham."

4. Dywedir, weithiau, fod rhyw gyfleusdra yn cael ei agoryd i bawb, am fod rhyddid i bawb i'w ddefnyddio, er mai i ryw ddosbarth yn unig y bwriadwyd y peth. Dywedir fod y brif-ffordd yn ffordd i bawb, am fod rhyddid i bawb ei cherdded, er na fwriadwyd mo honi

ond i'r sawl a ddyger, gan ryw amgylchiadau neu gilydd, i'w cherdded. Felly, "Megys y dyrchafodd Moses y sarff yn y diffeithwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol: canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol," Ioan iii. 15, 16. Y mae cariad Duw yn rhoddi ei Fab, yn gariad at y byd, cyn belled a bod digon yn y ddarpariaeth i bechaduriaid pwy bynag,—cyn belled a bod cyflawn groeso i bawb ddyfod at y Gwaredwr—a chyn belled ag na chollir pwy bynag a gredo, ac na fwrir allan mo'r hwn a ddel; er na fwriadwyd mo'r iawn ond dros y rhai a ddygir i gredu, yn unig.

*Gwran.* Pa fodd y dywedwch fod cyflawn groeso i bawb ddefnyddio'r ddarpariaeth, os na fwriadwyd hi ond i rai?

*Preg.* Y mae'r cwestiwn yna wedi bod dan ein hystyriaeth wrth ymddyddan am gysylltiad yr iawn â galwad yr efengyl;† gan hyny, ni byddai ymaflyd ynddo eto amgen nag ail gerdded y tir a gerddasom.

*Gwran.* Ond y mae genyf un sylw eto ar yr adnod "Felly y carodd Duw y byd," &c. Onid yw dywedyd mai yr etholedigion a feddylir wrth y gair byd, yn y testyn yna, yn gystal a dywedyd y collir rhai o'r etholedigion? Nid felly y carodd Duw y byd * * * fel na choller y *byd*, a ddywedir: ond "felly y carodd Duw y byd * * * fel na choller *pwy bynag a gredo*:" onid yw y dull yna o ymadroddi cystal a dywedyd, y collir pawb o'r "*byd*" y sonir am dano yn nechre'r adnod, ond rhyw nifer ag sydd yn cael eu galw "*pwy bynag*" yn niwedd yr adnod? Gadewch i ni edrych pa fodd y swniai'r geiriau, pe dodid y gair etholedigion yn lle'r gair byd. Felly y carodd Duw yr etholedigion, * * * fel na choller pwy bynag a gredo. Onid oes tybiaeth yn y dull yna o lefaru, yr erys rhai o'r etholedigion heb gredu, ac y byddant, o ganlyniad, yn golledig?

*Preg.* Nid ydyw y rhai sydd yn barnu mai'r etholedigion a feddylir wrth *y byd*, yn y testyn dan sylw, yn golygu mai oblegid eu hetholedigaeth y maent yn cael eu galw felly; ond oblegid eu bod yn cael eu gwneyd i fyny o blith holl drigolion y byd, Iuddewon a Chenedloedd:

---

† Gwel Ymddyddan xvi, Rhan ii, ac Attodiad, Llythyr ii.

felly, y mae eich gwaith yn cynyg y gair etholedigion yn lle'r gair byd, yn annhêg. Rhoddwch chwi y geiriau Iuddewon a Chenedloedd yn lle'r gair byd, a chewch weled y bydd y dyryswch yn chwalu. Canys felly y carodd Duw *Iuddewon a Chenedloedd*, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag (poed Iuddew neu Genedlddyn) a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragwyddol. Ac, yn wir, ni raid i chwi ond darllen yr adnod nesaf, na chewch y gair byd yn cael ei arferyd am y rhai sydd i gael eu hachub. "Canys ni ddanfonodd Duw ei Fab i'r byd, i ddamnio'r byd, ond fel yr achubid y byd drwyddo ef."

Ond y mae bod cariad Duw wrth roddi ei Fab, yn gariad cyffredinol at y byd, cyn belled ag i achub rhai o bob cenedl ac oes o'r byd, yn wirionedd a ddelir gan y Calfinistiaid mor ddiysgog a neb o'u brodyr. Paham yr achubir neb o'r byd, mwy nag o'r cythreuliaid, onid am i Dduw garu y byd, yn hytrach na'r cythreuliaid? Pa ham yr achubir neb o unrhyw genedl, onid am fod Duw yn caru y genedl hòno? A phaham yr achubir rhai o bob cenedl yn y byd, onid am mai "felly y carodd Duw y byd?" Yn sicr, y mae Duw wrth roddi ei Fab, "fel na choller pwy bynag a gredo" y'mhlith holl Genedloedd y byd, wedi dangos cariad mawr at y byd: ond y mae rhagor mawr rhwng dywedyd felly, a dywedyd iddo garu, a rhoddi ei Fab i fod yn iawn dros bob dyn yn ddiwahaniaeth, heb adael allan y myrddiynau ag oeddynt yn uffern yn barod. Y mae y golygiad cyntaf yn gyson âg ysgrythyr a rheswm, ond y mae'r olaf yn groes i'r ddau.

A ydych yn meddwl, mewn difrif, fod holl ddynolryw yn gydradd fel gwrthddrychau o gariad Duw?

*Gwran.* Y mae yn ddiddadl fod Duw yn caru pob dyn, fel ei greadur.

*Preg.* Ond y cwestiwn yw, Ai nid ydyw Duw yn caru rhai o ddynolryw yn fwy nag ereill?

*Gwran.* Ydyw, y mae yn caru ei eglwys yn fwy na'r byd, canys y mae yn ei galw weithiau yn gyfeillion, ac yn rhai anwyl. Ie, y mae'n dywedyd am Jacob ac Esau, "Jacob a gerais, ac Esau a gaseais." Mal. i. 2, 3; Rhuf. ix. 13.

*Preg.* Purion. Yrŵan, deliwch sylw, y cariad mwyaf, neu y weithred fwyaf o eiddo cariad Duw tuag at ddynion, oedd rhoddi ei Fab, ac i'r Mab roddi ei einioes dros ei

gyfeillion. "Cariad mwy na hwn nid oes gan neb, sef bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion." Ioan xv. 14. Yn awr, os yw y naill fel y llall, o ddynolryw, wedi ei garu â'r cariad mwyaf, pa fodd y dywedwch chwi, fod y naill wedi ei garu yn fwy na'r llall? Os yw Crist wedi dangos ei gariad tuag at ei bobl, yn fwy na thuag at ereill, rhaid mai trwy roddi ei einioes dros ei bobl, ac nid dros ereill, y gwnaeth hyny; pe amgen, byddai raid fod ganddo ryw ddangosiad mwy o gariad i'w wneyd i'w bobl, na marw yn eu lle: ond, "cariad mwy na hwn nid oes gan neb," hyd yn nod gan Grist ei hun.

*Gwran.* Y mae'n wir, na bu un weithred erioed, ynddi ei hun, yn ddangosiad mwy o gariad, na marwolaeth Crist; ond rhaid i chwi gofio fod pob peth angenrheidiol yn cael ei roddi i'r eglwys yn chwaneg, ac, o gymaint a hyny, y mae y dangosiad o gariad yn fwy tuag ati hi na thuag at ereill. "Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll, pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?" Rhuf. viii. 32. Y weithred fwyaf o gariad oedd rhoi'r Mab; ond y mae ei roddi ef *a* phob peth, yn fwy na'i roddi ef ***heb*** bob peth.

*Preg.* Pan y mae ymresymiad yr apostol yn gwneyd rhoi pob peth arall yn ddim mewn cymhariaeth i roddi y Mab; y mae'n anhawdd deall pa fodd y gallai y cariad fod yn fwy tuag at y rhai y rhoddwyd y Mab drostynt, ac y chwanegir pob peth iddynt, na thuag at y rhai (a dybiwch) y rhoddwyd y Mab drostynt, ond na chwanegir pob peth iddynt.

Ond yr wyf yn teimlo yn hynod o ddiolchgar i chwi am goffa'r adnod dan sylw, sef, "Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll, pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?" Yr wyf yn ystyried y geiriau yn benderfynol ar y ddadl rhwng Calfinistiaid a Ffwleriaid am wrthddrychau'r iawn. Y mae'n amlwg fod Paul yn golygu fod rhoi'r *Mab*, a rhoi *pob peth*, yn anwahanol gysylltiedig â'u gilydd, pe amgen, ni byddai grym yn y gofyniad, "Pa wedd, gydag ef, na ddyry efe i ni bob peth?" Gan iddo draddodi ei Fab trosom ni, pa wedd na rydd efe bob peth i ni? Felly, trwy gystadl ymresymiad, pe traddodasai ei Fab dros bob un o ddynolryw, pa wedd na roddasai efe bob peth i bob un o ddynololryw? Ond gan mai i'r eglwys yn unig y rhoddir pob peth, yn rhaid (*a posteriori*), yn ol ymresymiad yr

apostol, mai tros yr eglwys yn unig y traddodwyd y Mab. Yn wir, y mae'r adnod yn ymddangos i mi mor benderfynol, am wrthddrychau'r iawn, a phe dywedasai'r apostol mewn geiriau, mai tros yr eglwys yn unig y bu Crist farw.

*Gwran.* Onid yw marwolaeth Crist yn cael ei dangos, yn yr Hen Destament yn gystal a'r Newydd, yn beth "drosom ni oll?" &c.

*Preg.* Meddyliwn nad yw Mr. J. yn hòni rhyw hawl gadarn iawn i ddim ond un ysgrythyr o'r Hen Destament, er profi fod marwolaeth Crist dros holl ddynolryw,† sef, Esay liii. 6. "Nyni oll a grwydrasom fel defaid, troisom bawb i'w ffordd ei hun; a'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Y mae y gair "*i gyd*," yn niwedd yr adnod, medd efe, yn arwyddo yr un peth a'r gair "*oll*" yn nechre yr adnod; a phob un yn arwyddo yr un peth a'r gair "*pawb*" y'nghanol yr adnod. Ond pe baem yn sylwi ar y rhagenwau "nyni a nyni oll," drwy'r bennod, efallai na fyddem mor benderfynol eu bod yn cynwys holl ddynolryw, ag ydyw Mr. J. "Ond efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni, cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef, *a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni*. Nyni oll a grwydrasom fel defaid, troisom bawb i'w ffordd ei hun: a'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Yn awr, onid yw "*sound interpretation, theological fairness, a logical deduction*," (chwedl Mr. J.) yn ein rhwymo i olygu yr un rhai wrth y *ni a iachawyd*, a'r *ni i gyd y rhoddwyd eu hanwiredd arno*, ac felly mai anwiredd yr etholedigion a roddwyd arno ef? Fel hyn: y rhai y rhoddwyd eu hanwiredd ar Grist a iachawyd, neu a iacheir; ond y rhai a iachawyd, neu a iacheir, yw'r etholedigion; gan hyny, y rhai y rhoddwyd eu hanwiredd arno ef yw yr etholedigion.

Trachefn, "Fy ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy ei wybodaeth, canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt." Esay liii. 11. Y rheswm a roddir am gyfiawnhad llawer, yw fod eu hanwireddau wedi eu dwyn gan Grist. Yr wyf yn casglu oddiwrth hyn eto, mai yr eglwys yw y rhai y dyg Crist eu hanwireddau. Fel hyn: y rhai a gyfiawnheir, yw y rhai y dyg Crist eu hanwireddau; ond yr eglwys yn unig yw y rhai a gyfiawnheir; gan hyny, yr

† Gwel Jenkyn on the At. tudal. 266.

eglwys, yn unig, yw y rhai y dyg Crist eu hanwireddau. Wele, dyma lle y mae'r ysgrythyr a ddewisodd Mr. J. o blith holl ysgrythyrau'r Hen Destament, i geisio profi iawn cyffredinol; dyma, meddaf, lle mae yn ein harwain yn y diwedd, sef i benderfynu mai yr eglwys, yr etholedigion, yn unig, yw gwrthddrychau yr iawn.

*Gwran.* Nid oes neb wedi dyfod âg un adnod ag sydd yn profi, trwy ddywedyd yn bendant, na bu Crist farw tros y rhai a gollir byth, er pan roes Mr. J. heriad i'w wrthbleidwyr i wneyd hyny.

*Preg.* Y mae yn rhyfedd, mwy na pheidio, fod gŵr o ddysg a gwybodaeth, fel Mr. J., yn herio cymaint ar ei wrthbleidwyr i brofi negyddiaeth (*negative*). Onid mwy rhesymol a fyddai gofyn iddo ef ddyfod âg adnod ag sydd yn dyweyd, yn bendant, fod Crist wedi marw dros y rhai a fyddant golledig yn y diwedd?

*Gwran.* Wel, y mae'r beibl yn dyweyd, "Efe a *fu* farw dros bawb;" ac os bu farw dros bawb, rhaid y bu farw dros y rhai a fyddant golledig yn y diwedd.

*Preg.* Nid yw yr adnod yna yn dywedyd, yn bendant, fod Crist wedi marw dros y rhai a fyddant golledig yn y diwedd, mwy nag y mae y gair "Yr wyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid," yn dywedyd, yn bendant, na roddes ei einioes dros neb ond y defaid: eto, pe na byddai y gair *pawb* yn cael ei arferyd yn y beibl am ryw nifer llai na holl ddynolryw, addefwn fod grym yn eich ymresymiad; ond gan yr arferir y gair am nifer terfynol o ddynion, nid ydyw yr ymresymiad amgen na gwegi.

*Gwran.* Wel, y mae y fath beth yn bod a dystrywio, am byth, rai ag y bu Crist farw drostynt. "Na ddystrywia ef â'th fwyd, dros yr hwn y bu Crist farw." A thrachefn, "A ddyfethir y brawd gwan, trwy dy wybodaeth di, tros yr hwn y bu Crist farw?" Rhuf. xiv. 15; 1 Cor. viii. 11.

*Preg.* Nid ydwyf yn meddwl fod y geiriau *dystrywio* a *dyfetha*, yn yr adnodau yna, yn arwyddo colledigaeth dragwyddol. Gadewch i Paul esbonio Paul, a chewch weled, wrth yr adnodau o amgylch, beth y mae'n feddwl wrth ddystrywio neu ddyfetha brawd, sef, ei dristâu, ei dramgwyddo, ei rwystro, neu ei wanhau. Rhuf. xiv. 21. Gellir tramgwyddo, rhwystro, a gwanhau pobl dduwiol; a diamau genyf fi, nad oedd yr apostol yn golygu y gallai y naill frawd wneyd dim rhagor na hyn i frawd arall, wrth fwyta pethau a farnai y brawd hwnw yn anghyfreith-

lawn. Ac yr oedd hyny yn beth mor fawr y'nghyfrif Paul, fel na buasai yn ormod ganddo beidio â bwyta cig, nac yfed gwin, byth, er ei ochelyd. Tybygid fod yr apostol, yn adn. 19, yn rhoi'r gair "*adeiladaeth*" yn gyferbyniol i'r gair "*dystrywio*," yn adn. 15; felly ni feddylir, wrth "*ddystrywio brawd*," ddim mwy na'r hyn sydd groes i'w *adeiladaeth*, sef dystrywio neu rwystro heddwch ei gydwybod, trwy ei gwneyd yn derfysglyd, &c.

Yr un peth y mae yr apostol yn ei feddwl yn yr adnod arall a enwasoch, lle y sonir am "*ddyfetha brawd gwan*." Yn yr adnod nesaf, gelwir y peth, "Pechu yn erbyn y brodyr, a churo eu gwan-gydwybod hwy:" ac yn yr adnod nesaf wed'yn, fe'i gelwir, "Rhwystro fy mrawd." Nid oes dim yn amgylchiadau yr un o'r ddwy adnod yn dangos y gall "brawd," tros yr hwn y bu Crist farw, gael ei ddamnio byth.

Y mae Mr. J., wedi dyfod o hyd i'r adnodau hyn, megys yn ymhyfhau, fel pe bai ei system wedi ei phenderfynu, fel na all neb ag sydd yn talu parch i'r "geiriau a ddysgir gan yr Ysbryd Glân," byth mwy, ddyweyd dim yn ei herbyn. "Os oes meddwl i'r 'geiriau a ddysgir gan yr Ysbryd Glân,' (medd ein hawdwr,) y mae'r adnodau hyn yn ein dysgu, y gallai eneidiau, dros y rhai y bu Crist farw, gael eu dystrywio a'u dyfetha."‡ Ond gwan iawn, yn wir, y gwelaf fi y system ag y rhaid llusgo gair o'r beibl allan o'i wir feddwl, i'w roddi yn *brop* dani; yn enwedig pan y mae'r ystyr mor amlwg ag ydyw yn yr adnodau dan sylw. Yr wyf yn meddwl, pe bai Mr. J. yn ystyried pwy yw y brodyr hyn ag y mae Paul yn ysgrifenu atynt, y gwelai wendid ei ymresymiad. "Pawb sydd yn Rhufain yn anwyl gan Dduw, ac wedi eu galw i fod yn saint. Eglwys Dduw yr hon sydd yn Corinth, * * * y rhai a santeiddiwyd yn Nghrist Iesu, a alwyd yn saint." Rhuf. i. 7; 1 Cor. i. 2. Yn awr, os ydyw yr adnodau a goffâ Mr. J. yn profi y dichon i rai ag y bu Crist farw drostynt fod yn ol yn y diwedd, y maent yn profi hefyd y gall "rhai anwyl gan Dduw, ac wedi eu galw i fod yn saint," fod yn ol yn y diwedd. Meddyliwn fod hyn yn llawn ddigon, os nad gormod o draflwnc i'r Ffwleriaid eu hunain.

*Gwran.* Y mae "barnu'n aflan waed y cyfammod, trwy yr hwn y santeiddiwyd ef," yn cael ei ddangos yn bechod

‡ Gwel Jenkyn on the At. tudal. 451.

un ag sydd yn agored i gospedigaeth dragwyddol. Heb. x. 29. Yn awr, gofynaf, pa fodd y gall dyn fod wedi ei santeiddio trwy waed Crist, os na bu Crist farw drosto?

*Preg.* Yr "ef" a santeiddiwyd, yn ol yr adnod yna, dybygaf fi, yw Mab Duw, ac nid mathrwr Mab Duw. Fel y byddai yr offeiriaid gynt yn cael eu santeiddio, neu eu neillduo i'w swydd, felly y cafodd yr Offeiriad mawr yma ei santeiddio, neu ei neillduo i'w swydd, trwy ei waed ei hun. Yn gytunol â hyny y dywed Crist yn Ioan xvii. 19: "Ac er eu mwyn hwynt yr wyf yn fy santeiddio fy hun." Santeiddiodd Crist ei hun trwy ddyoddef, "ac er eu mwyn hwynt" (y rhai a roddwyd iddo allan o'r byd) y gwnaeth hyny.

*Gwran.* Ond y mae Mr. J. yn golygu mai "yr hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod," yw'r "ef" a santeiddiwyd yn y testyn a enwais. "Gwaed y cyfammod, trwy yr hwn y santeiddiwyd pechaduriaid, hyny yw, trwy'r hwn y gwnaed iawn, neu gymod drostynt, yw gwaed Crist."‡

*Preg.* Mi hoffwn wybod, trwy ba awdurdod y mae yr awdwr yn arferyd y gair "gwneyd iawn neu gymod dros," yn lle'r gair santeiddio. A ydyw santeiddio yn gyfystyr â gwneyd iawn? A ydyw y gair a gyfieithir santeiddio yn y testyn, yn cael ei gyfieithu gwneyd iawn mewn manau ereill? neu a fuasai yn well i'r gair gael ei gyfieithu felly? Os na fuasai, yna y mae'r gair "santeiddiwyd" yn ei le, ac nid oes eisiau ei newid. Ond ni wiw i ni dybied fod Mr. J. am newid meddwl un gair o'r beibl i wasanaethu system, canys hyny, dybygid, yw un o'r prif bethau y mae ei draethawd yn milwrio yn eu herbyn. Cymerwn y geiriau, ynte, fel y maent ar lawr yn y beibl Cymreig, ac yna rhaid penderfynu, yn Galfinistaidd, mai Crist yw yr hwn a santeiddiwyd trwy waed y cyfammod; neu dybied, yn Arminaidd, y gall y sawl a santeiddiwyd fathru Mab Duw, a chael ei gospi byth am hyny; sef, y gall y saint gwympo oddiwrth ras. Yr wyf yn methu canfod fod yma, rhwng y Calfin a'r Armin, le i'r Ffwleriad roddi ei droed i lawr.

*Gwran.* Wel, yr ydych yn proffesu bod yn Galfinist; ond nid Calfiniaeth yw yr opiniwn yr ydych yn ei fyntumio heddyw; "o leiaf, nid dyna Galfiniaeth *Institutes*

‡ Gwel Jenkyn on the At. tudal. 453.

Calfin." Y mae Mr. J. wedi chwilio y llyfr hwnw o bwrpas i gael gwybod barn Ioan Calfin ar y pwnc hwn; ac nis medrodd gael un ymadrodd o'i fewn yn cadarnhau mai tros yr etholedigion y bu Crist farw.

*Preg.* Gallaf fod yn Galfinist, yn ol yr ystyr cyffredin sydd i'r enwad Calfinistiaeth, ac yn ol y darnodiad a roddais o'r enwad yn nechre ein hymddyddanion, pe na bawn o'r un golygiadau a Ioan Calfin am bob peth.* Ond gan i chwi son am *Institutes* Calfin, mi a adroddaf i chwi rai brawddegau o hono; a bernwch chwithau, wrth y rhei'ny, beth oedd barn yr awdwr. "Ac felly cawn weled person y pechadur a'r drwgweithredwr yn cael eu cynrychioli yn Nghrist; * * * rhoddwyd yn ei erbyn ef bechodau rhai ereill; * * * a hyn ydyw ein rhyddhad ni, fod yr euogrwydd a'n gwnaeth ni yn rhwym i gosp, wedi ei symud, a'i roddi ar ben Mab Duw."† Drachefn, "Fod ein hanwireddau ni i gyd wedi eu rhoddi arno ef; hyny yw, gan ei fod ef yn bwriadu glanhau ymaith aflendid ein hanwireddau ni, ei fod ef ei hun, mewn ffordd o gyfrifiad cydgyfnewidiol, megys wedi ei orchuddio â hwynt."‡ A thrachefn, "Os dyoddefodd Crist y gosp ddyledus i ni, * * * yna y mae iachawdwriaeth wedi ei phwrcasu i ni trwy ei gyfiawnder (haeddiant) ef."§ A thrachefn eto, "Buasai yn afresymol i Grist gael ei wneuthur yn felldith, oddieithr i'r dyben iddo, wrth dalu'r hyn oedd ddyledus i ni, bwrcasu cyfiawnder i ni."¶ Y mae'n amlwg, wrth yr ymadroddion hyn, fod Calfin yn barnu fod person Crist wedi myned i le personau rhai ereill—fod pechodau rhai ereill wedi eu rhoddi yn ei erbyn ef, a'u heuogrwydd hwy wedi ei roddi ar ei ben ef—ei fod ef wedi dyoddef y gospedigaeth, ac nid rhyw beth yn lle cospedigaeth—a'i fod wedi talu yr hyn oedd ddyledus i ni. Yn awr, er nad yw yn dywedyd, mewn gair, mai dros yr etholedigion yn unig y bu Crist farw; eto, y mae ei ymadroddion yn cynwys golygiad ar sefyllfa ddirprwyol Crist ag sydd yn arwain i hyny, yn ol addefiad Mr. J. ei hun: oblegid y mae'r gŵr yn addef na ellir, yn gyson, ddal fod Crist wedi dyoddef y gosp ddyledus am bechod, heb ddal mai dros y sawl a achubir, yn unig, y dyoddefodd. Felly'r wyf fi'n penderfynu, mai—Fod Crist wedi dyoddef, yn lle

* Gwel Ymddyddan ii. tudal. 17.—† Calfin's Inst. B. ii. Ch. xvi Sec. 5.—‡ Sec. 6.—§ Ch. xvii. Sec. 3.—¶ Sec. 4.

y sawl a gedwir, y gosp ddyledus am bechod, "yw Calfiniaeth; o leiaf, mai hyny yw Calfiniaeth *Institutes* Calfin."

*Gwran.* Ond a oedd Calfin yn dal nad oedd marwolaeth Crist yn perthyn i neb ond yr etholedigion?

*Preg.* Yn wir, ni wn i ddim pa fodd y gallai ddal yn amgenach, a bod yn gyson âg ef ei hun: ond y mae Mr. Jones, o Ddinbych, yn ei Draethawd ar Brynedigaeth, yn awgrymu y gallai ei fod ef (Calfin), yn nechre ei oes, yn dal rhyw beth tebyg, am wrthddrychau'r iawn, i'r hyn a ddelir gan y Ffwleriaid yn ein dyddiau ni; ond ei fod, "cyn ei farw, wedi dyfod i amddiffyn yn fwy cywir, a chyson â'i egwyddorion ereill, yr athrawiaeth o brynedigaeth neillduol." I brofi hyn, y mae'n dwyn sylwad, o eiddo Calfin, ar l Ioan ii. 2: "Ac efe yw'r iawn dros ein pechodau ni; *ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau'r holl fyd.*" "Y mae Ioan (medd Calfin) yn chwanegu hyn er mwyn eglurhad helaethach, fel y byddai sicrhad llawn i gredinwyr, fod y cymod a wnaed gan Grist yn cyraedd *at bawb oll a dderbyniant yr efengyl drwy ffydd.*" Ond fe godir cwestiwn, Pa fodd y mae efe yn *iawn dros bechodau'r holl fyd?* Mi a âf heibio i ffol-dybiau rhai gorphwyllog, a roddant, tan y ffugesgus hwn, i'r rhai annghymeradwy, ac felly i Satan hefyd, fod yn gyfranogion o iachawdwriaeth. Y mae y ddyfais anghenfilaidd hon yn annheilwng o wrthbrawf. Y mae rhai, a ewyllysiant ochel yr anferthwch hwn, wedi dywedyd, Fod *digonolrwydd* yn nyoddefiadau Crist [i fod] dros y byd yn gyfan oll; ond, o ran effeithiolrwydd, [ei fod wedi dyoddef] *dros ei etholedigion yn unig.* Yn gyffredin, dyma'r eglurhad sydd yn cael ei roddi yn yr ysgolion. Minau, *er fy mod yn addef hyny yn ddywediad cywir, nid wyf yn ei gyfrif fel iawn ddeongliad ar y lle hwn.* O herwydd nid oedd yn mwriad Ioan ond gwirio *fod y budd hwn yn gyffredin i'r holl eglwys.* Gan hyny, tan y gair oll [neu'r *holl fyd*] nid yw efe yn cynwys y rhai annghymeradwy; ond y mae'n golygu *y rhai crediniol oll, a'r rhai hyny fel yn wasgaredig yn amryw barthau'r byd.*"‡.

Y mae y sylwad yna yn ymddangos i mi yn ddigon i dori'r ddadl y'mherthynas i farn y diwygiwr enwog hwnw ar y pwnc.

*Gwran.* Yr oeddwn yn meddwl cael ymddyddan â

‡ Gwel Jones ar Brynedigaeth, tudal. 75, 76.

chwi am *allu dyn;* ond y mae yr amser, a'r daith, wedi dybenu yn llawer cynt nag y buaswn yn dymuno; efallai y cawn hamdden, wrth ddychwelyd adref, i roi tro ar y mater hwnw.

*Preg.* Purion. Ond gadewch i ni eto wneyd rhyw grynoad o'r hyn a fu dan ein sylw yn yr ymddyddan presenol.

1. Y mae yn ymddangos fod Mr. Jenkyn am fyntumio fod, nid yn unig holl ddynolryw, ond hefyd holl ddeiliaid llywodraeth foesol y bydysawd, yn wrthddrychau'r iawn; a bod yr iawn mor angenrheidiol i'r bydysawd moesol, ag ydyw egwyddor dysgyrchiant i'r bydysawd defnyddiol.

2. Yr ydych chwithau am hòni fod holl ddynolryw yn wrthddrychau'r iawn, am fod y beibl yn dyweyd i Grist farw dros *bawb* a *phob dyn*, a'i fod yn iawn dros bechodau'r *holl fyd*.

3. Ond 1af. Oblegid fod yn amlwg yr arferir y geiriau pawb, pob dyn, &c., mewn ystyr cyfyngol yn y beibl; fel y gallai eu bod yn cael eu harferyd felly am wrthddrychau'r iawn. 2il. Oblegid y dywedir i Grist roddi ei einioes dros ei gyfeillion—ei ddefaid—a'i eglwys; ac na elwir neb yn gyfeillion, yn ddefaid, nac yn eglwys, i Grist, ond y sawl a gedwir. 3ydd. Oblegid fod holl rediad yr ysgrythyrau o blaid y golygiad, mai peth i'r eglwys yw'r cwbl o drefn achub. 4ydd. Oblegid fod yn ymddangos i mi yn anmhosibl gwneyd un synwyr o lawer o ysgrythyrau, ar y dybiaeth o iawn cyffredinol. Oblegid y pedwar peth yna, meddaf, ni fedraf lai na phenderfynu mai tros ei eglwys y rhoddes Crist ei hun, a throsti hi yn unig.

4. Ymddengys fod Ioan Calfin, o Geneva, yn dra phell oddiwrth fod o'r un farn a Ffwleriaid ein hoes ni, pan ysgrifenodd ei *Institutes:* a'i fod yn pellhau oddiwrth y farn hòno fwy-fwy fel yr oedd yn heneiddio.

Ond rhaid i ni roddi i fyny, gan ddysgwyl bendith ar ein hymddyddan, ac hefyd ar y gymanfa ag y mae ein hwynebau arni.

---

## YMDDYDDAN XVIII.

---

### ANALLU DYN, A GWAITH YR YSBRYD GLAN.

*Pregethwr.* [*Wrth gychwyn tuag adref o'r gymanfa.*] Wel, fy nghyfaill, beth meddwch am y gymanfa?

*Gwrandawr.* Mi welais amser ag y buasai y fath

bregethau ag a glywsom ni ddoe yn fy moddio i drwch y blewyn; ond os dywedaf y gwir i chwi, yr oeddynt yn rhy Galfinaidd, mwy na pheidio, i'm harchwaeth bresenol i, yn enwedig pregeth Mr. A. ar "farw i'r ddeddf;" a phregeth Mr. B. wed'yn, ar "anallu dyn," yn Galfineiddiach fyth.

Wrth glywed y Calfinistiaid yn curo, yn ddiddiwedd, ar ddeddfoldeb, a gallu dyn, y mae yn rhyfedd na bai llai o weithredoedd da yn eu plith nag y sydd; oblegid y mae'r Ffwleriaid yn cyfaddef fod y Calfinistiaid cystal bucheddwyr a hwythau; ac y'mron â gildio eu bod wedi bod, hyd yma, yn fwy ymdrechgar gydag achosion da. § Nis gwn i pa sut y mae pethau'n bod felly: byddaf yn tybied, weithiau, mai curo gweithredoedd da i lawr yw'r ffordd oreu i'w codi i fyny.

*Preg.* Curo gweithredoedd da i lawr! Y mae Calfinistiaeth yn gosod gweithredoedd da ar uwch tir nag y mae Ffwleriaeth nac Arminiaeth yn eu gosod—Tra mae yr Arminiaid yn dyweyd fod bywyd santaidd yn ammod am nefoedd; dywed y Calfinistiaid mai y nefoedd ei hun ydyw, oblegid mai perffaith gydffurfiad â'r ddeddf a fydd y nefoedd; ac mai i'r graddau ag y mae'r Cristion yn cydffurfio â'r ddeddf, y mae yn nefoedd arno ar y ddaear. Tra mae'r Ffwleriaid yn dywedyd fod ffydd yn ammod bywyd, y mae'r Calfinistiaid yn dal mai bywyd ei hunan ydyw. Tra mae yr Arminiaid a'r Ffwleriaid yn edrych ar fywyd santaidd fel rhywbeth tuag at gyrhaeddyd dedwyddwch, dywed y Calfinistiaid mai dedwyddwch ei hunan ydyw: edrych yr Armin a'r Ffwler ar y peth fel tasg i'w chyflawni; ond y mae'r Calfin yn ei ystyried fel gwledd i'w mwynhau. "O'u cadw (neu, yn eu cadw) y mae gwobr lawer," Salm xix. 11. Y mae'r cyntaf yn edrych ar y peth fel llafur i ymboeni ynddo, a'r olaf yn ei ystyried fel ymborth i ymborthi arno. Nid yw'r Calfinist yn ystyried bywyd santaidd yn y byd hwn yn ammod, ond yn flaenbrawf o ddedwyddwch y nef; a'r cwbl yn dyfod ar gyfrif iawn Crist. Yrŵan, tra yr ydych chwi yn rhyfeddu fod y Calfinistiaid yn bucheddu cyn gystal ag y maent; yr wyf finau yn rhyfeddu na baent yn bucheddu'n llawer gwell: canys y mae'r egwyddorion a broffesant yn eu dysgu, nad ydyw i ddyn

§ Gwel Attodiad, Llythyr ii.

ddewis bywyd santaidd o flaen bywyd ansantaidd, ddim amgen, o ran y peth ynddo ei hun, (heb son am ei ganlyniadau,) na dewis esmwythdra o flaen poen, cysur o flaen gofid, bywyd o flaen angeu, a nefoedd o flaen uffern.

"Mae arnaf eisiau sel," meddai un o'r Ffwleriaid yn ddiweddar,

"Mae arnaf eisiau sel, a chariad at dy waith,
*Yn wir*, rhag ofn y gosp a ddel, *ac* am y gwobr *maith*."

Chwi a wyddoch nad fel yna y canai'r hen Galfinistiaid, ond fel hyn:

"Mae arnaf eisiau sel, a chariad at dy waith,
*Ac nid* rhag ofn y gosp a ddel, *nac* am y gwobr *chwaith*."

Yr hen benill anwyl! Mae arnaf flys ei ganu'r mynyd yma:

"Ond gwir ddymuniad llawn, ddyrchafu'th gyfiawn glod,
Am iti wrthyf drugarhau, a chofio'm dana'i 'rioed."

Yr oedd rhyw flys ar yr hen Galfinistiaid i fyw yn santaidd, pe na buasai nef nac uffern i fyned iddi ar ol marw; canys gwyddent, pa faint bynag o santeiddhad a gaent, y byddai cymaint a hyny o nefoedd iddynt cyn marw, beth bynag a fyddai gwed'yn.

*Gwran.* Wel, gallu neu anallu dyn yw y pwnc yr oeddym yn son am fyned ato. Nis gwn i pa beth, ond ystyfnigrwydd dynion, sydd yn rhwystro iddynt edifarhau a chredu'r efengyl.

*Preg.* Y mae yn wir fod yr athrawiaeth o anallu dyn yn cael ei chamddefnyddio yn fawr, fel pethau ereill, gan ddynion: ond eto, gan fod y beibl yn dyweyd na ddichon neb ddyfod at Grist, oddieithr i'r Tad ei dynu; ac na all dyn anianol wybod y pethau sydd o Ysbryd Duw, rhaid i ninau gredu hyny, oni raid?

*Gwran.* Ie, anallu *moesol* yw hwnw, ac nid anallu *naturiol*. Y mae gan ddyn allu naturiol i gredu yn Nghrist, yn gystal ag i gredu unrhyw dystiolaeth ddynol; i edifarhau am bechod, yn gystal ag am ryw drwstanwch arall: ond yr achos na wnai hyny yw, ei anallu moesol, neu, fel y dywedais, ei ystyfnigrwydd.

*Preg.* Beth ydych yn ei feddwl wrth anallu naturiol, a moesol?

*Gwran.* Anallu moesol yw anewyllysgarwch; ond anallu naturiol yw diffyg moddion, neu gyneddfau, i wneuthur daioni: y mae'r cyntaf yn bechadurus, ond y mae'r olaf yn ddiniwed.

*Preg.* Yn ol y darnodiad yna, o anallu naturiol a moesol, pan mae dyn yn methu â gwneyd yr hyn a fynai, rhaid mai naturiol ydyw yr anallu; a phan nas myn dyn wneuthur daioni, y mae yn ddiddadl fod ei anallu, yn anallu moesol; ond pa un ai bod diffyg naturiol *hefyd* yn y peth, sydd gwestiwn i'w ystyried. Pa un, meddwch chwi, ai naturiol, ai moesol, ydyw y gallu sydd yn y duwiol, rhagor dyn annuwiol, i *ewyllysio* gwneuthur da?

*Gwran.* Gallu moesol ydyw, bid siwr; canys y mae'n ewyllysio, am ei fod yn *mynu* ewyllysio.

*Preg.* Paham y mae yn mynu ewyllysio?

*Gwran.* Am ei fod yn *ewyllysio* mynu ewyllysio.

*Preg.* Mynu ewyllysio, ac ewyllysio mynu, ai ê? Os nad oes rhywbeth yn achos i'r dyn ewyllysio, heblaw fod un act o eiddo'r ewyllys yn achosi un arall, rhaid fod meddwl dyn yn actio, neu yn ysgogi, yn annechreol, ac felly yr ydych yn ei wneyd yn rhywbeth mwy na chreadur. Rhaid fod dechread i waith creadur yn ewyllysio, neu yn mynu; ac felly, fod yr achos o fod dyn yn ewyllysio gwneyd da, yn rhywbeth yn nghyfansoddiad ei natur, neu (fel yr wyf fi yn credu) yn rhywbeth a roddir ynddo gan yr Ysbryd Glân; pa un bynag, y mae'n rhaid ei fod yn rhywbeth annibynol ar ewyllys y dyn ei hunan. Rhaid, meddaf, fod y sawl sydd yn ewyllysio yr hyn sydd dda, wedi derbyn peth ag y mae ereill yn fyr o hono. Felly, os ydyw eich darnodiad chwi o anallu naturiol yn gywir, y mae anallu'r annuwiol i ewyllysio yr hyn sydd dda, yn anallu naturiol, canys y mae yn ol o'r *moddion* tumewnol (sef yr anian), trwy ba un y mae y duwiol yn ewyllysio'r hyn sydd dda.

Peidiwch chwi nghamgymeryd i yrŵan. Yr wyf yn dyweyd mai anallu naturiol yw anallu dyn i ewyllysio yr hyn sydd dda; hyny yw, os yw eich darnodiad chwi o anallu naturiol yn gywir; (ac yr wy'n meddwl eich bod yn darnodi'r peth yn debyg i fel y gwnai'r Parch. Mr. Hinton, ac ereill o'r Ffwleriaid.) Ac os felly, prin yr wyf fi yn deall y'mha le y mae naturioldeb anallu dyn yn diweddu, na pha le y mae ei foesoldeb yn dechreu. Ond yr wyf yn siwr na ddichon neb ddyfod at Grist, oddieithr i'r Tad ei dynu; na all dyn anianol wybod pethau ysbrydol; ac na all y rhai a gynefinwyd â gwneuthur drwg, wneuthur da, mwy nag y gall Ethiop newid ei groen, neu'r llewpard ei frychni. Y mae yn wir nad yr

un fath yw anallu dyn i wneyd da, ag anallu Ethiop i newid ei groen, canys y mae'r olaf yn ddiniwed, pan mae'r cyntaf yn bechadurus: ond y mae'r naill mor wirioneddol anallu, ag ydyw'r llall.

*Gwran.* Ond y mae gan ddyn allu i gredu ac edifarhau pe yr ewyllysiai.

*Preg.* Gadewch fod gan ddyn allu naturiol i weithredu yn ol ei ewyllys, eto, os na all droi ei ewyllys at ddaioni, y mae mor farw i ddaioni, a phe bai bren neu gareg. Pa beth, meddwch chwi, yw'r ysgogiad cyntaf, mewn dyn, at rinwedd neu fai?

*Gwran.* Yr ewyllysio: yr ewyllys yw y rhod fawr, ac y mae'r cyneddfau ereill, fel y mân-rodau, yn ysgogi fel yr ysgogo hithau.

*Preg.* Y cwestiwn, bellach, ydyw, nid a ydyw'r mân-rodau yn abl i gydysgogi â'r rhod fawr, fel ei gelwch; ond, pan y mae y rhod fawr yn troi un ffordd, a all y dyn ei throi ffordd arall? nid a ydyw'r ewyllys yn abl i ddylanwadu y cyneddfau ereill i weithrediad; ond, pan y mae yr ewyllys ei hunan bob amser ar ddrwg, a all y dyn ei throi at ddaioni? Os na all dyn ewyllysio'r hyn sydd dda, nid yw dyweyd y gallai pe'r ewyllysiai, amgen na dyweyd y gallai pe gallai.

*Gwran.* Mi glywais ddyweyd y byddai'r enwog R. Tibbot, o Lanbrynmair, yn arfer dywedyd, mai anewyllys pobl oedd eu hanallu; ac mai diafliaid y'nghrwyn dynion oeddynt am hyny.

*Preg.* Wel, yr oedd y gŵr parchedig, wrth ddywedyd felly, yn caniatâu fod dynion yn analluog at ddaioni. Ac yn wir, nid oes dim yn gwneyd dynion yn debyg i "ddiafliaid," yn gymaint a'u hanallu i ewyllysio'r hyn sy dda.

*Gwran.* Tebyg eich bod yn barnu, ynte, mai ar yr ewyllys yn unig y mae'r Ysbryd Glân yn dylanwadu yn yr ailenedigaeth.

*Preg.* Disynwyr yw son am ddylanwadu ar un o gyneddfau yr enaid ar ei phen ei hun, sef yn wahanol oddiwrth yr enaid; canys nid gwahanol ranau, ond gwahanol alluoedd yr enaid, ydyw ei gyneddfau. Nid rhan o'r enaid, ond gallu'r enaid i ewyllysio, yw'r ewyllys. Yn awr, y mae son am ddylanwadu ar *allu*, yn wahanol oddiwrth *y peth sydd yn gallu*, yn ynfydrwydd: y mae son am ddylanwadu ar yr ewyllys, sef ar y gallu sydd yn yr enaid i ewyllysio, yn wahanol oddiwrth yr enaid, yn

beth disynwyr. Nid dylanwad ar ryw un gyneddf i'r enaid, yw ailenedigaeth, ond cyfnewidiad ar yr holl enaid. "Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd," 2 Cor. v. 17.

*Gwran.* Efallai y dywedwch chwi fod rhywbeth newydd yn cael ei roddi yn yr enaid, yn yr ailenedigaeth, a'r nad oedd ynddo o'r blaen.

*Preg.* Nid oes un *gyneddf* newydd yn cael ei rhoddi, yr wy'n addef: ond eto, rhoddir *rhywbeth* newydd, ag sydd yn dylanwadu yr enaid yn ei holl gyneddfau a'i ysgogiadau. Geilw rhai y peth yn archwaeth, tuedd, neu naws: ond geilw'r beibl ef, calon newydd, duwiol anian, deddf y meddwl, &c. Y mae'r ymadroddion cryfaf yn cael eu harferyd yn y beibl i ddangos mawredd y cyfnewidiad a wneir mewn dyn pan ei hailaner, megys tynu'r hen galon, a rhoi un newydd yn ei lle; creu o newydd, &c.

*Gwran.* Onid yw yr ymadroddion yna yn arwyddo yr hyn y mae dyn yn cael ei ddwyn iddo drwy'r gair, sef trwy gael ei berswadio iddo? Ac os oes posibl i ddyn gael ei berswadio i'r peth, rhaid fod ganddo o'r blaen allu i'w gyflawni; oblegid ni wiw ceisio perswadio dyn i beth nas gall.

*Preg.* Y mae'n wir mai trwy'r gair y mae dyn yn cael ei aileni, ond nid dyna'r gwir i gyd. Rhaid i'r Hwn a barodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, lewyrchu i'r galon; ïe, tuag at gael dyn i gredu, rhaid cael "gweithrediad nerth ei gadernid ef, yr hon a weithredodd efe yn Nghrist, pan y cyfododd ef o feirw," Eph. i. 19, 20.

*Gwran.* Y mae'r athrawiaeth yna yn dinystrio rhyddid y dyn. Canys pa fodd y mae dyn yn weithredydd rhydd wrth beidio credu ac edifarhau, ac yntau heb allu i'r naill na'r llall? A pha fodd y mae dyn yn weithredydd rhydd wrth gredu ac edifarhau, tra bo rhyw nerth annibynol arno ef ei hunan yn ei weithio i'r pethau hyny?

*Preg.* Y peth y mae dyn yn fwyaf ewyllysgar iddo, yw yr hyn y mae'n fwyaf rhydd i'w gyflawni; a pho gryfaf fyddo dylanwadau'r Ysbryd ar feddwl dyn, mwyaf yn y byd a fydd ewyllysgarwch y dyn at ddaioni. Felly, po gryfaf fyddo dylanwadau'r Ysbryd ar feddwl dyn, mwyaf yw ei ryddid i gyflawni pob dyledswydd, ac i ochel pob bai. "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth," Ps. cx. 3. Mwyaf y nerth, mwyaf yr ewyllysgarwch; h. y.,

po fwyaf fo'r dylanwad oddiuchod, mwyaf oll fydd rhyddid y dyn i gyflawni yr hyn y mae yn ei ddewis.

Yr ewyllys yw gallu yr enaid i ddewis; ac y mae dyn yn rhwym o ddewis yr hyn sydd yn ymddangos iddo ef, ar y cyfan, yn fwyaf dymunol. Hefyd, y mae yn anmhosibl i ddyn lai na phenderfynu dymunoldeb neu annymunoldeb peth, yn ol anian neu dueddfryd y meddwl: felly, gan nad pa mor gryfion fyddo annogaethau allanol i ddyn ddewis santeiddrwydd, y maent yn annigonol heb ryw weithrediad tumewnol. Heb hyn, po fwyaf a feddylio dyn am santeiddrwydd, pellaf yn y byd y mae ei feddwl yn myned oddiwrtho; a pho fwyaf a feddylio am bechod, mwyaf oll ydyw ei ymlyniad ynddo: y mae'n elyn i'r cyntaf, ond yn ffrynd i'r olaf. Felly, os na all dyn gynyrchu anian newydd ynddo ei hun, nis gall ddymuno ewyllysio neu ddewis santeiddrwydd.

*Gwran.* Wel, y mae ewyllys dyn yn rhydd i ddewis a gwrthod fel y myno.

*Preg.* Peth disynwyr ydyw son am ryddid neu gaethiwed yr ewyllys; canys nid ydyw rhyddid a chaethiwed yn briodol i ddim ond yr hyn sydd yn meddu ar allu i ddewis a gwrthod; neu, mewn gair arall, yr hyn sydd yn meddu ar ewyllys. Yn awr, wrth ddywedyd fod yr ewyllys yn rhydd, neu yn gaeth, yr ydych yn ei gwneyd yn *fôd* sylweddol, yn dewis ac yn gwrthod drosto ei hun, ac nid (fel y mae mewn gwirionedd) yn *allu* yn y dyn, trwy ba un y mae'r *dyn* yn dewis ac yn gwrthod. Wrth son am ewyllys rydd, yr ydych yn rhoddi tybiaeth fod yr ewyllys yn meddu ar allu i ddewis, neu, mewn gair arall, fod yr ewyllys yn meddu ewyllys; ac felly, rhaid fod yr ewyllys hòno yn meddu ar ewyllys o'r eiddi hithau, &c. &c. Felly, byddai gan yr enaid beth aneirif o ewyllysiau, ewyllys mewn ewyllys, ac ewyllys mewn ewyllys, yn ddiddiwedd. Gan hyny, nid i'r ewyllys y mae rhyddid neu gaethiwed yn briodol; ond i'r dyn ei hun.

Dygwn y peth i ddau gyfresymiad, fel hyn: Pa beth bynag nad yw yn meddu ar ewyllys, y mae yn ddisynwyr priodoli iddo ryddid na chaethiwed; ond nid yw'r ewyllys yn meddu ar ewyllys; gan hyny, y mae'n beth disynwyr priodoli i'r ewyllys ryddid na chaethiwed.

Drachefn: Pa beth bynag sydd yn meddu ar ewyllys, y mae'n rhaid iddo fod yn rhydd neu yn gaeth; ond y mae dyn yn meddu ar ewyllys; gan hyny, rhaid fod dyn

yn rhydd neu'n gaeth. Felly, i'r dyn, ac nid i'r ewyllys, y dylid priodoli rhyddid neu gaethiwed.

*Gwran.* Wele bydded felly; ond eto, os na all dyn weithredu ond yn ol anian lywodraethol ei enaid, yna rhaid ei fod yn gaeth i'r anian hòno; a pha fodd y gellir dywedyd ei fod yn weithredydd rhydd?

*Preg.* Fel y dywedais o'r blaen, y peth y mae dyn fwyaf ewyllysgar iddo, yw'r hyn y teimla fwyaf o ryddid ynddo; a'r peth y mae dyn yn fwyaf ewyllysgar iddo, yn siwr, yw'r hyn sydd fwyaf cydweddol â'i anian: gan hyny, nid ydyw dywedyd fod dyn yn gaeth i'w anian, neu'n rhwym o weithredu yn ol ei anian, ddim amgen na dyweyd ei fod yn rhwym o wneyd y peth y mae fwyaf ewyllysgar iddo—y peth y teimla fwyaf o ryddid ynddo—a'r peth mwyaf dymunol ganddo: neu, os mynwch chwi, ei fod yn rhwym i wneyd ei ddewis, hyny yw, yn rhwym i fod yn rhydd. Pa ryddid mwy a allech ei ddychymygu?

*Gwran.* Os rhywbeth yn natur dyn, neu rywbeth sydd yn cael ei roddi ynddo gan yr Ysbryd Glân, sydd, o angenrheidrwydd, yn penderfynu ei ymddygiadau, yna nis gall ei ymddygiadau fod yn rhinwedd, nac yn fai, yn y dyn ei hun; nis gall ef deilyngu canmoliaeth nac annghanmoliaeth, gwobr na chosp: oblegid, pa rinwedd yw i ddyn wneuthur da, os na all yn amgen? A pha fai ydyw i ddyn wneuthur drwg, os na all beidio? Pan yr ydych yn hòni mai rhywbeth sydd yn wreiddiol yn natur dyn, neu rywbeth a roddir ynddo gan yr Ysbryd Glân, sydd yn penderfynu ei ymddygiadau, yr ydych yn symud pob gweithredyddiaeth (*agency*) oddiwrth y dyn ei hun, i'r peth hwnw, neu i'r achos o'r peth hwnw. Nid yw y dyn mwyach yn weithredydd (*agent*), ond offeryn ydyw, megys yn llaw rhwyun, neu rywbeth, annibynol hollol arno ef ei hun; a chwi a wyddoch nad yn yr offeryn y mae'r rhinwedd na'r bai moesol, ond yn y neb sydd yn ei drin.

*Preg.* Yr ydych yn cymeryd yn ganiataol nas gall ymddygiad fod yn rhinwedd nac yn fai, os bydd rhywbeth yn natur y gweithredydd yn peri nas gall ymddwyn yn wahanol: ond y mae hyny yn gamgymeriad. Y mae Duw ei hun, o angenrheidrwydd natur, yn caru santeiddrwydd, ac yn casâu pechod; nis gall yn amgen: eto y mae hyny yn rhinwedd anfeidrol ynddo, ac fe'i canmolir yn dragywydd am hyny. "Pa fodd (meddai Joseph) y gallaf wneuthur y mawrddrwg hwn, a phechu yn erbyn

Duw?" Gen. xxxix. 9. Yr oedd y peth a roddwyd gan Dduw yn ei enaid mor gryf, fel nas gallai wneyd y mawrddrwg hwnw; ac eto, y mae'r ymddygiad yn un o'r esiamplau dysgleiriaf o rinwedd a gawn yn yr Hen Destament. Gallaswn chwanegu, y rhaid fod rhywbeth annibynol ar eu hewyllys eu hunain, yn gwneyd na all saint ac angelion y nef byth syrthio i bechod; canys ni feddant well ewyllys nag oedd gan yr angelion ereill cyn syrthio, a chan Adda yn Eden: eto, yn y nefoedd, yn unig, y mae rhinwedd yn ymddangos yn ei berffeithrwydd. Drachefn, yr ydym yn darllen fod dynion yn cael eu rhoddi i fyny i bechodau; ac er nad ydym i feddwl fod Duw yn temtio neb i bechod, na bod dim y mae'n wneyd yn achos o bechod neb; eto, y mae rhoddi dynion i fyny i bechodau yn beth ag y mae cyflawni y pechodau hyny yn ganlyniad sicr iddo.

*Gwran.* Nid yw rhoddi dynion i fyny i bechod, yn cynwys dim rhagor na bod y gras, neu y daioni, ag oedd yn eu rhwystro i gyflawni y pechod hwnw, yn cael ei attal oddiwrthynt.

*Preg.* Y mae hyny yn ddigon gwir; a dyma ninau yrŵan y'nghanol y pwynt. Pan y mae'r gras sydd yn cadw dyn rhag cyflawni unrhyw bechod yn cael ei attal oddiwrtho, y mae anian bechadurus dyn yn peri nas gall lai na chyflawni y pechod hwnw pan gaffo gyfleusdra. Ond nid yw y dyn yn llai beius, ac ni bydd ei gyfrif yn esmwythach o ran hyny. Ymddengys, yn ol eich ymresymiad chwi eich hun, mai i'r graddau ag y mae y gras attaliol mewn arferiad tuag at ddyn, y mae'r dyn yn alluog i wrthsefyll temtasiynau i bechod. Yrŵan, os nad ydyw fod gras attaliol yn gadael dyn i gyflawni pechodau annghyffredin, yn lleihau dim ar bechod y dyn wrth eu cyflawni; nid ydyw fod gras attaliol yn gadael dyn i gyflawni pechodau cyffredin, yn lleihau dim ar bechod y dyn wrth gyflawni rhei'ny chwaith. Y mae anian bechadurus yr annuwiol mor gryf, fel nas gall beidio â gwneyd drwg, ond i'r graddau yr attelir ef gan ras: ond y mae hyny yn gwneyd y dyn yn waeth, ac nid yn ei esgusodi erbyn y farn.

*Gwran.* Ond fe all y dyn ddewis y da neu'r drwg, yn ol yr annogaethau (*motives*) sydd yn ymddangos iddo ef yn gryfaf ar y pryd.

*Preg.* Nid fe all, ond y mae, o angenrheidrwydd ei

natur, yn rhwym o wneyd felly. Ond eto, y mae y dyn yn sicr o farnu cryfder annogaethau yn ol tuedd neu anian lywodraethol ei enaid. Y mae dynion o wahanol dueddiadau mewn pethau tymhorol, ac yn ol y gwahanol dueddiadau hyny y maent yn dewis y naill beth, ac yn gwrthod y llall.

Bwriwch y byddai i Siôn a Dafydd gael eu dewis, ai byw yn un o drefydd mawr Lloegr, ai mewn rhyw luest y'nghanol bryniau Cymru: y mae Siôn, o duedd feudwyaidd, yn hoffi bod ar ei ben ei hun; ond y mae Dafydd, o duedd fydol, yn hoffi bod yn sŵn a dwndwr y byd. Yn awr, gosodwch yr holl annogaethau i ddewis y naill a'r llall o flaen y ddau; dywedwch fod y lluest yn lle manteisiol i fyfyrio, am ei bod allan o gyraedd dwndwr y trefydd, &c. Dywedwch drachefn am y dref, ei bod yn lle manteisiol i fasnachu, &c. Wel, y mae Siôn yn dewis y lluest, a Dafydd yn dewis y dref, er fod yr un annogaethau i ddewis y naill a'r llall yn cael eu gosod o flaen y ddau; ac y mae pob un o'r ddau yn dewis yn ol yr annogaethau ag sydd yn ymddangos iddo yn gryfaf: ond y mae eu gwahanol dueddiadau meddyliol yn peri i un farnu yr annogaethau hyn yn gryfaf, ac i'r llall farnu yr annogaethau ereill yn gryfaf; a'r canlyniad ydyw, eu bod yn dewis yn wahanol.

Sylwch eto. Y mae ffordd santeiddrwydd a ffordd pechod yn cael eu gosod o flaen dynion, y'nghyda'r annogaethau i'w dewis; y mae'r gostyngeiddrwydd, y nefolrwydd, a'r cariad ag sydd yn y naill, fel annogaethau i'w dewis; a'r balchder, y bydolrwydd, a'r penrhyddid sydd yn y llall, fel annogaethau i'w dewis hithau, yn cael eu dangos. Wel, y mae ychydig yn dewis ffordd santeiddrwydd, a llawer yn dewis ffordd pechod; a'r achos o hyny yw, fod anian yr ychydig yn peri iddynt farnu yr annogaethau o blaid santeiddrwydd yn gryfaf, ac anian y llawer yn peri iddynt hwythau farnu yr annogaethau o blaid pechod yn gryfaf.

Y mae anian y dewiswyr yn gwneyd pob gwahaniaeth yn eu gwaith yn rhoddi barn ar deilyngdod neu gryfder annogaethau i ddewis a gwrthod. Y mae'r hyn a ystyrir gan berchenog un anian yn annogaeth i ddewis, yn cael ei ystyried, gan berchenog anian arall, yn annogaeth i wrthod y peth. Y mae anian yr hwch yn peri iddi hi ddewis y llaid, oblegid mai llaid ydyw: ond y mae anian y ddafad

yn peri iddi hithau ei wrthod, oblegid mai llaid ydyw. Y mae anian y duwiol yn peri iddo farnu santeiddrwydd peth yr annogaeth grefaf i'w ddewis; ond y mae anian yr annuwiol yn gwneyd iddo ef farnu santeiddrwydd peth yr annogaeth grefaf i'w wrthod. Felly, er fod dyn yn rhwym o ddewis yn ol yr annogaethau ag y mae ef ar y pryd yn eu barnu yn gryfaf; eto, y mae barn dyn am gryfder annogaethau yn dibynu ar anian lywodraethol ei feddwl.

*Gwran.* Y mae dynion annuwiol yn gwneyd llawer o bethau da; y maent yn dirion wrth eu perthynasau a'u cymydogion—y maent yn gymedrol ac yn sobr mewn bwyta ac yfed—ac y mae llawer o honynt yn dymuno caru Crist, a chredu ynddo: y maent yn gwneyd llawer o bethau rhinweddol, er na feddant un anian ond a ddaeth gyda hwynt i'r byd. Yn awr, os gall dyn wneyd rhai pethau da, heb ryw anian newydd, pam na allai wneyd y cwbl a orchymynir iddo? Ac os gall rhai dynion fyw yn rhinweddol, heb ddim ynddynt ond a ddaeth gyda hwynt i'r byd, paham na allai pawb wneyd hyny?

*Preg.* Cyn penderfynu fel yna, gadewch i ni chwilio i'r pethau têg a enwasoch, i weled a ydynt yn rhinweddau gwirioneddol, ai nad ydynt. 1. Y mae dyn yn dirion wrth ei berthynasau; y mae'r anifel felly hefyd: y mae dyn yn gymwynasgar i'w gymydog; da y mae'n gwneuthur, y mae llawer o anifeiliaid hefyd yn dirion wrth eu rhyw. Felly, nid yw y pethau yna, ynddynt eu hunain, yn rhinweddau mewn dynion mwy nag mewn anifeiliaid; er y byddai ymddwyn yn groes i hyny yn profi dyn nid yn unig yn ddirinwedd fel anifel, ond hefyd yn bechadurus islaw'r anifel.

2. Trachefn. Y mae dynion yn ymgadw oddiwrth bechodau, oddiar ailddybenion. Y mae ofni colli enw da yn cadw llawer un rhag lladrata, meddwi, godinebu, &c.: ac y mae'n dda i gymdeithas, ac yn dda i'r dyn ei hun, mewn ystyr nacaol, fod rhyw beth yn ei attal i wneyd y pethau yna; er nad oes dim gwir rinwedd lle nad yw'r peth yn cael ei garu a'i wneyd er ei fwyn ei hun. Dyma ddyn yn gweled gŵr, ag sydd yn ei ddyled ef o ganpunt, y'mron â boddi yn y llif. Efallai na buasai achub bywyd ei gymydog yn ddigon o annogaeth ganddo i roddi ei fywyd ei hun mewn perygl er ei achub: ond wrth ystyried y byddai ef yn ol o'i ganpunt, os boddai y dyn, y mae'n gwneyd yr anturiaeth. Yrŵan, er bod yr anturiaeth yn

fawr, a bod y dyn drwy hyny wedi gochel y pechod o beidio gwneuthur daioni pan oedd ar ei law ei wneuthur; eto, nid oes dim gwir rinwedd neu santeiddrwydd yn y peth, oblegid mai ei fudd ei hunan, ac nad hyfrydwch mewn cyflawni ei ddyledswydd, a barodd iddo ei wneuthur.

3. Am ddymuno caru, a chredu yn Nghrist, yr wyf yn dyweyd nas gall dymuniad i garu Crist fod lle na byddo cariad ato; canys y mae dymuno caru gwrthddrych, yn ddiau, yn radd o gariad tuag at y gwrthddrych hwnw. Dichon, hefyd, i ddyn ddymuno cael crefydd er mwyn gochel uffern; ond nis gall fod dim dymuniad am dani er ei mwyn ei hun, heb anian newydd.

*Gwran.* Wel, os rhyw duedd yn natur dyn sydd yn ei arwain, yn angenrheidiol, i'r peth yma neu'r peth arall, ni welwn i, yn fy myw, pa rinwedd neu bechod a all fod ynddo, mwy nag mewn anifel yn dylyn greddf ei natur.

*Preg.* Ie, dyna'r hen opiniwn Arminaidd fyth, sef na all un weithred fod yn rhinweddol, heb fod meddwl y gweithredydd mewn stât o ddidueddrwydd at y peth, cyn penderfynu ei gyflawni. Pan y mae y gweithredydd yn gwneyd yr hyn sydd dda, os ydyw ei duedd neu ei anian (pa un bynag ai ei unig anian, ai ei anian grefaf, a fyddo) yn peri, o angenrheidrwydd, iddo wneuthur felly; yn ol eich gosodiad chwi, nid oes dim rhinwedd neu santeiddrwydd yn y weithred, na dim canmoliaeth yn perthyn i'r gweithredydd. Ac o'r tu arall, pan y mae gweithredydd yn gwneyd yr hyn sydd ddrwg, os ydyw ei anian neu ei duedd yn peri iddo wneuthur felly, yn ol eich ymresymiad chwi, nid oes dim pechod yn y peth. Felly, rhaid fod meddwl y gweithredydd, yn flaenorol i benderfynu ar unrhyw ymddygiad, mewn stât o ddidueddrwydd at y peth, cyn y gall na rhinwedd na phechod fod yn y cyflawniad o hono.

Wel, wel, yn ol y golygiad yna, nid ydyw yn bechadadurus i ddyn fod yn ddifater, pa un a wnelo ai drwg ai da; ïe, y mae'n rhaid iddo fod felly cyn y byddo gwneyd drwg yn bechod, na gwneyd da yn rhinwedd. Yn ol y golygiad yna, nid pechod yw sychedu am waed, ac nid santeiddrwydd yw newynu a sychedu am gyfiawnder! Po gryfaf a fyddo tuedd meddwl dyn at bob drygioni, pellaf yn y byd ydyw oddiwrth fod i'w feio; a pho gryfaf a fyddo tueddfryd dyn at ddaioni, pellaf yn y byd ydyw oddiwrth fod i'w ganmol, am y peth! Ie, yn ol yr

opiniwn yma, ni bu neb erioed yn y byd mor ddirinwedd a Iesu Grist! oblegid yr oedd ei dueddfryd ef at ddaioni mor gryf a gwastadol, fel na bu dim croes i hyny yn ei feddwl am foment erioed; ac yr oedd ei holl ymddygiadau, o angenrheidrwydd, yn dylyn y tueddfryd hwnw. Yn awr, bernwch chwi, os oes na beibl, na rheswm, a gefnoga'r fath olygiad.

Pe buasai dyn yn Israel wedi lladd ei gymydog, mewn amryfusedd, heb ragfwriad neu ddrwgduedd yn erbyn y dyn cyn hyny, yr oedd ei fywyd i gael ei arbed mewn rhyw ddinas noddfa neu gilydd: ond pwy bynag a laddai ddyn o falais a rhagfwriad, y gyfraith oedd ei ladd yn ddiarbed. (Gwel Num. xxx.) Ac y mae deddfau yr holl genhedloedd gwareiddiedig yn arddelwi yr un egwyddor: ond wrth eich ymresymiad chwi, y sawl a laddai ei gymydog o falais, neu o ddrwgduedd, a ddylasai gael ei arbed; a'r sawl a wnai hyny heb ragduedd, na rhagfwriad, neu falais, yn erbyn ei gymydog, a ddylasai gael ei gospi!

Yn ol eich gosodiad chwi, nid oes dim rhinwedd yn y nefoedd, canys y mae holl ymddygiadau pawb yno, o angenrheidrwydd, yn dylyn tueddfryd da'r trigolion: ac nid oes dim pechod yn uffern, canys nid yw'r trigolion yno yn gwneyd dim ond yn ol tueddfryd eu meddyliau: ac nid oes dim rhinwedd, na bai, yn holl weithredoedd dynion ar y ddaear, oddieithr y pethau a wneir yn ddamweiniol, oblegid y mae ymddygiadau cyffredin dynion yn cael eu penderfynu gan ryw gymaint o ragduedd a rhagfeddwl: ac felly ni bydd y farn olaf, (maddeuwch y dywediad) nemawr o beth!! Gwareder ni rhag y fath opiniwn.

*Gwran.* Os ydyw holl ymddygiadau dyn yn cael eu penderfynu, o angenrheidrwydd, gan yr anian sydd ynddo, ac os na all y dyn newid ei anian, yr wyf fi, eto, yn methu dirnad pa fodd y gall na rhinwedd na bai fod yn y dyn; oblegid nid ydyw ei weithredoedd ond effaith ei ewyllysio—na'i ewyllysio, ond effaith naturiol ei anian—na'r anian hòno, ond effaith rhywbeth annibynol ar y dyn; gan hyny, rhaid mai yn y peth hwnw (pa beth bynag ydyw) y mae rhinwedd neu fai holl ymddygiadau dynion, am mai hwnw yw'r achos o'r cwbl.

*Preg.* Yr ydych yn addef fod dyn yn rhwym o ddewis yn ol yr annogaethau ag sydd yn ymddangos iddo yn

gryfaf ar y pryd. Felly nid yw ei waith yn dewis, ond effaith a achosir gan yr annogaethau; ac felly y mae'r *holl* rinwedd, neu'r bai, yn yr annogaethau, neu yn hytrach yn y sawl sydd yn eu rhoddi, a *dim* yn y dewisydd; hyny yw, yn ol eich ymresymiad chwi.

Ond y camgymeriad ag sydd yn peri y dyryswch yna ydyw, tybied fod y bai a'r rhinwedd i gyd yn yr achos, a dim yn yr effaith: ond,

1af. Dichon fod effaith yn feius, pan nad oes bai yn yr achos. Bwriwch (yn ol y Dr. Williams,) mai yr achos i Adda syrthio oedd diffygiolrwydd ei natur; nid oedd na rhinwedd na bai yn y diffygiolrwydd hwn ynddo ei hun, am ei fod (fel y dywed y Dr.) yn angenrheidiol i greadur, fel creadur. Ond eto, y mae'r effeithiau o hono yn bechodau aneirif.

2il. Dichon i'r effaith fod yn dda pan mae'r achos yn ddrwg. Y weithred waethaf oedd croeshoelio Arglwydd y gogoniant, ond y mae iddi yr effeithiau goreu.

3ydd. Felly nid yw dywedyd, mai diffygiolrwydd natur, neu rywbeth ag sydd yn annibynol ar allu'r dyn, yw'r achos o fod ei anian yn ddrwg, yn milwrio dim yn erbyn y gwirionedd o fod "pob drwg o'r creadur."

4ydd. Ond yn gyffredin y mae'r effeithiau yr un o ran eu hansawdd foesol, a'r achosion. Pan mae'r naill yn temtio'r llall i ddrwg, y mae temtio yn achos pechadurus yn y naill, a chymeryd ei demtio yn effaith bechadurus yn y llall. Eilwaith eto, pan y mae'r Arglwydd, trwy nerthol weithrediad ei Ysbryd, yn rhoddi anian santaidd mewn dyn, "Iddo Ef," yn yr ystyr uchaf, y perthyn yr holl rinwedd a'r clod; ond eto, y mae bod yn meddu yr anian hòno yn rhinwedd neu'n santeiddrwydd yn y dyn hefyd, oblegid mai santeiddrwydd ei hunan yw'r anian, a'i bod yn gwneyd pwy bynag a'i derbynio, yn debyg i'r Rhoddwr o honi.

Y mae genyf un sylw i'w wneuthur eto ar natur anallu dyn. Y mae'r arferiad cyffredin o'r gair *anallu* am wendid, o bosibl, yn camarwain ein golygiadau ar yr anallu dan sylw. Pan wyf yn dywedyd na allaf y peth hyn neu y peth arall, tybir mai fy meddwl yw, na allwn, pe ceisiwn, neu pe'r ewyllysiwn. Ni allaf gerdded y daith pe'r ewyllysiwn; mae'n rhy hir, neu'r wyf fi yn rhy lesg. Ni allwn gario'r baich, pe ceisiwn; y mae'n rhy drwm, neu yr wyf fi yn rhy wan; nid oes arnaf eisiau dim

newydd, nad oes genyf, er gallu y naill neu'r llall; ond mwy o'r peth sydd genyf, sef nerth neu allu. Ond nid *gwendid y gwan* yw'r hyn sydd genym ni dan sylw, eithr *anallu y marw:* nid rhagor o'r peth sydd ganddo, sydd ar y marw ei eisiau, er ei alluogi i symud; ond cael peth nad oes ganddo, sef bywyd: felly, nid rhagor o'r peth sydd ganddo, ac nid diwygiad ar y peth sydd ganddo yn unig, sydd ar bechadur ei eisiau, er ei alluogi i ymddwyn yn santaidd; ond cael peth nad oes ganddo, sef anian dduwiol.

Disynwyr fyddai gofyn, A all y marw ysgogi, pe ceisiai? oblegid byddai ei ateb, yn nacaol, yn wrthddywediad mewn term: ac ni byddai ei ateb, yn gadarnhaol, ond *truism.* Yr un peth a fyddai dyweyd na all y marw ysgogi pe ceisiai, a dyweyd na all ysgogi ped ysgogai; a'r un peth fyddai dyweyd y gall y marw ysgogi pe ceisiai, a dyweyd y gall ysgogi ped ysgogai; canys y mae pob cais yn ysgogiad. Hefyd, y mae y meddylddrych o fod y dyn yn ceisio ysgogi, yn dinystrio'r meddylddrych o'i fod yn farw; a'r meddylddrych o'i fod yn farw, yn dinystrio'r meddylddrych o'i fod yn ceisio ysgogi.

Felly, disynwyr, dybygwn i, yw gofyn, A all dyn anianol synied yn ysbrydol, pe mynai? oblegid byddai ateb y cwestiwn yna drachefn, yn nacaol, yn wrthddywediad mewn term; ac ni byddai ei ateb yn gadarnhaol, ond *truism.* Yr un peth fyddai dyweyd na all dyn anianol synied yn ysbrydol pe mynai, a dyweyd na all synied yn ysbrydol pe syniai'n ysbrydol; a'r un peth, o'r tu arall, fyddai dyweyd y gall dyn anianol synied yn ysbrydol pe mynai, a dyweyd y gall synio yn ysbrydol pe syniai yn ysbrydol; canys syniad ysbrydol ydyw y *mynu* hwnw.

Ac megys y mae y meddylddrychau o fod dyn yn farw, ac yn ceisio ysgogi, yn dinystrio eu gilydd; felly hefyd, y mae y meddylddrychau o fod dyn yn anianol, ac yn mynu synied yn ysbrydol, yn dinystrio eu gilydd: os ydyw'r dyn yn mynu synied yn ysbrydol, nid ydyw mwyach yn ddyn anianol: ond os dyn anianol ydyw, nis gall fynu synied yn ysbrydol. "Dyn anianol, nid yw'n derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw; canys ffolineb ydynt ganddo ef: ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." 1 Cor. ii. 14.

*Gwran.* Wel, os na all dyn ysgogi at ddaioni, mwy

na'r marw, pa reswm ydyw ei alw i gyfrif, a'i gospi am hyny?

*Preg.* Pe diffyg cyneddfau naturiol fuasai'r anallu, buasai'n anhawdd canfod y rhesymoldeb i ddyn gael ei gospi am dano. Pe na buasai gan ddyn serch, buasai yn beth creulawn ei gospi am beidio caru; pe na buasai gan ddyn lygaid, ni buasai yn rhesymol ei gospi am beidio â gweled: ond "llygaid sydd ganddynt, ond ni welant," meddir am yr eilunod; "a'r rhai a'u gwnant ydynt fel hwythau." Ps. cxv. 4—9. Y mae gan ddyn bob cynedd naturiol ag sydd yn angenrheidiol i fywyd santaidd. Yr un cyneddfau naturiol sydd ynom ni ag oedd yn enaid y dyn Crist Iesu, yr hwn oedd "y'mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr."

Trachefn, pe bai dyn yn cael ei orfodogi i beth yn groes i'w anian a'i ewyllys, afresymol fyddai ei feio na'i gospi ef am dano. Pan oedd Pedr yn cael ei wregysu gan arall, a'i arwain lle nas mynai, pe buasai yn cael ei arwain i deml yr eilunod, nid arno ef y buasai'r bai.

Nid yr un o'r pethau yna ydyw anallu dyn i wneuthur da, neu i beidio gwneuthur drwg; ond yr anian ddrygionus sydd yn y dyn ei hun: gan hyny, nid ydyw mewn un modd yn esgusodi'r dyn, ond yn hytrach yn ei ddynoethi.

Bwriwch y dadleuai lleidr am gael ei esgusodi mewn llys gwladol ar gyfrif mai lladron oedd ei dadau—ei fod yntau wedi arfer lladrata—a bod y fath duedd ladronaidd ynddo fel nas gallai beidio lladrata. A edrychid ar y dyn yn llai beius am hyny? Onid mwy? Ac oni fernid ef yn haeddu cosp drymach?

Felly y mae cyfiawnder yn gwaeddi'n uchel am gospi dyn am bechu; ond y mae yn gwaeddi'n uwch fyth am ei gospi, oblegid na all beidio â phechod: y mae'n gwaeddi yn uchel am gospi dynion am wrthod edifarhau a chredu; ond y mae'n gwaeddi'n uwch fyth am eu cospi, oblegid nā allant edifarhau a chredu. Gan mai drwg, neu bechadurusrwydd y natur, yw yr anallu hwn, y mae yr athrawiaeth yn berffaith gyson â chyfrifoldeb dyn.

*Gwran.* Gan na all dyn edifarhau a chredu, pa fudd ydyw pregethu? Onid gwegi yw ceisio perswadio dynion i beth na allant?

*Preg.* Er fod yn berffaith resymol galw dynion at eu dyledswydd; eto, pe na bai genym ryw allu i ddysgwyl

wrtho am lwyddiant heblaw gallu dyn, ofer yn wir fyddai y cwbl: ond,

Fe dâl arfer moddion wrth orchymyn Duw, er na byddont, o'u rhan eu hunain, yn ddigonol i ateb y dyben. Talai i Foses estyn ei wialen ar y môr—i Ezeciel broffwydo wrth yr esgyrn sychion—ac i ninau alw dynion i edifarhau, a chredu'r efengyl. Megys yr oedd gallu Duw yn cydweithio â gwialen Moses i hollti'r môr, ac â phroffwydoliaeth Ezeciel i fywhau'r esgyrn; felly y mae gweinidogaeth yr efengyl yn allu Duw (nid gallu dyn) er iachawdwriaeth. Lle mae Paul yn planu, ac Apolos yn dyfrhau, y mae Duw yn rhoi'r cynydd. Gwaith Ezeciel oedd proffwydo *fel ei gorchymynasid;* a gwaith gweinidogion y gair yw myned i'r holl fyd a phregethu fel *eu gorchymynwyd;* ac y mae yr Ysbryd a gydweithiodd â gweinidogaeth Ezeciel, i fywhau llonaid dyffryn o esgyrn, yn cydweithio eto â gweinidogaeth yr efengyl, fel y bydd tyrfa aneirif, yn y diwedd, o esgyrn sychion y codwm, â'r anadl o'u mewn, "yn sefyll ar eu traed yn llu mawr iawn."

Wele, gwell i ni, wrth derfynu'r ymddyddan hwn eto, wneyd rhyw grynoad o'r pethau a fu dan ein sylw.

1. Y mae dyn yn berchen ar yr hyn a elwir ewyllys. Ond nid ydyw yn gymhwys priodoli rhyddid na chaethiwed i'r ewyllys hòno, oblegid mai *gallu* yr enaid i ddewis ydyw, ac nad *bôd* sylweddol yn meddu ar allu o'r eiddi ei hun.

2. Y mae dyn, fel y mae yn ymddwyn yn santaidd neu'n bechadurus, yn rhyddweithredydd: er nas dichon lai na dewis yn ol ei anian lywodraethol, eto y mae yn weithredydd hollol rydd wrth ddewis yn ol yr anian hòno; canys po gryfaf fyddo'r anian, mwyaf yn y byd o ryddid a deimlir wrth ei dylyn.

3. Nid ydyw fod un o angenrheidrwydd natur neu anian yn gweithredu yn dda neu yn ddrwg, yn lleihau dim ar rinwedd neu fai, santeiddrwydd neu bechadurusrwydd, y weithred. Nid ydyw fod Duw, o angenrheidrwydd natur, yn gweithredu yn dda, yn lleihau dim ar rinwedd neu santeiddrwydd ei ymddygiadau; ac nid ydyw fod yr angelion a'r saint, yn y nef, o angenrheidrwydd anian, yn gweithredu'n dda, yn lleihau dim ar rinwedd neu santeiddrwydd eu gwaith hwythau; ac nid ydyw fod cythreuliaid, a dynion annuwiol, o angenrheid-

rwydd anian, yn gweithredu yn ddrwg, yn lleihau dim ar fai neu bechadurusrwydd yr eiddynt hwythau chwaith.

4. Er fod dyn yn rhwym o ddewis y da neu'r drwg, yn ol yr annogaethau ag sydd yn ymddangos iddo ef yn gryfaf ar y pryd; eto, cofiwch mai yn ol ei anian lywodraethol y mae yn sicr o farnu cryfder neu wendid annogaethau; ac, o ganlyniad, mai yn ol yr anian hòno y mae'n sicr o ddewis.

5. Gan fod dyn wrth natur heb feddu ar anian santaidd, ond "bod holl fwriad meddylfryd ei galon yn unig yn ddrygionus bob amser," (Gen. vi. 5,) y mae yn hollol analluog i fŷnu neu ewyllysio yr hyn sydd santaidd. Nid y mae'n brin, ond y mae'n wâg o allu i edifarhau am bechod, ac i gredu'r efengyl. Nid y mae'n wan i wneuthur da, ond y mae'n farw i'r peth. Y mae mor farw, fel nas gall ysgogi at santeiddrwydd.

6. Eto, gan mai pechadurusrwydd dyn ydyw yr anallu hwn, ac nad diffyg cyneddfau naturiol, na dim trais yn cael ei arferyd tuag ato gan ddim tuallan iddo ef ei hunan, nid ydyw'r peth yn ei esgusodi, ond y mae yn ei ddynoethi i gospedigaeth. Y mae anallu moesol ac anallu naturiol——

*Gwran.* Dy'gaswn i eich bod yn gwrthod y termau yna.

*Preg.* Ni waeth gen'i y termau yna na rhyw dermau ereill, os byddwn yn deall ein gilydd. Yr hyn a ddywedais, os wyf yn cofio, oedd, fod rhywbeth naturiol yn gystal a moesol yn anallu dyn i wneuthur daioni, ac na wyddwn y'mha le y mae ei naturioldeb yn diweddu, na'i foesoldeb yn dechreu, sef yn ol darnodiad y Ffwleriaid o anallu naturiol a moesol. Ond os boddlonwch i alw y diffyg o anian santaidd, a'r bôd o anian ansantaidd, yn anallu moesol; a phob rhwystr arall, yn anallu naturiol; y mae'r termau, am a wn ni, yn burion.

*Gwran.* Y mae'n ddrwg genyf eich rhwystro, er nad ydyw'n ddrwg genyf, oblegid yr eglurhad a roddasoch. Bellach, os gwelwch yn dda, gorphenwch yr hyn a gychwynasoch ei ddywedyd.

*Preg.* Wel, y mae anallu naturiol ac anallu moesol yn hollol groes i'w gilydd yn y pwynt o esgusodi, neu ddiesgusodi, dynion. Po fwyaf o anhawsderau, mewn ystyr naturiol, a fyddo yn ffordd dyn i gyflawni unrhyw beth, mwyaf yn y byd yw ei rinwedd, neu ei fai, wrth ei gyflawni. Po fwyaf o rwystrau, mewn ystyr naturiol, sydd

ar ffordd dyn i wneyd ei ddyledswydd, mwyaf yn y byd yw ei ganmoliaeth os cyflawna hi, a mwyaf esgusodol yn y byd ydyw os ei hesgeuluso a wna. Ond po fwyaf o rwystrau, mewn ystyr moesol, sydd ar ffordd dyn i wneyd ei ddyledswydd, (hyny yw, po fwyaf diffygiol ydyw o anian santaidd, a pho lawnaf ydyw o anian bechadurus,) mwyaf yn y byd yw ei fai am beidio â'i gwneyd. Pe byddai yn anmhosibl i ddyn, mewn ystyr naturiol, (hyny yw, pe bai rhywbeth yn ei rwystro heb ei anian bechadurus) i gyflawni yr hyn a orchymynir iddo, byddai'r anmhosibilrwydd, i'm tyb i, yn ei esgusodi; ond gan mai mewn ystyr moesol y mae'n anmhosibl i ddyn ufyddhau, y mae'r anmhosibilrwydd yn dynoethi yn lle esgusodi, yn gwaethygu yn lle gwella, yr ymddygiad.

7. Y mae yr Ysbryd Glân, wrth aileni dyn, yn rhoi ynddo beth nad oedd o'r blaen, ag sydd yn cael ei alw calon newydd—duwiol anian—deddf y meddwl—meddwl i adnabod yr Hwn sydd gywir, &c. Ac er "nad o hâd llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw," y mae dynion yn cael eu haileni; eto, er dwyn y cyfnewidiad hwn o amgylch, rhaid cael nerth goruwchnaturiol i gydfyned â'r gair, sef "gweithrediad nerth ei gadernid ef, yr hon a weithiodd efe yn Nghrist, pan y cyfododd ef o feirw."

8. Y mae'r annogaethau cryfaf i'r "*Pregethwr a'r Gwrandawr*" barhau gyda phregethu a gwrando yr efengyl. Oblegid, er nad yw y pregethu a'r gwrando yn ddigonol o honynt eu hunain, eto y mae'r Ysbryd Glân yn abl i wneyd y moddion yn effeithiol, er aileni a santeiddio: ac y mae yn haws gan y Tad ei roddi, nag ydyw gan rieini roddi pethau da i'w plant. Gan fod yr iawn wedi ei dderbyn, a bod Crist yn eistedd ar ddeheulaw'r Tad, fe dywelltir—fe anfonir—fe roddir—ac fe ddaw yr Ysbryd i weithio, nes byddo holl ddeiliaid cyfammod y prynedigaeth—holl wrthddrychau'r iawn a'r eiriolaeth, wedi eu "cwbl iachâu."

*Gwran.* Wel, fy nghyfaill anwyl a hoff, dyma ein hymddyddan heno, eto, yn terfynu, a chan fod Rhagluniaeth yn fy symud i o'r gymydogaeth i fyw, efallai mai'r tro nesaf y cawn weled ein gilydd fydd y dydd hwnw, pan ddygir y pethau tywyll i oleuni, y chwelir yr holl niwl, y penderfynir pob dadleuon, ac y gwel pawb yr orseddfainc yn *wen* ac yn *fawr*.

Yr wyf fi wedi bod, unwaith, yn Galfinist go selog:

ond wrth weled y Ffwleriaid yn ysgrifenu ac yn pregethu'r system newydd i fyny, yn Gymraeg, ac yn Saesonaeg; a'r Calfinistiaid y'mron wedi tewi son am yr hen athrawiaeth; yn wir, yr oeddwn i, fel llawer, yn meddwl eu bod yn tewi, am na feddent ddim i'w ddywedyd; a bod y lleill yn siared, am mai hwynt hwy oedd ar yr iawn. Ond yrŵan, ni wn i ddim yn iawn beth i'w feddwl, na pheth i'w wneyd: y mae fy nghymydogion yn gwybod mai'r hen Galfinistiaid oedd fy mhobl i ar y cyntaf, a'm bod wedi hyny wedi dangos peth sel dros Ffwleriaeth; a phe baswn yn troi yn Galfinist eto, y mae arnaf ofn (rhyngoch chwi a minau) y dywedent, mai rhyw ddynyn anwastad a fyddwn i. Ond, pa fodd bynag am hyny, yr wyf yn ddiolchgar iawn i chwi am y tiriondeb, a'r pwyll, a ddangosasoch yn ein holl ymddyddanion.

Nos da'wch, ffarwel,

*Preg.* Ffarwel, fy nghyfaill, ffarwel. Yr Arglwydd a fyddo gyda chwi a minau, ac a'n dyco i ymddiried byth yn yr iawn, yr iawn mawr y buom yn ymddyddan am dano.

*Gwran.* Amen.

# ATTODIAD.

SYLWADAU AR YSGRIF Y PARCH. J. ROBERTS,

O LANBRYNMAIR,

I'r "DYSGEDYDD," *am fisoedd Hydref, Tachwedd, a Rhagfyr*, 1839,

MEWN

DAU LYTHYR AT GYHOEDDWR "Y DRYSORFA."

## LLYTHYR I.

MR. CYHOEDDWR,—Yr oeddwn wedi clywed er ys misoedd bod "fy nghefnder," Mr. J. Roberts, o Lanbrynmair, yn bwriadu cyhoeddi sylwadau ar "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr;*" ac nid oedd hyny yn ddrwg genyf, canys credwn nas gallai dim ddyfod o'r parth hwnw, amgen nag ymgais am ymresymu têg; ond, erbyn i'r peth ddyfod allan, i'm mawr somedigaeth, ni fedraf ganfod ynddo nemawr, heblaw difrïo personau, a chamddarlunio golygiadau ei wrthbleidwyr. O ran fy serchiadau at fy nghefnder, y mae yn ddrwg genyf iddo ddefnyddio'r fath ddull o ysgrifenu; ond o ran yr egwyddorion a geisiaf eu hamddiffyn, nid ydyw yn ddrwg genyf, canys gwn ei fod yn fwy ffafriol iddynt, ac yn fwy anffafriol i'r eiddo Mr. R. na phe buasai yn ysgrifenu mewn dull boneddigeiddiach; oblegid, pan ydys, wrth geisio amddiffyn pwnc, yn difrïo, yn camddarlunio, yn "wfftio," &c., y mae yn ymddangos i bob dyn meddylgar, naill ai fod y pwnc yn anniffynadwy, neu fod y dadleuwr yn rhy fychan o ŵr i'w amddiffyn. Medr rhai anifeiliaid ysgyrnygu, ond ni fedrant ymresymu.

Ond i sylwi'n fanylach ar yr ysgrif. Y mae Mr. R. yn cwyno nad ydyw "Y Gwrandawr" yn ei foddloni, am ei fod mor dyner a pharod i fyned heibio i wendidau "Y Pregethwr;" ac y mae yn awgrymu, mai yr achos o hyny ydyw, mai *un* yw y ddau. Caniateir yn rhwydd mai *un* yw cyfansoddwr y cwbl o'r ymddyddanion hyn, fel y maent

yn ymddangos yn "*Y Drysorfa:*" ond yr ydys yn sicrhau i Mr. R. fod yr holl ymgymhwyll rhwng "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*," wedi ei sylfaenu ar ymddyddanion a fu rhwng y Pregethwr a chymydog iddo, o bryd i bryd, ar y pynciau dan sylw; ac, yn wir, yr wyf yn meddwl, yn ddibetrus, y gallasai y gŵr hwnw dori cystal *ffigiwr* yn y "*Dysgedydd*," a Mr. R. ei hun, oddieithr fod gan Mr. R. rywbeth mwy gorchestol i ymddangos rhagllaw, na dim a ymddanghosodd hyd yma. Ni byddai o les yn y byd i mi enwi y gŵr, pe amgen, gallwn wneyd yn hawdd: a phe dygwyddwn ei enwi wrth Mr. R. ei hun, nid oes dim ymddiried na chai ei gyhoeddi i'r byd yn y "*Dysgedydd*," yr hyn, o bosibl, ni byddai yn esmwyth i deimladau y gŵr. (Mewn difrif, a oedd yn beth tebyg i dro gŵr boneddig, i Mr. R. gyhoeddi enw ysgrifenydd "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*," cyn i'r ysgrifenydd ei hun ddewis ei gyhoeddi?)

Drachefn, y mae Mr. R. yn grwgnach, mwy na pheidio, am fod y Pregethwr wedi dewis anfon ei ysgrifau i'r "*Drysorfa*." Wel, 1af. "*Y Drysorfa*" yw y llyfr misol Cymreig nesaf at y Pregethwr, a chwi a wyddoch fod y Meistri Cyhoeddwyr yn trin yn gethin, oni thelir llythyrdoll pob llythyr a anfoner iddynt, ac y mae cryn wahaniaeth rhwng 5*c.* ac 11*c.*, yn enwedig os byddant i'w talu yn fynych. Ond 2il. Nid oedd dim yn fwy naturiol, nag i'r Pregethwr anfon ei ysgrifau i'r llyfr misol a gyhoeddir dan olygiad y "Methodistiaid Calfinaidd," yn hytrach nag i un o'r llyfrau misol ereill, oblegid mai gyda yr enwad hwnw o grefyddwyr y mae yn aelod. "Nês penelin nag arddwrn," ebe yr hen ddiareb.

Am gŵyn Mr. R. yn erbyn Mr. P.,* diau genyf fod Mr. P. yn abl ateb drosto ei hun. Gallaf ddywedyd yn ddibetrus, â'm llaw ar y llyfr, y buasai yn dda genyf fi, o'm rhan fy hun, pe cawsai sylwadau Mr. R. eu rhoddi yn "*Y Drysorfa*." Eto, gall fod llawer o ddarllenwyr "*Y Drysorfa*," a'r "*Dysgedydd*," mor selog, neu ragfarnllyd, o blaid eu golygiadau eu hunain, fel y byddai yn flin ganddynt ddarllen dim golygiadau gwahanol iddynt, ac yr ystyrient yn orthrymder orfod talu am y cyfryw. Y mae yn hawdd i bawb, a fyddo yn dewis darllen y ddwy ochr i'r ddadl,

* Beia Mr. R. Mr.P. (cyhoeddwr y Drysorfa) a'i frodyr yn fawr am wrthod ei ysgrifau i'r cyhoeddiad hwnw.

wneyd hyny, trwy fod un yn ymddangos yn "*Y Drysorfa*," a'r llall yn y "*Dysgedydd*." Ond am fyned i ormesu ar neb i ddarllen, a thalu am gael darllen, neu wrando yn groes i'w hewyllys, dysgwyliwn fod Mr. R. yn rhy *liberal* i geisio'r fath beth. Ond gan y bwriedir cyhoeddi "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*" yn llyfryn wrtho ei hun, ni bydd gan Mr. R. un esgus o gam i gwyno am dano, canys gall yntau gyhoeddi ei sylwadau yn yr un modd.

A pha beth, dybygech chwi, Mr. Cyhoeddwr, a allasai beri i'r gŵr *parchedig* geisio gwneyd rhyw anferthlun (*caricature*) o'r Pregethwr, megys *mewn pit—â barau heiyrn o'i gwmpas—yn bygwth—yn saethu magnelau—yn ymladd â'i gysgod—yn edrych rhwng y barau—yn ymdreiglo yn y llwch—yn bloeddio Buddugoliaeth, a'r bobl o'i amgylch yn curo eu dwylaw, ac yn gwaeddi Huzza!* Mewn difrif, a ydyw egwyddorion yr enwog Andrew Fuller, a'r dysgedig Ddoctor Williams, yn galw am ryw ystwff fel yna i'w hamddiffyn? Neu, a oes rhywbeth yn sylwadau y Pregethwr ar eiddo fy hybarch ewythr, yn galw am y fath driniaeth oddiar law ei fab? Ow! Mr. Roberts, ai fel hyn y triniwch eich "cefnder?" Beth mwy a allasech, pe na buaswn ond *cyfyrder!*

Nid wyf yn gwybod yn siwr, beth y mae Mr. R. yn ei feddwl wrth ddywedyd fod egwyddorion llyfr Jenkyn yn sefyll yn ddigryn y'nghanol chwareufwrdd "*Y Drysorfa*," heb niwed ar un o honynt, mwy nag ar y tri llanc yn y ffwrn dân, &c. Os meddwl yr ymadrodd yw, mai gwirionedd yw egwyddorion llyfr Jenkyn, a'u bod, am hyny, yn anorchfygadwy, nid yw ddim amgen na *begio'r cwestiwn;* oblegid, pa un ai bod yr egwyddorion hyn yn wirionedd ai peidio, ydyw y pwnc mewn dadl. Ond os meddwl Mr. R. ydyw, nad ydyw rhesymau y Pregethwr yn gwneyd i neb feddwl yn îs am "egwyddorion llyfr Jenkyn," nag yr oeddynt yn meddwl o'r blaen, gallaf sicrhau iddo, trwy lawer o dystion, ei fod yn camgymeryd. Ond pa raid wrth dystion? onid yw y naws rochus sydd y'mhob *paragraph* o'i ysgrif yn y "*Dysgedydd*," yn profi fod "bygythion, magnelau, a saethau y Pregethwr," (chwedl yntau,) wedi gwneyd rhyw gynhwrf aruthrol yn meddwl y gŵr ei hun? Os yw hyna yn rhy debyg i hunan-ymffrost, nid oes genyf ond dywedyd wrth Mr. R., Mi a aethym yn ffol,—chwychwi a'm gyrasoch.

Dywed Mr. R., yn nechre ei ysgrif, fod yr "Ymddyddan-

ion rhwng '*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*,' er amddiffyn egwyddorion yr Uwch-galfiniaid." Da pe Mr. R. fuasai yr unig un sydd yn ceisio gwarthnodi y Calfinistiaid â'r enw Uwch-galfiniaid; ond, ysywaeth, y mae yn beth cyffredin gan y Ffwleriaid yn y dyddiau hyn, yn enwedig yn Nghymru. Y mae yn anhawdd gwybod beth a all fod eu dybenion, os nad ceisio dallu y werin i feddwl mai egwyddorion yr Uwch-galfiniaid yw eiddo y Methodistiaid Calfinaidd, yn nghyda'r rhai sydd yn mysg Independiaid a Bedyddwyr heb gofleidio'r gyfundraith Ffwleraidd; pan mewn gwirionedd y maent cyn belled oddiwrth yr egwyddorion hyny ag ydyw y Ffwleriaid eu hunain. Sylwer am fynyd ar rai o egwyddorion yr Uwch-galfiniaid, sef, *fod dynion yn wrthddrychau etholedigaeth neu wrthodedigaeth, fel creaduriaid, ac nid fel pechaduriaid—fod yr etholedigion wedi eu cyfiawnhau er tragwyddoldeb—ac nad oes a wnelo galwad yr efengyl ond â'r etholedigion yn unig.* Gofynaf, pa erthygl o "*Gyffes Ffydd*" y Methodistiaid Calfinaidd sydd yn dal un o'r golygiadau yna? neu y'mha gymdeithasiad y penderfynasant ar gyfryw olygiadau? neu pa bregethwr yn eu plith a oddefwyd i bregethu y cyfryw bethau, pan y ceid tystiolaeth glir ei fod yn gwneyd hyny? Os na all Mr. R. a'i gyfeillion ateb y cwestiynau yna, gofynaf eto, Pam y rhaid iddynt alw golygiadau y Methodistiaid yn Uwch-galfiniaeth? Cafodd y rhai oedd o'r un farn, am y "pum pwynt," ag ydyw y Methodistiaid Calfinaidd, eu galw yn Galfinistiaid dros gannoedd o flyneddoedd gan eu pleidwyr a'u gwrthbleidwyr, heb neb, am a wn i, yn eu galw yn Uwch nac yn Is, ac felly eu gwahanieithid oddiwrth bawb ereill. Pan y mae plaid yn codi o blith Calfinistiaid, i ddal egwyddorion gwahanol i'r hen egwyddorion, gonestrwydd fuasai iddynt gymeryd enw newydd arnynt eu hunain, a galw eu brodyr wrth yr enw ar ba un eu gelwid bob amser; ond yn lle hyny, y mae'r Ffwleriaid, yn Nghymru, am dwyllo y werin, trwy geisio cadw'r hen enw ar eu hegwyddorion newydd eu hunain, a rhoddi enw newydd ar hen egwyddorion eu brodyr. Wrth alw y golygiadau Ffwleraidd yn newydd, nid ydys yn meddwl nad oedd ambell i un yn dal rhywbeth tebyg iddynt o ddechread y diwygiad; ond yr oeddynt mor anaml, hyd yn ddiweddar, fel nad oeddynt yn cael eu cyfrif yn blaid yn y byd crefyddol, nac un enw yn cael ei roddi arnynt fel y cyfryw: felly, nid ydynt, fel plaid neu enwad cref-

yddol, ond newydd. Y mae'n wir i'r enwog R. Baxter geisio cael llwybr canol rhwng Calfinistiaeth ac Arminiaeth; ond yr oedd ei ganlynwyr ef yn ddigon gonest i gymeryd yr enw Baxteriaid arnynt eu hunain, ac felly yr oedd yn hawdd i'r byd wahaniaethu rhwng yr hen a'r newydd; ond nid felly y blaid newydd yn ein dyddiau ni.

Y mae'n debyg fod y diweddar Barch. Robert Hall yn un o'r nodweddiadau dysgleiriaf a fedd y Ffwleriaid i ymffrostio ynddynt: ond yr oedd y gŵr enwog hwnw, ar gyfrif ei olygiadau Ffwleraidd, yn cyfaddef *nad oedd ef ddim yn Galfinist*, yn ol ystyr manylaf y gair: a pha beth oedd hyny, ond cydnabod nad yw y rhai a ddaliant y golygiadau hyny ddim yn Galfinistiaid? o leiaf, cyn belled ag yr oedd y gŵr hwnw yn deall ansawdd pethau. Ond yr oedd R. Hall yn ŵr boneddig, y'mhell uwchlaw cymeryd un fantais annhêg ar ei wrthbleidwyr.

Gwnaethym y sylw yna ar *enwadau*, nid am fy mod yn eu hystyried o un pwys ynddynt eu hunain, ond fel y maent yn cynrychioli *egwyddorion*. O ran yr enwad ynddo ei hun, ni waeth gen'i o bin, pa un a gaf fy ngalw yn Uwch-galfiniad, ai yn Galfiniad, ai yn Ffwleriad, neu'n Armin. Ond gan fod enwadau yn cynrychioli egwyddorion, y mae o bwys i ni wahaniaethu rhwng y naill a'r llall, rhag i ni arwain dynion i gamgymeryd egwyddorion ein gilydd.

Buasai galw y Pregethwr yn Uwch-galfiniad, yn y "*Dysgedydd*," yn peri i'r darllenwyr feddwl fod y dyn yn dal egwyddorion yr Uwch-galfiniaid; ond y mae Mr. R. yn myned y'mhellach, ac yn dywedyd yn hyf fod "*Ymddyddanion y Pregethwr a'r Gwrandawr* er amddiffyn egwyddorion yr Uwch-galfiniaid." "Na ddwg gamdystiolaeth yn erbyn dy *gymydog*," chwaethach dy *gefnder*.

Y mae'n debyg, Syr, yr ystyria yr Independiaid yn beth di-*fanners* yn y dyddiau hyn, i ysgrifenu un traethawd heb roddi hergwd, wrth fyned heibio, i ŵr y Fron, Môn. Dywed Mr. R. fod ei "sŵn cwynfanus, a'i ocheneidiau dwys, yn rhoddi ar ddeall fod y darfodedigaeth wedi ymaflyd y'mhynciau y ffydd yn y dyddiau enbyd hyn." Wel, os ydyw ocheneidiau "yr hen feddyg," (fel y mae Mr. R. yn dewis ei alw,) yn arwyddo fod y darfodedigaeth wedi ymaflyd y'mhynciau ei ffydd ef; rhaid, dybygwn i, fod ocheneidiau y meddygon ieuainc yn y pulpudau ac yn y "*Dysgedydd*," yn arwyddo fod rhyw haint wedi ymaflyd yn eu pynciau hwythau. Nid oes ond ychydig o fisoedd er pan oedd gŵr o'r

enw Eta Delta, yn cwyno fod egwyddorion niweidiol, os nad dinystriol, yn ymledu ar hyd y wlad; ac yn galw ar gryn hanner dwsin neu chwaneg o'r meddygon, wrth eu henwau hefyd, i ddyfod allan er attal yr *epidemic*. "Pobl y tai gwydr (onite, Syr) a ddylent fod yn olaf i luchio cerig."

Dywed Mr. R. "fod tair ffordd dra neillduol gan y Pregethwr i fyned heibio annghymhwysderau ei gyfundraith. Yn gyntaf, trwy ddywedyd, Nid wyf yn gwybod, ac y mae'n gabledd i neb arall geisio gwybod. Yn ail, os na fedraf fi ddangos cysondeb y peth hyn, ni fedrant hwythau ddangos cysondeb y peth arall. Yn drydydd, drwy lwydo y dwfr, nad oes neb a ŵyr pa un ai gwir, ai yr hyn sydd i'r gwrthwyneb, y mae yn ei draethu."†

Am y cyntaf, yr wyf yn dyweyd fod Mr. R. eto yn cymeryd yn ganiataol yr hyn sydd i'w brofi, sef bod annghymhwysderau y'nghyfundraith y Pregethwr. Y mae'n wir, pan y mae y Pregethwr yn cael ei argyhoeddi o wirionedd unrhyw ddau osodiad, y'ngwyneb beibl a rheswm, na fedr lai na'u credu, a chredu eu bod yn gymhwys, er na bo ef yn amgyffred eu cymhwysder. Y mae Mr. Jenkyn yn cydnabod yr egwyddor hon, ac yn adeiladu arni.‡ Yn awr, gan fod "egwyddorion llyfr Jenkyn yn sefyll yn ddigryn; ac nad oes niwed ar un o honynt, mwy nag ar y tri llanc pan y'nghanol y ffwrn dân," a bod yr egwyddor hon yn un o honynt, rhaid ei bod hithau yn sefyll yn ddigryn, &c., er pob ymosodiad a wneler arni. A glywsoch chwi erioed, Mr. C., am yr ymddyddan digrifol hwnw rhwng y *Ffarmwr* a'r *Twrne*.

"*Ffar*. Y mae yn ddrwg iawn genyf, Syr, ddyweyd fod fy eidion i wedi lladd eich eidion chwi.

*Twr*. Wel, Siôn, chwi a wyddoch, nad oes dim sydd decach, pan ddygwyddo peth felly, nag i berchenog yr eidion byw dalu am yr eidion marw.

*Ffar*. Begio'ch pardwn, Syr, mi a gamddywedais. Eich eidion chwi a laddodd fy eidion i.

*Twr*. *O! mae hyny yn altro'r mater, Siôn*."

Pan y mae'r Calfinist yn methu â dangos cysondeb pob peth yn ei gyfundraith, y mae y Ffwleriaid yn ei gondemnio ef a'i system yn y fan: ond pan y mae'r Ffwleriad yn methu â dangos cysondeb yr eiddo ef, nid oes dim i'w ddyweyd,

† Gwel Dysgedydd, Cyf. xviii. tudal. 309.
‡ Gwel Jenkyn on the At. tudal. 137.

mae'n debyg, ond fel y *Twrne*, "*Fod hyny yn altro'r mater.*" Am ddyweyd fod yn gabledd i neb arall geisio gwybod yr hyn y mae'r Pregethwr yn proffesu ei anwybodaeth o hono; gofynaf, y'mha le y dywedodd y Pregethwr hyny? Pa rifyn? Pa dudalen?

Drachefn, pan mae y Pregethwr yn dyweyd, Os na fedraf fi ddangos cysondeb y peth hyn, ni fedrant hwythau ddangos cysondeb y peth arall, nid yw'n rhoddi hyny fel rheswm o blaid y naill system, nac yn erbyn y llall; ond yn unig fel un o lawer o resymau am wrthod newid y naill am y llall: attolwg, a ydyw hyny ddim yn dêg? Bwriwch mai cloff yw ceffyl y Pregethwr; onid trafferth ofer, o ran y cloffni, fyddai iddo ei newid am geffyl arall cyn gloffed ag yntau? Pe gofynid iddo, pa ddefnydd i chwi son am gloffni'r ceffyl arall? a ydyw hyny yn rhyw ganmoliaeth i'ch hen geffyl chwi? Nac ydyw, nac ydyw, (atebai yntau,) ond y mae yn ddigon o reswm am beidio â *newid* y ddau, oni bai i mi gael rhyw fai yn yr hen geffyl, heblaw cloffni. Pam y soniwch chwi, medd Ffwleriaid, am anhawsderau i gysoni y naill beth a'r llall yn ein system ni? nid yw hyny ddim at ddangos cymhwysder yr eiddo chwi. Siwr iawn; ond eto, os ydyw yr anhawsdra yn gymaint (heb son am fwy) o du y Ffwleriaid, ag ydyw o du y Calfinistiaid; y mae yn ddigon o reswm am beidio â'u newid, oddieithr fod rhyw reswm heblaw anhawsder i gysoni pethau, i'w roddi dros yr ymddygiad.

Yn drydydd. Am "lwydo'r dwfr," yr wyf yn berffaith foddlawn i roddi at farn y cyffredin, pa un ai'r Pregethwr ai Mr. R. sydd yn llwydo mwyaf arno. Wedi dyfynu pump o sylwadau y Pregethwr, y mae Mr. R. yn dysgrifio fel y canlyn:—"Dywed (y Pregethwr) yn y cyntaf a'r ail, beth yw iawn. Yn y trydydd, dywed *nad oes y fath beth yn bod* ag iawn. Yn y pedwerydd, dywed fod Iesu Grist *yn* iawn. Ac yn y pummed, dywed *nad* iawn oedd."

Yn siwr y mae'r dwfr yn ddigon llwyd yn y lle yna; ond cofied Mr. R. mai efe ei hun, ac nad y Pregethwr, a'i llwydodd. Barned pob darllenydd diduedd os oes dim tebyg i ymresymiad gonest yn y *paragraph* dan sylw. Pan y mae y Pregethwr yn dyweyd "nad oes dim iawn i fod *yn lle cospedigaeth pechod*, am fod pechod a chosp yn angenrheidiol gysylltiedig â'u gilydd!" a oedd yn dêg, attolwg, i Mr. R. hòni ei fod yn dywedyd "nad oes y fath beth yn bod ag iawn?" Ai yr un peth yw dyweyd nad oes iawn i fod

*yn yr amgylchiad a enwir*, a dywedyd "*Nad oes y fath beth* yn bod ag iawn?" Os felly, rhaid fod y beibl yn dyweyd "na wneir iawn," pan y dywed, "na wneir iawn *am anwiredd tŷ Eli.*" Drachefn, pan y mae y Pregethwr yn dyweyd, "Nad iawn, hyny yw, nad rhyw beth yn lle cospedigaeth, oedd dyoddefaint Crist, ond y gospedigaeth ei hun;" ai tegwch oedd i Mr. R. hòni ei fod yn dyweyd, "Nad iawn oedd (Iesu Grist)?" Pe bai Mr. R. yn gwneyd sylwadau ar holl ymddyddanion y "*Pregethwr a'r Gwrandawr*," os na newidiai ei lwybr, yr wyf yn ei hollol gredu, "y byddai yn un o'r erthyglau meithaf a welodd y "*Dysgedydd*" erioed, ac na byddai tuedd neillduol ynddo i wneyd y Cyhoeddiad hwnw yn ddefnyddiol, beth bynag am boblogaidd. Yn wir, y mae darnio brawddegau, a dethol gair oddiyma, a gair oddidraw, i'r dyben i dywyllu ymresymiad ysgrifenydd, neu i'r dyben i "lwydo'r dwfr," a dyweyd wed'yn mai yr ysgrifenydd ei hun a'i llwydodd, yn beth drygionus, hyny yw, y mae *drwg moesol* ynddo. Pe arferid y mesurau hyn efo'r beibl ei hun, gellid ei wneyd yn Babel o gymysgfa. Ond hyderir fod Mr. R. yn arfer mwy o foesgarwch wrth esbonio'r beibl, er fod rhaid i'r Pregethwr (dyn a'i helpio!) gael ei drin fel hyn.

Gofynaf eto i Mr. R. y'mha rifyn, ac ar ba dudalen, y mae y fath beth a bod y Pregethwr yn "gweiddi Sociniaid ac Anffyddwyr ar ol pobl?" Gwir iddo ddywedyd mai yr un rhesymau sydd yn cael eu defnyddio gan Ffwleriaid, wrth wadu cyfrifiad pechod Adda i'w hiliogaeth, a phechodau ei bobl ar Grist, ag a ddefnyddir gan Sociniaid wrth wadu athrawiaeth yr iawn, &c. A gwaded Mr. R. hyny os gall. Dywedodd y Pregethwr hefyd, fod yn ddrwg ganddo fod Mr. J. a'i bleidwyr, wrth gymeryd arnynt amddiffyn athrawiaeth yr iawn, yn rhoddi cymaint o achlysur i wadwyr yr athrawiaeth, i gablu; nad ydyw Mr. J. yn ergydio at Sociniaid, yn ei draethawd, gyda'r un chwerwder ag y mae yn cilgwthio'r Calfinistiaid; a'i fod yn ofni fod Mr. J. yn nes at y Sociniaid, o ran ei farn, nag y dychymygasai cyn darllen ei draethawd.§ Ond a ydyw hyn yn cynwys "gweiddi Sociniaid ar ol pobl?"

Nid yw Mr. R., dybygid, ond dechreu efo ei sylwadau ar duedd y ddwy gyfundraith, gan hyny gadawaf ar hyny am y tro presenol. Ac os gwelir rhyw bethau o bwys yn cael

§ Gwel Drysorfa, tudal. 139.

eu dwyn i'r golwg yn y sylwadau hyny, ag nad ystyriwyd yn dêg yn yr ymddyddanion rhwng y "*Pregethwr a'r Gwrandawr;*" gall hyny fod yn destyn llythyr eto, os caniateir iddo le yn "*Y Drysorfa.*"

Goddefwch, Syr, i mi, wrth roddi fy ysgrifell heibio, i ddyweyd, er fod fy nghefnder a minau yn wahanol o ran ein golygiadau, a hyny, yn wir, ar bethau pwysig; eto, byddai yn ddrwg iawn genyf fi i hyn o gymhwyll fod yn foddion i ddyrysu nac i oeri dim ar y cyfeillgarwch ag sydd wedi bod rhyngom dros lawer o flyneddau, ïe, er pan yn blant yn yr ysgol.

Daw hyn atoch, Mr. Cyhoeddwr, ar ol ymddyddanion y "*Pregethwr a'r Gwrandawr,*" oddiwrth eich cyfaill diffuant,

*Liverpool,* } RICHARD WILLIAMS.
*Tach.* 5, 1839. }

## LLYTHYR II.

MR. CYHOEDDWR,—Pan mae Ffwleriaid yn hòni mai rhyw *valuable consideration* ydyw yr iawn, fel y gellid achub heb beryglu y llywodraeth foesol, yr unig adnodau a ddygant yn gyffredin i brofi y pwnc, ydyw Rhuf. iii. 25, 26, "Yr hwn a osododd Duw yn iawn," &c.; a dyma yr ysgrythyr sydd gan Mr. Roberts yn destyn i'w ddarlith yn y "*Dysgedydd,*" *rhif.* 215—217.

Yr wyf finau yn foddlawn i'r testyn gwerthfawr hwn gylafareddu rhyngom, er penderfynu y ddadl bresenol. Sylwer yn fanwl,

1af. Crist ei hun, trwy ddyoddef y wir gospedigaeth am bechodau ei bobl, yw yr iawn, medd y Pregethwr.—Dyoddefaint Crist, medd y Ffwleriaid, sydd yn iawn, h. y., yn *valuable consideration*, yn lle y gospedigaeth.—Pa beth, attolwg, a ddywed testyn Mr. R.? "*Hwn* (sef Crist Iesu) a osododd Duw yn iawn."

2il. Dywed Mr. Jenkyn, mai rhyw ddyfais (*expedient*) *yn lle* y gospedigaeth gyfiawn am bechod, yw yr iawn, fel y gellid, yn ddiogel, wneyd cymwynasau i'r troseddwr.—Dywed y Pregethwr fod nid yn unig *cymwynasgarwch*, ond cyfiawnder hefyd, yn cael ei ddangos, mewn maddeu trwy yr iawn, am fod cosp gyfiawn y sawl y maddeuir iddynt, wedi ei dwyn gan eu Meichai.—A dywed testyn

Mr. R. mai "Hwn a osododd Duw yn iawn—i ddangos (ei *gymwynasgarwch* ef? Y mae hyny yn *wir*, ond nid *y gwir* yn yr adnod dan sylw, eithr i ddangos) ei *gyfiawnder* ef trwy faddeuant," &c.

3ydd. Myntumia y Ffwleriaid mai rhyw ymddanghosiad o gosp yw yr iawn, tebyg i rywbeth a weinydda ysgol-feistri a rhieni ar ryw drydydd person yn lle ceryddu plentyn am ei drosedd.—Dywed y Calfinistiaid, fod Crist wedi dyoddef yn llawn y gospedigaeth ag oedd yn gyfiawn i bob un a gyfiawnheir.—"Fel y byddai efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau," medd testyn Mr. R.—Nid fel yr *ymddanghosai* yn gyfiawn, ac nid yn unig "i ddangos ei gyfiawnder," ond "fel y *byddai* efe yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau." Tebyg fod Paul yn golygu, nid yn unig na buasai *ddiogel*, ond hefyd na buasai *gyfiawn* cyfiawnhau heb iawn; ond gan fod iawn wedi ei gael, y gospedigaeth wedi ei dyoddef, mai cyfiawnder yw cyfiawnhau yr holl wrthddrychau. Yn wir, y mae yn ymddangos i mi, nad oes ond y farn Galfinistaidd a gydwedda â thestyn Mr. Roberts.

Wel, wrth weled ysgrythyr mor werthfawr yn cael ei gosod gerbron, gan y gŵr; *hist*, meddwn i, ynof fy hun, y mae y rhyferthwy drosodd, yr ystorm wedi tawelu: ond gyda ei fod yn dechreu trin ei benau, "y mae cwmwl (chwedl y diweddar Barch. E. Richard) yn derbyn y testyn o'n golwg," ac nid ydym yn ei weled mwy oddiyno hyd ddiwedd y traethawd. Ond, gan droi megys ar ei sawdl, y mae yn dychwelyd i gamliwio y Pregethwr, a chamddyfynu ei ysgrifau, fel y caf ddangos rhaglaw. "Da mhobl i, (meddai un gweinidog,) peidiwch â gwneyd drwg, yn enwedig os gwyddoch eich bod;" ond efallai na chlywodd Mr. R. mo'r bregeth hòno.

Y mae yn debyg, Mr. C., eich bod yn cofio ddarfod i mi hanner addaw ail lythyr, os gwelwn ryw bethau o bwys yn sylwadau Mr. R. ar dueddiadau y ddwy *system*, ag nad ystyriwyd yn dêg gan y "*Pregethwr a'r Gwrandawr.*" Ond wrth sylwi ar y chwech drwg-dueddiadau a briodola Mr. R. i *system* y Pregethwr, ni welaf gymaint ag un, ond a gynygiwyd fel gwrthddadleuon, gan y Gwrandawr, (er, o bosibl, nad yn yr un geiriau,) ac a atebwyd gan y Pregethwr: ai yn dêg, ai yn annhêg—barned y darllenwyr.

Wedi i Mr. R. gystal a dywedyd mai cysgod y Pregethwr yw gwrthddadleuon y Gwrandawr, onid digrifol braidd yw fod y gŵr yn codi yr un gwrthddadleuon i gynal ei gyfundraith? Pa beth, a oes un *prop* i'w gael i gynal *system*

Mr. R., heblaw cysgod y Pregethwr? Tlawd iawn, yn wir! Neu a ydyw y Pregethwr yn un ag y mae ei gysgod o gymaint o ddefnydd i Mr. R. a'i gyfundraith? Diolch iddo am y *compliment*, ond gobeithio, ar yr un pryd, y paid y Pregethwr âg ymfalchïo.

Bellach, gan mai yr un ydyw gwrthddadleuon Mr. R. a'r eiddo y Gwrandawr, ac nad yw Mr. R. yn gwneyd dim tebyg i'w hateb, heblaw crogi a chamddarlunio ymadroddion, a phriodoli i'r Pregethwr eiriau na ddywedodd erioed; gallaswn gadw fy ngair, heb wneuthur un sylw ar y rhan hon o'i ysgrif; ac nid wyf yn bwriadu cynyg ateb y gwrthddadleuon hyn bob yn un ac un, nes y dangosir ffalsedd yr atebion a roddwyd iddynt gan y Pregethwr. Ond eto, yr wyf yn canfod gan Mr. R. rai ymadroddion, ag y byddai eu pasio yn ddisylw yn anfrawdol ac annghefnderaidd.

Am y pennillion a gondemnia Mr. R. nid wyf yn awr yn cofio y'mha le y clywais eu canu, heblaw y'nghapel *Dissenters* Llanbrynmair, yn amser fy ewythr, y Parch. John Roberts, tad y ddau Roberts presenol.

Paham y mae Mr. R. yn myntumio eilwaith ac eilwaith, fod y Pregethwr yn dal fod Iesu wedi dyoddef cosp pechod? Y beibl, ac nid y Pregethwr, sydd yn dal yr athrawiaeth. "Cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef." Esay liii. 5. Yn awr, os oes canlyniadau chwithig i'r athrawiaeth hon, megys "mai cellwair yw son am edifeirwch, a gwaith yr Ysbryd Glân; ac mai chwareu plant yw yr Ysgol Sabbothol, pregethiad yr efengyl," &c., rhaid i Mr. R. eu rhoddi yn siars y beibl, ac nid yn siars y Pregethwr.

Eilwaith, "Pan y mae rhai (medd Mr. R.) yn amcanu profi yn wylaidd a gostyngedig, mai denu y meddwl, trwy foddion, y mae (yr Ysbryd Glân), cyhuddir hwy o wadu ei waith," &c.* Pa beth, ai galw pobl yn *gleps*, a *phedleriaid* mewn nwyddau chwedlog, &c., fel y gwneir yn Rhagdraith y bregeth a gyhoeddwyd yn ddiweddar ar "Yr Ysbryd a'r Briodasferch," ai hyn, meddaf, a eilw Mr. R. yn wylder a gostyngeiddrwydd?

"Yr wyf yn gwybod (medd Mr. R. drachefn,) fod y Pregethwr—yn dywedyd fod Iesu wedi prynu y moddion," &c. Pa bryd, ac y'mha le y dywedodd y Pregethwr hyna? Nid yw y Pregethwr ei hun yn gwybod ddarfod iddo ddywedyd y fath beth erioed; felly, rhaid fod Mr. R. naill ai

* Gwel 'Dysgedydd,' Cyf. xviii, tudal. 332.

yn rhyfygu dywedyd peth nas gŵyr, neu ei fod yn adnabod y Pregethwr yn well nag y mae y Pregethwr yn adnabod ei hun.

Y mae Mr. R. yn gofyn, "Paham y rhoddwyd moddion moesol mewn cyfundraith sydd oll yn dreisiol ac anianyddol?" Cynghorwn i ef i fyned â'i gwestiwn at y sawl sydd yn dal y fath gyfundraith, os oes y fath bobl i'w cael.

A thrachefn, "Nid yw y duwiol na'r annuwiol, ïe, na Duw ei hun, yn rhydd-ewyllysiwr, yn ol yr athrawiaeth hon"† (Calfinistiaeth). Fod dynion yn abl ewyllysio yn groes i'w hanian lywodraethol, neu fod Duw yn rhydd i ewyllysio yn groes i'w gyfammod a'i addewid, sydd athrawiaeth na chydnabyddir yn yr ysgrythyrau. Yr un peth yw dywedyd y gall Duw ewyllysio yn groes i'w addewid, a dywedyd y gall ewyllysio yn groes i'w ewyllys, canys ewyllys Duw yw ei addewid.

Ar yr un tudalen eto. "Dengys (yr athrawiaeth a bleidir gan y Pregethwr) Dduw fel un ag a fyddai yn ymhoffi mewn creulondeb, yn nygiad i fodolaeth y rhai na ddyoddefodd Crist y gospedigaeth gyfiawn am eu pechodau."

Wel, yn ol golygiadau y Dr. Williams, yr oedd y dyn cyntaf, yn gystal a'r angelion a syrthiasant, yn sicr o syrthio i bechod a damnedigaeth y foment y peidiai ei Greawdwr â'i gynal mewn *stât* o santeiddrwydd. Yn awr, os nad ydyw yn greulawn dwyn creadur i fod, a'i adael mewn sefyllfa ag y byddai yn siwr o syrthio i bechod a thrueni, nis gwn pa greulondeb yw dwyn i fod y rhai ni bu Crist farw trostynt.

Drachefn, dywedai y diweddar Barch. J. Roberts, o Lanbrynmair, "fod yn anmhosibl i Dduw achub un pechadur ond yn ol ei arfaeth dragwyddol."‡ Yn awr, os nad ydyw yn greulawn i ddwyn dyn i fod, heb ei ethol yn yr arfaeth, nid yw yn greulawn chwaith ei ddwyn i fod, heb i Grist ddyoddef y gospedigaeth am ei bechodau; canys y mae'r naill mor rheidiol er iachawdwriaeth ag yw'r llall.

Eilwaith, eto, y mae y myrddiynau paganiaid yn cael eu dwyn i fod, a'u damnio, heb glywed erioed son am yr iawn. Ond, pe byddai yn greulawn dwyn dyn i fod, heb fod iawn wedi ei wneyd dros ei bechodau; oni byddai yn

† Gwel 'Dysgedydd,' Cyf. xviii, tudal. 332.
‡ Gwel "Galwad Difrifol," tudal. 32.

greulawn hefyd, i ddwyn dynion i fod, a'u damnio, heb glywed son am yr iawn? oblegid y mae clywed am yr iawn mor angenrheidiol er iachawdwriaeth rhai mewn oedran, ag oedd cael iawn: "Pa fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano?" "A'r hwn ni chredo a gondemnir." Pe bai grym yn yr wrthddadl hon o eiddo Mr. R., byddai raid i'r Ffwleriaid deimlo ei min yn gystal a'r Calfinistiaid, nes y gwadont etholedigaeth gras, ac yr haeront fod pob peth angenrheidiol i iachawdwriaeth yn cael eu rhoddi i bawb yn ddiwahaniaeth.

Yn wir, pe buasai y bai o dynu dynion i bechod a thrueni ar y Creawdwr, neu pe buasai arno ddyled i achub, buasai pwys yn yr wrthddadl, fod yn greulawn dwyn dynion i fod, a'u cospi o herwydd eu pechodau. Ond y gwirionedd yw, nad oedd arno ddyled i achub neb, dynion mwy na chythreuliaid. Y mae holl drefn achub i gyd o ras penarglwyddol: gan hyny, nid creulondeb a fuasai gadael dynion fel y cythreuliaid, heb arfaethu na iawn, nac arall, er eu gwaredigaeth; ond anfeidrol ddaioni oedd i Dduw fwriadu achub neb, a rhoddi ei Fab i fod yn iawn drostynt. Os gofynir, Pam rhai mwy nag ereill? nid oes i'w ddywedyd, ond "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!"

Y mae Mr. R. yn gofyn, "A oes rhyw reswm yn y dywediad, y bydd cosp gwrandawyr yr efengyl yn drymach nag eiddo y paganiaid, os yr oll a wnaeth Crist oedd prynu personau ei bobl? A oes gan anetholedigion gwlad efengyl obaith am eu bywyd, mwy nag anetholedigion Siberia?"§

Yr wyf yn ateb, Oes; oblegid y mae gobaith yn cael ei osod o'u blaen yn yr efengyl; gelwir arnynt i gredu, ac ni chollir pwy bynag a gredo. Ond pa fodd y cred y Siberiaid yn yr hwn ni chlywsant am dano? Drygioni trigolion gwlad efengyl yw annghredu, ond nis gellir dywedyd hyny am y paganiaid, oblegid na chlywsant erioed son am wrthddrych credu. Os gofynir, beth fyddai dyn well er credu, os na wnaed iawn drosto? Atebaf, Pe bai dim daioni yn dyfod i ddyn trwy gredu; eto, pan y mae Duw yn llefaru, ei ddyledswydd ef yw credu; ac yn gymaint ag y bydd yr annghredadyn wedi esgeuluso dyledswydd bwysig, ac na esgeulusodd y pagan, bydd ei drueni yn fwy na'r eiddo y

§ Gwel "*Dysgedydd*," Cyf. xviii, tudal. 333.

pagan. Ond gan na chollir pwy bynag a gredo, ond caffael o hono fywyd, y mae hyn yn annogaeth annhraethol fawr i gredu—yn gwneyd y bai o esgeuluso y ddyledswydd yn annhraethol fwy—a'r gospedigaeth am hyny yn annhraethol drymach. Trymach, meddaf, ar y Cymry nag ar y Siberiaid, am iddynt esgeuluso dyledswydd nad esgeulusodd y Siberiaid; a thrymach drachefn o gymaint a bod bywyd yn gysylltiedig â chredu, na phe buasai credu yn ddyledswydd, heb un fantais adnabyddus yn dylyn ei chyflawni.

Os gofyn Mr. R., Pa fodd y buasai bywyd yn dylyn gwaith dyn yn credu os na wnaed iawn drosto? Minau a ofynaf, Pa fodd hefyd, os na etholwyd ef? Felly nid yw yr wrthddadl hon eto werth dim i'r Ffwleriaid, nes y byddont barod i wadu etholedigaeth; a phan y gwnelont hyny, ceir siared â hwy ar y tir hyny megys âg Arminiaid ereill. Os yw y beibl yn dangos mai y sawl a gedwir a etholwyd ac a brynwyd, a bod pawb ag sydd yn clywed yr efengyl mewn sefyllfa o obaith, ein dyledswydd yw credu y ddau beth, er na fedrem amgyffred eu cysondeb â'u gilydd.

Ar yr un tadalen cawn gymhariaeth gan Mr. R. i ddangos anferthwch *system* y Pregethwr, fel hyn,—"Tybiwn am ddau blentyn yn rhwym o groesi yr afon wrth fyned adref. Yr oedd cwch yn myned drosodd ar y pryd, ond y lle i gyd wedi ei gymeryd. Boddodd un o honynt o fewn deng milldir, allan o'r golwg ac allan o'r sŵn; boddodd y llall wrth ochr y cwch, y'nghlyw y *passengers*, ac yr oedd amrai o honynt yn llefain, Tyred yma; ond gwawdiaith oedd hyn, oblegid yr oedd y lle i gyd wedi ei gymeryd. A oedd yr agosaf at y cwch yn cael rhyw fraint mwy na'r pellaf? Onid llai? Onid oeddid yn ymddwyn yn greulonach tuag ato? Ond tybiwn fod yn bosibl i'w tad gael gafael arnynt drachefn, i'w ceryddu am foddi; a cheryddodd yr agosaf at y llestr yn llawer llymach, am ei fod wedi gwrando rhith-wahoddiadau y rhai oedd ar y bwrdd. Rhyw olwg fel hyn a rydd yr athrawiaeth hon ar Dduw."

Nage, fy nghefnder, nid oes dim tebyg i Galfinistiaeth yn y gymhariaeth; oblegid, 1af. Nid oedd dim lle i'r plant yn y cwch pe daethent ato; ond "Eto, mae lle" (medd y Pregethwr) i bwy bynag a ddel. 2il. Y mae y *passengers* yn gwaeddi pan y gwyddant na etyb eu gwaeddi un

dyben; ond y mae y Calfinistiaid yn pregethu, gan obeithio, ar seiliau gair Duw, y llwyddant; ac yn wir, y maent yn llwyddo hefyd. 3ydd. Anffawd y nesaf at y cwch, yn gystal a'r pellaf oddiwrtho, oedd boddi; ond bai, medd y Calfinistiaid, ydyw i ddyn selio ei ddamnedigaeth, drwy wrthod credu. Cynygiaf gymhariaeth arall yn lle'r eiddo Mr. R., a barned y darllenydd pa un o'r ddwy a rydd fwyaf o eglurhad ar y pwnc dan sylw.

Yn amser chwyldroad Ffrainc, suddwyd y llong Sans Culotte, wrth frwydro â'r Prydeiniaid. Gwrthododd y dynion dderbyn ymwared, er ei fod yn cael ei gynyg iddynt gan y Prydeiniaid; ond soddasant yn yr eigion, dan floeddio, "*Vive la republique!*" (*Byw fyddo'r werinlywodraeth!*) Ni buasai ond ynfydrwydd anfon cwch allan i'w hachub; canys yr oedd yn amlwg fod eu gelyniaeth y fath, fel yr oedd yn well ganddynt foddi na derbyn un ffafr gan eu gelynion. Ond tybiwch y gallasai y llyngesydd Prydeinig, trwy ryw ddylanwad dirgelaidd, ddarostwng gelyniaeth y bobl hyn: nid fod dim rhwymau arno i wneyd hyny, ond y mae rhai wedi cael ffafr yn ei olwg, fel y mae yn penderfynu eu hachub, costied a gostio; ac i'r dyben hyn y mae yn parotoi y *long boat*, ac yn ei ddanfon i ganol y trueiniaid, gan orchymyn i'r dwylo wahodd pawb i ddyfod i mewn, heb wrthod pwy bynag a ddelai; ond y mae yn gwybod, ar yr un pryd, na ddeuai neb ond y sawl a dynai efe trwy y dylanwad dirgelaidd hwnw. Wel, dacw gwch y bywyd yn cael ei rwyfo i ganol y bobl oedd ar ddarfod am danynt, a'r dynion yn gwaeddi, Byddwch fyw. Deuwch i'r diogelwch. "Paham y byddwch feirw," &c. *Vive la republique!* meddai llawer o honynt hwythau, ac yn ymsuddo i'r dyfnder mawr. Ond dyma weddill yn dyfod i mewn drwy rinwedd y dylanwad a grybwyllwyd, ac yn cael eu bywyd.

Sylwer. Yr oedd y cynygiad yn ddidwyll i bawb, a'r cwch yn ddigon o faint, fel nad oedd perygl i ormod ddyfod iddo, a dim ond eu gelyniaeth yn rhwystr i neb ddyfod. Buasai pawb yn ystyried bai y sawl a foddodd yn ddwbl, nid yn unig dewis boddi yn hytrach na derbyn nawdd y llyngesydd yn y dechre, ond hefyd gwrthod dyfod i'r cwch yn y diwedd. Yr oedd eu gelyniaeth yn ymddangos yn gref yn y dechre, ond yn grefach fyth yn y diwedd. Ond eto, nid oedd y cwch wedi ei ddarparu i bawb; canys y mae yn amlwg na buasai y llyngesydd ddim yn anfon y

cwch allan oll, oni bai ei fod yn bwriadu arfer ei ddylanwad dirgelaidd i achub y sawl a gawsant ffafr yn ei olwg: cadwedigaeth y rhei'ny oedd dyben darpariad y cwch; o ganlyniad, rhaid mai y rhai hyny oedd gwrthddrychau y ddarpariaeth. Pe buasai un o'r rhai a foddwyd yn dyfod i mewn, buasai hyny yn brawf ei fod yn un o'r sawl a gawsant ffafr yn ngolwg y llyngesydd, a bod y cwch wedi ei ddarparu ar ei fedr. Ac er mai eu gelyniaeth oedd yr unig beth a rwystrodd i'r lleill ddyfod i'r cwch; eto, yr oedd darfod iddynt foddi, yn brawf nad oeddynt yn wrthddrychau o ffafr a darpariaeth achubol y llyngesydd.

Ond i gymhwyso'r peth. Y mae holl ddynolryw ar suddo i golledigaeth, a'u gelyniaeth mor fawr fel na dderbyniant ymwared, ond suddo i'r eigion dan waeddi, "Ni fynwn ni mo hwn i deyrnasu arnom." Yn awr, a ydyw yn debyg y buasai Brenin y nefoedd yn "rhoddi ei Fab i fod yn iawn," i wneyd dynion yn fwy diesgus, pe buasai yn gwybod na wnaethai neb o honynt dderbyniad o hono? Os na buasai, mae yn rhaid addef fod *life boat* (yr iawn) wedi ei ddarparu, am fod Duw wedi penderfynu achub rhai, ac arfer dylanwadau ei Ysbryd i hyny; yna y canlyn, mai er mwyn y rhei'ny y gwnaed iawn; canys pe na buasai y fath wrthddrychau i fod, ni buasai iawn. Pe na buasai neb i gael eu cadw, ni buasai iawn yn cael ei ddarparu; gan hyny, cadwedigaeth yw dyben yr iawn, a'r cadwedigion yw ei wrthddrychau. Ond eto, yn gymaint a bod yr iachawdwriaeth trwy yr iawn yn anfeidrol ddigonol, fel na chollir pwy bynag a gredo; yn gymaint ag mai dyledswydd dynion yw credu, ac mai eu drygioni yw peidio credu—y mae galwad yr efengyl ar bawb a'i clywo, yn berffaith ddidwyll. Os gofynir, Beth pe buasai y rhai sydd yn uffern yn credu? Atebaf, y buasai eu crediniaeth yn brawf o'u hetholiad gan y Tad, a'u pryniad gan y Mab; ond y mae eu mynediad yno, yn brawf nad oeddynt yn wrthddrychau o'r naill na'r llall.†

Eilwaith eto, "clywais Mr. Price, Pen-y-bont, (medd Mr. R.) yn cyhoeddi, Fod lluoedd yn uffern a allasent fod yn y nef. Mae y Pregethwr yn dywedyd yr un peth. Wele ei eiriau, 'Mae tudraw i'r gagendor fyrddiynau o rai nad aethent yno, oni buasai iddynt ddiystyru yr efengyl.‡'"

---

† Gwel Ymddyddan viii a xvi—‡ Gwel Dysgedydd, Cyfrol xviii, tudalen 333.

Pa beth sydd yn dallu y gŵr! Ai yr un peth, attolwg, yw dywedyd "fod rhai yn y trueni na buasent yno oni bai diystyru yr efengyl," a dyweyd "fod lluoedd yno a *allasent* fod yn y nef?" Y mae y Pregethwr yn meddwl "na all y rhai sydd yn y cnawd ryngu bodd Duw; ac na all dyn anianol wybod y pethau sydd o Ysbryd Duw;" ac o ganlyniad, na all fyned i'r nef. Ond y mae yn ymddangos, wrth yr ymadroddion uchod, fod Mr. Price, o Ben-y-bont, yn barnu y gallai dyn anianol wybod pethau sydd o Ysbryd Duw, rhyngu bodd Duw, a myned i'r nef. Y mae y ddau ddywediad yn ymddangos i mi y'mhell iawn oddiwrth eu gilydd; beth dybygech chwi, Mr. C., onid yw y cyntaf yn gystal a dywedyd y *gallasai* y dyn gredu, pan nad yw yr olaf yn myned ddim pellach na dywedyd, na chollasid mo hono, pe y credasai? Y mae'r olaf yn ysgrythyrol, "Ni chollir pwy bynag a gredo," Ioan iii. 15, 16. Ond y mae y cyntaf yn wrth-ysgrythyrol, "Ni ddichon neb ddyfod ataf fi, oddieithr i'r Tad ei dynu ef," Ioan vi. 44.

Drachefn, "Dengys (golygiad Mr. R. ar yr iawn) y Tri yn Un yn cydweithredu yn ogoneddus yn nhrefn achub."‡ Pa un sydd yn dangos mwyaf o gydweithrediad rhwng y Tri yn Un; ai yr athrawiaeth sydd yn myntumio i'r Mab roddi iawn er achubiaeth y rhai na etholwyd gan y Tad i'w hachub, ac na weithredir yn achubol arnynt gan yr Ysbryd Glân; ai ynte, yr athrawiaeth sydd yn cynwys mai yr un rhai yw gwrthddrychau etholiad y Tad, pryniad y Mab, a santeiddiad yr Ysbryd; barned y diduedd.

"Tybiwyf (medd Mr. R.) weled y Brenin mawr yn gofyn i'r llywodraeth, Pa beth a wna dy foddloni am attal y ddedfryd? Crochfloeddiai hòno, Dim ond darostyngiad dy gydradd. Atebai Iesu, Yr wyf yn foddlawn i'r ammodau."

Purion, dyma gyfammod, ynte, rhwng Iesu a'r llywodraeth. Ammod Iesu oedd ymddarostwng, ac ammod y llywodraeth oedd attal y ddedfryd. Yn awr, gan fod yr Iesu wedi cyflawni ei ammod, cyfiawnder tuag ato ef ydyw i'r llywodraeth gyflawni ei hammod hithau, sef "attal y ddedfryd" ar y troseddwyr yr ymddarostyngodd Crist yn eu hachos. Os nad wyf yn camgymeryd, y mae Mr. R., yn yr ymresymiad uchod, yn tynu yr holl *filding* Ffwleraidd am ei ben.

‡ Gwel Dysg. Cyf. xviii. tudalen 364.

Eto, "Nid wyf yn meddwl fod genym un engraifft fod Duw yn cospi er mwyn dial, yn holl hanes ei ymddygiadau tuag at ei greaduriaid yn y byd hwn, na'r hwn a ddaw,—cospi er mwyn dial yn amcan annheilwng o Dduw yn moddiad y cynddylifiaid,—llosgiad y Sodomiaid,—colledigaeth yr uffernolion."

Ai nid ydyw "Sodom a Gomorra *** wedi eu gosod yn esiampl, gan ddyoddef *dialedd* tân tragwyddol?" Onid ymddengys yr Arglwydd yn y dydd hwnw, "â thân fflamllyd i roddi *dial*," &c.? Nid yw y Pregethwr, mwy na Mr. R., yn golygu mai rhyw beth oddiar nwydau, tebyg i'r eiddo dynion, ydyw gwaith Duw yn dial; ond cyfiawnder a santeiddrwydd yn ymweled âg anwiredd yn ol eithaf ei haeddiant.¶

Y mae y golygiad hwn ar gysylltiad pechod â chospedigaeth, yn cynwys, 1af. Fod cyfiawnder Duw yn annghyfnewidiol, fel efe ei hun. 2il. Fod pechod yn rhyw anferth ddrwg, fel nad oedd bosibl i Dduw edrych arno, na'i oddef i ddianc heb eithaf cosp. 3ydd. Fod doethineb Duw yn "fawr amryw," yn trefnu ffordd i gospi pechod, ac arbed y pechadur. 4ydd. Fod cariad Crist yn annghymharol fawr, yn myned tan y fath ddialedd, yn dyoddef y fath gosp, dros y fath rai. 5ed. Tra y dengys achubiaeth pechadur yn beth o benarglwyddol ras Tad, Mab, ac Ysbryd Glân, fel y mae'n sefyll rhwng Duw a ninau; eto, fel y mae y peth yn sefyll rhwng y Tad a Christ yn ol trefn y cyfammod, y mae achub y sawl y bu Crist farw drostynt, yn beth o gyfiawnder iddo ef: oblegid os yw cyfiawnder yn peri na ellir peidio cospi pechod, y mae hefyd yn gwneyd na ellir peidio achub y sawl y dyoddefwyd eu cospedigaeth.

Dywed Mr. R. fod cyfundraith y Pregethwr "yn gosod y Jehofa dan rwymau i'w greadur.§" Os oes un o'r ddwy *system* yn gosod y Creawdwr yn rhwym i'w greadur, Ffwleriaeth sydd felly. Pan y mae cyfammod yn cael ei wneyd rhwng pleidiau, ac un blaid wedi cyflawni ei hammod, y mae y blaid arall yn rhwym i'r blaid hòno, nes y cyflawno hithau ei hammod. Dywed y Calfinistiaid fod Crist wedi cyflawni ammod iachawdwriaeth ei eglwys, ac, o ganlyniad, fod ei gyfammod ei hun megys yn gosod y Tad dan rwym-

¶ Gwel Ymddyddan x, tudalen 118. --§ Gwel Dysgedydd, Cyf. xviii, tudalen 332.

au i Grist, nes y byddo'r holl eglwys wedi ei dwyn i afael iachawdwriaeth. Ond dywed y Ffwleriaid, fod credu yn ammod iachawdwriaeth; a dywed Mr. R. "fod cyfaddef y bai ac edifeirwch yn ammodau maddeuant."† Os felly, pan y mae dyn yn cyfaddef ei fai, ac yn edifarhau, y mae Duw yn ddyledwr iddo am faddeuant, canys y mae y dyn wedi cyflawni ammod y peth. Dyma beth hynod o debyg i osod creadur ar dir uwch na'i Greawdwr. Y gwahaniaeth yn y fan yma ydyw, fod y Pregethwr yn dywedyd fod maddeuant pechodau yr holl eglwys yn ddyledus i Grist, am ei fod wedi cyflawni ammod y peth wrth farw ar y groes; a Mr. R. yn dywedyd yn gystal a bod maddeuant yn ddyledus i'r pechadur edifeiriol, am fod y dyn ei hun wedi cyflawni ammod y peth wrth edifarhau, &c. Os yw y gofynwr, bob amser, yn sefyll ar uwch tir na'r addawr, fel yr awgryma Mr R., (tudal. 332, a 365,) y mae Ffwleriaeth yn gosod y pechadur edifeiriol ar dir uwch na'r Hwn a'i gwnaeth.

"Llawer (medd Mr. R.) a floeddiant *Arminiaeth*, er eu bod mor anfedrus i roddi darluniad o'r gŵr hwnw (Arminius) a'i egwyddorion, ag ydynt i roddi rheswm am eu cred eu hunain."‡ A ydyw Mr. R. ei hun ddim mor anfedrus i roddi darluniad o Armin, a'i egwyddorion, ag ydyw i roddi rheswm am ei gred ei hun? Os nad ydyw, yna rhaid ei fod yn llawn mor adnabyddus o Arminius a'i egwyddorion ag ydyw o'i egwyddorion ei hun: ond os yw, yna y mae ef ei hun yn un o'r llawer ag y mae am eu condemnio.

Eto, "Os gweithia y rhai sydd yn meddwl fod y *fargen* wedi ei tharo, y ddyled wedi ei thalu, ac iachawdwriaeth y prynedigion wedi ei gorphen ar Galfaria—a gysgwn ni," &c.§ Os nad ydwyf yn camddeall, y mae Mr R., yn y paragraff hwn, yn awgrymu fod y Calfinistiaid wedi bod, hyd yma, yn fwy gweithgar gydag achos yr efengyl na'r Ffwleriaid. Wel, os ydyw hyna yn ffaith, y mae yn gryfach o lawer o blaid Calfinistiaeth, ac yn erbyn Ffwleriaeth, nag ydyw'r *chwech* pen sydd gan Mr. R. yn erbyn y gyntaf; ïe, nag ydyw'r *saith* sydd ganddo o blaid yr olaf.

Ond y mae yn dda genyf weled fy nghefnder yn llarieiddio tipyn at ddiwedd ei ddarlith. Go lew, onidê, Mr. C., yw gweled rhywbeth yn gwella at ei ddiwedd. Yr wyf yn hollol gydweled âg ef am y perygl o fedru dadlu am yr

---

† Gwel Dysg. Cyf xviii, tudalen 364.—‡ Tudal. 365.—§ Tudal. 366.

iawn heb ei ddefnyddio. Gobeithiaf gan Dduw, na chaiff Mr. R. na minau mo'n gadael yn amddifad o rinwedd yr athrawiaeth, tra yn ceisio ei chymhell ar ereill. Na chawn, "wedi pregethu i ereill, fod ein hunain yn annghymeradwy;" ond "y'n ceir ynddo Ef."

Yr wyf yn hollol gydgredu âg ef, y dylai y rhai sydd yn gwahaniaethu mewn barn, fod yn ofalus i beidio gwneuthur dim a dueddo i oeri cariad eu gilydd, i iselu cymeriad y naill y llall, a thrwy hyny leihau eu defnyddioldeb; er fy mod yn meddwl y dylid dangos cyfeiliornwyr a chyfeiliornadau, fel yr adnabydder hwynt, a thrwy hyny y lleihäer eu niwed. Ac er fy mod, yn y llythyrau hyn, wedi nodi rhai pethau a ymddanghosant i mi yn annghyson ac angharedig yn ysgrif Mr. R., eto os dywedais ddim i'w iselu ef fel dyn, fel Cristion, neu fel pregethwr, (neu ddim sydd yn perthyn iddo, heblaw pynciau y ddadl sydd rhyngom, pa rai yr wyf, o gydwybod, yn eu gwrthwynebu,) erfyniaf ei faddeuant. Pe cyfarfyddwn âg ef unrhyw ddiwrnod, os cytunai, ysgydwem ddwylaw hyd at y penelin. Pe deuai i'm tŷ, cai "fara a chaws, a chroeso."

Ac os na allai gyduno â hen *Ddissenters* Llanbrynmair i ganu,

'Ar groesbren brydnawn,
Cyfiawnder ga's iawn,' &c.

Neu

'Cariad Crist, a phechod Seion,
Bwyswyd yn y glorian fawr,' &c.

O bosibl y gallai gyduno â mi i ganu,

'Yr iawn a dalwyd ar y groes,
Yw sylfaen f' enaid gwan;
Wrth bwyso arno ddydd a nos,
'Rwy'n dysgwyl d'od i'r lan.'

Os deil eich amynedd, Mr. Cyhoeddwr, i ddarllen fy llythyr hyd yma, gwn y byddwch yn barod i ddywedyd mai "*maith iawn ydyw.*" Ond nid oes genyf un ymesgusodiad, heblaw mai dyma yr olaf a fwriadaf ei ysgrifenu ar y ddadl bresenol, oddieithr cael rhyw ail-gynhyrfiad.

*Liverpool,*
*Rhag.* 6, 1839.

RICHARD WILLIAMS.

# Y DR. CHALMERS A CHALFINIAETH.

"OND er fod y fath dduwinyddiaeth (medd y Dr. Chalmers am athrawiaeth cyfiawnhad trwy ffydd) yn gweinyddu heddwch; eto gellir amau y dichon iddi weinyddu santeiddrwydd. Yn awr, i'r rhai sydd yn coleddu'r fath amheuaeth, i'r rhai a osodent allan athrawiaeth cyfiawnhad trwy ffydd—yr erthygl, chwedl Luther, wrth ba un y mae eglwys yn sefyll neu'n syrthio—fel yn wrthwyneb i gynydd rhinwedd, rhoddwn un cwestiwn, a dymunwn iddynt ei ateb,—*Pa fodd y mae Scotland, yr hon sydd fwyaf nodedig o holl wledydd Ewrop am Galfiniaeth fanwl ei phulpudau, yn fwyaf nodedig hefyd am y godidogrwydd moesol a eistedd ar drem ei phoblogaeth yn gyffredinol?* Pa fodd, yn enw dirgelwch, y mae'n dygwydd fod y fath dduwinyddiaeth a'r eiddom ni yn cael ei chysylltu â'r boblogaeth fwyaf dilwgr y'mhlith cenhedloedd cred?

"Yr haeriad yn erbyn ein heglwysydd ni ydyw, fod y bobl, y'nghanol ein dadleuon egwyddorol ac athrawiaethol, yn cael eu hysgolheigio cyn lleied i'r cyflawniad o weithredoedd da. Pa fodd, gan hyny, y mae fod yn ein brawdlysoedd ni, wrth eu cymharu â chalender ein chwaer deyrnas, gymaint yn llai i'w wneuthur efo drwgweithredoedd? Yn sicr, y mae hyn yn brawf pwysig iawn mai yn y wlad lle mae *mwyaf o Galfiniaeth y mae lleiaf o ddrwgweithredoedd*—mai yr hon a elwir y genedl fwyaf athrawiaethgar yn Ewrop, sydd, ar yr un pryd, y leiaf ei llygredigaeth—ac mai y wlad lle mae'r bobl wedi eu hegwyddori ddyfnaf âg *egwyddorion iachawdwriaeth trwy ras*, sydd yn cael ei hafiachâu leiaf gan ddrwg-fuchedd beunyddiol neu halogiad Sabbothol ei thrigolion.

"Pan ddaeth Knox drosodd o ysgol Geneva, dyg ei *horthodoxy* manwl (a dilwgr y pryd hwnw) gydag ef, ac a roddes ei harchwaeth drwy holl ffurflyfrau yr eglwys a sylfaenwyd ganddo; ac nid yn unig yr oedd yn fflamio allan o'n holl bulpudau, ond hefyd drwy ein hysgolion a'n hegwyddor-lyfrau dygwyd hi i lawr i fechgyn ein tir; ac o'r naill genhedlaeth i'r llall cafodd ieuenctid Scotland eu cynefino â'i swn o'u mabandod: ac er mor annhebyg y

gallai y fath ddysgeidiaeth ymddangos y'ngolwg y moesathraw ysgolaidd, i ddwyn i fyny genedl rinweddol, y mae'n sicr ei bod wedi cynyrchu y boblogaeth fwyaf moesgar yn holl Ewrop."—*Gwel Chalmers' Works, vol.* xi. *page* 142—144.

Yr wyf yn meddwl y gellir dywedyd am Gymru, yn gystal ag am Scotland, nad oes un wlad wedi bod, y can mlynedd diweddaf, yn fwy Calfinaidd ei phulpudau na hi, nac un wlad wedi bod, at eu gilydd, yn well ei moesau. Nid ydyw calender y drwgweithredwyr, a brofwyd yn ei brawdlysoedd, ond bychan mewn cymhariaeth i'r eiddo gwledydd ereill: ac am ei moesgarwch beunyddiol, os nad am ei chadwraeth cyffredinol o'r Sabboth, nid wyf yn meddwl fod Scotland ei hun yn rhagori nemawr arni. "Wyt lanerch," ebe'r Bardd am Gymru,

"Wyt lanerch ddystaw lonydd--ddiochain
Heddychol dy fröydd.
* * * *
A gwelir ei thrigolion
Yn finteioedd, lluoedd llon;
Ant yn gyson, moddion mad,
Yn ddilesg i'r addoliad;
Yn eu plith y ceir y plant,
Am wir addysg ymroddant;
Hwy gerddant i dy'r gwir-Dduw,
Eu goreu dasg yw gair Duw;
Hyf ddilesg grefyddolion,
Mawr eu llwydd yw'r Cymry llon."

Y Parch. E. Evans.

Pe sylwid yn fanwl ar yr amryw gynulleidfaoedd crefyddol sydd yn Nghymru, yr wyf yn meddwl mai y rhai Calfineiddiaf yw y rhai manylaf hefyd yn eu dysgyblaeth eglwysig, mwyaf diargyhoedd eu hymarweddiad, a mwyaf haelionus eu cyfraniadau at achosion crefyddol. Y mae hyn, Syr, yn brawf diamheuol i fy meddwl i, fod Calfiniaeth a phenrhyddid yn groes i'w gilydd—mai Calfiniaeth yw'r *system* oreu mewn ystyr ymarferol yn gystal ag athrawiaethol—fod y Dr. Chalmers yn dywedyd y gwir, "mai'r wlad lle bo mwyaf o Galfiniaeth, yw'r wlad lle mae lleiaf o ddrwgweithredu,"—pe byddai mwy o Galfiniaeth yn Lloegr, y byddai llai o bob drygfoes ynddi; llai o garcharu, llai o alltudio, a llai o ddienyddio; ac o'r tu arall, pe lleihäai Calfiniaeth yn Nghymru, y byddai ynddi fwy o anfuchedd, mwy o waith i geisbyliaid ac ustusiaid heddwch, mwy o garcharu, a mwy o gospi. Y mae'r athraw-

iaeth o *gadwedigaeth pechaduriaid trwy ras*, nid yn unig yn cymhwyso dynion at fyd arall, ond hefyd yn eu gwella gyda golwg ar y byd presenol. Y mae ein perthynas â'r ddau fyd yn galw arnom i "ymdrech yn mhlaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint."

## LORD BOLINGBROKE AC "INSTITUTES CALFIN."

"*Bydded ein gelynion yn farnwyr.*"

FEL yr oedd Lord Bolingbroke, y deist, un diwrnod yn eistedd yn ei dŷ yn Battersea, ac yn darllen "*Institutes* Calfin," derbyniodd ymweliad boreol gan y Dr. Thomas Church, ficer y plwyf; ac wedi y cyfarchiadau arferol, ebe Bolingbroke,

"A allech chwi ddyfeisio pa lyfr sydd yn awr ger fy mron, ag yr wyf wedi bod yn ei astudio?"

*Church.* "Na allaf, yn wir, *my Lord.*"

*Bol.* "*Institutes* Calfin." Beth dybygech chwi am y materion hyn, Doctor?

*Church.* "O, *my Lord*, nid ydym ni yn meddwl dim yn nghylch y fath hen ystwff. Yr ydym ni yn dysgu athrawiaethau plaen rhinwedd a moesoldeb, ac wedi hen droi heibio y pynciau dyrys hyny y'nghylch gras."

*Bol.* "Sylwch, Doctor. Chwi a wyddoch nad wyf fi yn credu fod y beibl yn ddatguddiad dwyfol; ond am y rhai sydd yn ei gredu, nis gallant byth ei amddiffyn, ar unrhyw egwyddorion, heblaw athrawiaeth gras.‡ A dyweyd y gwir, bûm weithiau agos â chael fy mherswadio i'w gredu yn ol y golygiad hwn ar bethau; ac y mae un rheswm wedi myned yn mhell iawn gyda mi yn ffafr ei wirionedd, hyny yw, fod y grediniaeth o hono yn hanfodi ar y ddaear, a hyny pan y mae wedi ei ymddiried i ofal eich bath chwi, ag y sydd yn *pretendio* ei gredu, ac eto yn gwadu yr unig egwyddorion ar ba rai y gellir ei amddiffyn."—Gwel "*Life and Times of Selina, Countess of Huntington.*" Vol. i. page 179.

‡ Y mae'n amlwg mai'r athrawiaeth a osodir allan yn '*Institutes* Calfin' a alwai Bolingbroke yn 'athrawiaeth gras,' ac yr 'unig egwyddorion ar ba rai y gellir amddiffyn y beibl.'

# NEILLDUOLRWYDD YR IAWN,

## A CHYFFREDINOLRWYDD GALWAD YR EFENGYL,

### YN CAEL EU PROFI,

*Oddiwrth mai dyna athrawiaeth y proffwydi cyn dyfodiad Crist, ac mai dyna'r uniy athrawiaeth a allai fod yn gyson iddynt ei phregethu.*

---

UN o'r pethau sydd yn gwneyd ffyrdd Duw yn anolrheinadwy i ni, ydyw, mai bodau amser ydym, fel y mae yn anhawdd, os nad yn anmhosibl, i ni feddwl am ddim heb dybied amser yn gysylltiedig âg ef; ac nad ydyw'r amser sydd rhwng dygwyddiadau a'u gilydd yn ddim i'r Duw hollbresenol, mwy nag ydyw y pellder sydd rhwng gwrthddrychau a'u gilydd; hyny yw, nid oes un dygwyddiad yn fwy presenol i Dduw, o ran amser, na'u gilydd, mwy nag y mae un gwrthddrych yn nes ato, neu bellach oddiwrtho, na'u gilydd.

Fe fu aberthiad Crist yn beth a ddysgwylid gan ddynion am oesoedd lawer; ond yn awr fe'i cofir fel peth wedi cymeryd lle er ys cannoedd o flyneddoedd, ac y mae pob blwyddyn yn gwneyd y dygwyddiad mawr hwnw, i ni, yn henach o gymaint a hyny. Ond nid mor briodol yw dywedyd am Dduw, ei fod yn dysgwyl pethau i ddyfod, neu'n cofio pethau a aethant heibio, oblegid y mae pob peth a fydd, a phob peth a fu, mor bresenol ger ei fron ef ag ydyw'r pethau sydd y foment hon. Yr oedd dyoddefaint Crist mor bresenol gerbron Duw pan achubwyd Abel ag oeddynt pan achubwyd y lleidr ar y groes. Bydd marwolaeth y Cyfryngwr mor bresenol i Dduw pan gipir y saint i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr, ag ydoedd pan orchymynodd ef ei ysbryd i law ei Dad. Felly, yn hytrach na dywedyd fod yr Arglwydd yn achub gynt ar gyfrif rhywbeth a *ddysgwyliai*, neu ei fod yn achub yn awr ar gyfrif rhywbeth a *gofia*, mwy priodol yw dyweyd ei fod yn achub pob un a achubir, o ddechre'r byd i'w ddiwedd, ar gyfrif yr hyn sydd yn wastad *yn bresenol* ger ei fron, mor bresenol iddo wrth achub y naill ag wrth achub y llall.

Y mae amser dyoddefaint Crist yn peri ymddanghosiad o wahaniaeth rhwng efengyl y proffwydi ac efengyl yr

apostolion, yn gymaint a bod y naill yn pregethu Crist i ddyfod, a'r lleill yn pregethu Crist wedi dyfod; ond gan nad oes dim gwahaniaeth, i awdwr yr efengyl, rhwng *i ddyfod* ac *wedi dyfod*, nis gall amser beri dim gwahaniaeth gwirioneddol yn egwyddor yr efengyl. Yr un o ran ei hegwyddor yw'r efengyl dan bob goruchwyliaeth. Pe buasai'r oen yn cael ei ladd yn nechre'r byd, tua dyddiau Adda; neu pe buasai aberthiad Crist i fod yn niwedd y byd, wedi dwyn yr holl feibion i ogoniant, ni wnaethai hyny ddim gwahaniaeth yn egwyddor yr efengyl, nac ychwaith yn sefyllfa ei gwrandawyr rhyngddynt a'r gwrthddrych a gyhoeddir yn yr efengyl, rhagor iddo ddyoddef yr amser y dyoddefodd.

1. Tybier yn awr, y buasai holl oruchwyliaeth y galw a'r achub yn cymeryd lle *cyn* i Grist ddyoddef.

2. Tybier, yn gysylltiedig â hyny, y byddai gweinidogion yr efengyl yn galw dynion i gredu yn Nghrist, gan ddywedyd yr achubid y sawl a gredent ar gyfrif y byddai i Grist ddyoddef fel iawn dros eu pechodau, pan yr ymddanghosai; ond am y sawl na chredent, y byddai iddo ef ddyoddef "cospedigaeth heddwch" y rhei'ny, a hefyd y byddai raid iddynt hwythau eu hunain ddwyn y gosp am yr un pechodau am byth; oni byddai y fath bregethu yn sarhad ar synwyr cyffredin, yn ddirdra ar y teimlad moesol â pha un yr ydys yn gwahaniaethu rhwng cyfiawnder a cham?

3. Ond tybier y byddai i weinidogion yr efengyl alw eu holl wrandawyr i gredu, gan ddyweyd y byddai i Grist, yn niwedd yr oruchwyliaeth, roddi ei hun yn iawn dros bechodau pob un a gredai ynddo, ac ar gyfrif hyny, yr etifeddai y cyfryw fywyd tragwyddol: ond am y sawl a wrthodent gredu ynddo, eu bod yn selio eu damnedigaeth, na byddai iddynt na rhan na chyfran yn ngwaith y Messia pan y deuai, ac y byddai cospedigaeth eu pechodau yn disgyn yn unig ar eu penau hwy eu hunain. Onid ymddanghosai yr oruchwyliaeth yna yn dra chlir? ac oni fyddai yn anhawdd canfod ynddi ddim cysgod o annghysondeb o'i dechre i'w diwedd?

Afraid yw dyweyd mai tyb-osodiadau (*hypotheses*) yw y tri sylw uchod. Ond os nad wyf yn camgymeryd, y mae yr olaf yn ddanghosiad têg o'r efengyl fel ei pregethid gan y proffwydi, ac o sefyllfa ei gwrandawyr yn eu perthynas â'r efengyl ac â'r bendithion cynwysedig ynddi.

Ystyrier yn awr pa fodd yr oedd y proffwyd Esay yn rhedeg gyrfa ei weinidogaeth. Ei destyn mawr oedd Crist yn ei ddarostyngiad a'i ddyrchafiad. Galwai ei wrandawyr yn gyffredinol i gredu ei ymadrodd am y Messia, ac i fwynhau "dyfroedd, gwin, a llaeth" ei athrawiaeth; a dywedai fod bywyd enaid yn gysylltiedig â gwrando. Pregethai fechnïaeth Crist mewn geiriau anhawdd, dybygid, eu camgymeryd; hyny yw, y dyoddefai gosp yn lle ereill; ac y byddai i'r rhei'ny gael eu cyfiawnhau a'u hiachâu. "Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef, a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni." Y *ni* a "iachawyd drwy ei gleisiau ef," yw y *ni* yr archollwyd ef am eu camweddau, &c. "Rhoddwyd pla arno ef am gamwedd *fy mhobl.*"—"Fy ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer trwy ei wybodaeth, canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt;" sef anwireddau y llawer a gyfiawnheir. Gwel Esay liii.

Yn ol y dull yma o bregethu, yr oedd yr holl drefn yn ymddangos yn ogoneddus iawn, ac ni welid ynddi un cysgod o annghysondeb. Eithaf tegwch i bawb o'r gwrandawyr—yr un athrawiaeth yn cael ei phregethu iddynt oll—a'r naill fel y llall yn cael ei alw i gredu, a hyny oddiar yr un annogaethau. Yr oedd daioni a chyfiawnder y drefn yn cyd-ddysgleirio; oblegid nid oedd y weinidogaeth hòno yn cynwys fod yn bosibl i bechod ddianc heb ei gospi i'r eithaf; ond y diangai'r pechaduriaid a gredent o afael cosp, am y byddai i Grist, yn niwedd y byd hwnw, neu'r oruchwyliaeth hòno, ddyoddef y gospedigaeth yn eu lle.

Ond pe buasai y proffwyd yn pregethu y byddai i'r Messia, pan y deuai, ddwyn anwireddau a dyoddef cospedigaeth y rhai ni chredent, ac a fyddent byth yn dyoddef cospedigaeth eu pechodau eu hunain, buasai daioni, a chyfiawnder, a chysondeb y drefn, yn myned dan gwmwl yn y fan. Buasai ei athrawiaeth yn rhedeg yn debyg i hyn gyda golwg ar yr annghredinwyr,—"Os gwrthod credu ein hymadrodd ni a wnewch, yr ydych yn sicr o fod dan gosp am eich pechodau mewn byd ar ol hwn: a phan ddelo'r Messia, bydd iddo yntau ddyoddef yn iawn am yr un pechodau; ïe, dyoddefa am eich pechodau chwi nes dyweyd, "Gorphenwyd;" ac er i Grist ddyoddef a gorphen dyoddef cymaint ag a all cyfiawnder ei ofyn am

eich pechodau chwi, eto byddwch chwi eich hunain yn dyoddef am yr un pechodau, a hyny ar yr un amser, a bydd y dyoddefaint hyny yn ddiorphen!" Yr wyf yn credu na all'sai un dyn dderbyn y fath athrawiaeth heb naill ai rhoddi annghyfiawnder yn erbyn ei Wneuthurwr, neu roddi attalfa (*suspension*) ar weithrediadau y synwyr trwy ba un y gwybyddir rhagor rhwng cyfiawnder ac annghyfiawnder. Buasai y fath bregethu yn troi uniondeb a daioni y dref'n yn annghyfiawnder, yn wastraff, ac yn greulondeb.

Ond cofier, mai yr un yw'r efengyl o ran egwyddor yn awr a chynt. "I ninau y pregethwyd yr efengyl, megys ag iddynt hwythau." Yn sicr ni all fod dim mwy o berthynas rhwng marwolaeth Crist ac annghredinwyr yn awr, nag oedd tan yr hen oruchwyliaeth; pa fodd bynag y pregethid yr efengyl i annghredinwyr gynt yn amser y proffwydi, "megys" hyny, o ran egwyddor, y mae i gael ei phregethu i annghredinwyr yn ein dyddiau ninau. Yr un Gwrthddrych mawr sydd i gael ei bregethu:—"Heb ddywedyd dim yn amgen nag a ddywedodd y proffwydi a Moses y delent i ben; y dyoddefai Crist," &c. Yr un fechnïaeth o eiddo Crist sydd yn cael ei gosod allan:—"Y cyfiawn dros yr annghyfiawn.—Yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni, fel y gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Y mae yr adnod yna yn dangos, dybygid, yn ddigon eglur, mai y *ni* a wneir yn gyfiawnder, yw y *ni* dros ba rai y gwnaed ef yn bechod.

Y mae gwrandawyr yr efengyl yn cael eu galw mor gyffredinol yn awr a'r pryd hwnw, ac nid mwy. Nid oes eisiau geiriau mwy cyffredinol i alw pechaduriaid at y Gwaredwr nag a arferid gan y proffwyd Esay ei hun:—"Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau'r ddaear, fel y'ch achuber," &c.

Y mae mor gyson pregethu neillduolrwydd yr iawn a chyffredinolrwydd galwad yr efengyl yn awr a'r pryd hwnw; ac mor annghyson dywedyd fod dyoddefaint Crist tros y sawl a fyddant byth yn uffern yn awr a'r pryd hwnw. Ni ellir dal hyny heb fyntumio fod Crist yn marw ar Galfaria dros y rhai oeddynt yn uffern yn barod,—dros Cain yn gystal a thros Abel!

Pe daethai Crist i ganol dyledwyr Eden mewn tosturi, gan addaw mechnïo a thalu dyled cynifer a gredent ynddo; ac yn ol ei addewid yn dyfod, tua diwedd yr oruch-

wyliaeth, ac yn talu yn unig dros y sawl a ymddiriedasent ynddo, y mae yn amlwg na buasai gan y lleill neb ond eu hunain i'w beio. Wel, dyna fel yr oedd pethau yn amser y proffwydi, a'r unig wahaniaeth rhyngom ni a hwythau yn y pwynt yma yw, fod gwrandawyr efengyl y pryd hwnw yn cael eu galw i gredu mewn peth i gael ei wneyd, a ninau yn cael ein galw i gredu mewn peth wedi ei wneyd. Ac nid yw fod y peth wedi ei wneyd yn cyfansoddi un berthynas rhyngddo a'i ddirmygwyr, mwy na phe buasai i gael ei wneyd ryw amser i ddyfod. Ac os oedd y ffordd yn rhydd i alw'r holl wrandawyr i gredu, er pregethu iawn neillduol, cyn i Grist ddyoddef, yn sicr nis gall y ffaith o'i fod wedi dyoddef daflu un rhwystr gwirioneddol ar ein ffordd ninau i gyhoeddi ac i gofleidio yr un athrawiaeth.

Pa mor ddyeithr bynag y gall yr ymresymiad uchod ymddangos i'r darllenydd, ni raid ond ystyried yr ysgrythyrau canlynol, na welir ei fod yn sylfaenedig ar air Duw.

Yr ysgrythyr gyntaf a enwaf yw Rhuf. iii. 25: "Yr hwn a osododd Duw yn iawn...... i ddangos ei gyfiawnder ef trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen," &c. Cynwysir yma mai dyben yr iawn, gyda golwg ar yr oesoedd gynt, oedd, nid gwneyd rhyw foddlonrwydd i'r llywodraeth dros bechodau pawb, y rhai oeddynt yn uffern yn gystal a'r lleill; ond "i ddangos ei gyfiawnder ef trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen." Y peth oedd yn gosod angenrheidrwydd am iawn o ran yr hen oesoedd, oedd, nid fod pawb wedi cael eu galw i gredu, ond fod pechodau wedi eu maddeu. Maddeuant ac iawn sydd yma yn cael eu gosod ar gyfer eu gilydd, a thrwy y ddau, fel trwy ddau wydr yspïenddrych, y mae yr olwg ogoneddusaf i'w chael ar gyfiawnder ag a gafwyd erioed: tynwch y naill, y mae y llall yn myned yn llawn niwl; gadewch y ddau yn eu lle, ac fe ymddengys cyfiawnder fel yr haul o ddysgleirdeb. Pe meddwn olwg angel nis gallwn weled dim cyfiawnder mewn maddeuant heb iawn, nac ychwaith mewn iawn heb faddeuant. Ond er gwaned yw fy ngolwg, pan gaf drem drwy'r ddau, sef iawn a maddeuant, mi welaf gyfiawnder â'i choron ar ei phen, a'i gwên ar ei grudd, yn gwaeddi, "Gollwng ef, rhag disgyn o hono i'r clawdd, myfi a gefais iawn." Y mae yn ymddangos i mi y rhaid i gyfiawnder gael y ddau,

neu fod heb yr un. Pan gymero y naill le, ni bydd yn ddiddig heb i'r llall gymeryd lle hefyd. Pan oedd "y pechodau a wnaethid o'r blaen" yn cael eu maddeu, yr oedd cyfiawnder yn gofyn iawn am bob un o honynt; ond dywedwn yn ngeiriau Prydydd Maes-y-plwm,

"Cyfiawnder, wrth hir ofyn iawn,
Ei daliad yn gyflawn a ga'dd."

Bellach, pan y mae iawn wedi ei dderbyn, nid yn unig tros y pechodau a wnaethid, ac a faddeuasid o'r blaen, ond hefyd dros aneirif bechodau a gyflawnir wedi derbyniad yr iawn, y mae cyfiawnder yn gofyn i'r rhei'ny gael eu maddeu, â llais mor ddyrchafedig ag y gofynodd erioed am iawn dros y lleill.

Ysgrythyr arall a enwaf yw Heb. ii. 10: "Gweddus oedd iddo ef, o herwydd yr hwn y mae pob peth, a thrwy yr hwn y mae pob peth, wedi iddo ddwyn meibion lawer i ogoniant, berffeithio Tywysog eu hiachawdwriaeth hwy trwy ddyoddefiadau." Yr oedd y proffwydi yn galw eu gwrandawyr yn gyffredinol at y Gwaredwr, a hyny yn ddifloesgni a dirysiant; ond eto yr unig beth, o ran yr oesoedd hyny, ag oedd yn gwneyd dyoddefaint Tywysog iachawdwriaeth yn beth "gweddus" [angenrheidiol] oedd dygiad y meibion lawer i ogoniant. Ac os oedd "dwyn meibion lawer i ogoniant" yn gosod gweddusrwydd neu yn hytrach angenrheidrwydd i Grist ddyoddef, rhaid, wrth gystadl ymresymiad, fod dyoddefaint Crist yn peri fod dwyn i ogoniant y "meibion lawer" y dyoddefodd trostynt, yn beth "gweddus" ac angenrheidiol.

Yn awr, os galw gwrandawyr efengyl yn ddiwahaniaeth i gredu yn y Messia, a dangos ei ddyoddefaint ef fel *counterpart* i ddygiad y "meibion lawer i ogoniant," oedd yr unig bregethu cyson gynt, dyna yr unig bregethu a all fod yn gyson eto, canys yr un yw yr efengyl dan bob goruchwyliaeth.

DIWEDD.

# DANGOSEG.

